$2.62

My Mother, Mary E Williams bought this Hymn book when she worked at Hays in Ash Rash about 1880.

# LLYFR HYMNAU

Y

## METHODISTIAID CALFINAIDD.

CYHOEDDEDIG GAN

Y GYMANFA  GYFFREDINOL.



ARGRAPHIAD NEWYDD.




CAERNARFON:
LLYFRFA Y CYFUNDEB.
MDCCCXCVII.

DARPARWYD Y LLYFR HWN, FEL Y LLYFR O'I FLAEN, GAN BWYLLGOR O WEINIDOGION Y METHODISTIAID CALFINAIDD, A BENNODWYD GAN Y GYMANFA GYFFREDINOL, A CHYHOEDDIR EF YN Y DDAU BLYGIAD; YR ELW I FYNED AT ACHOSION Y CYFUNDEB, DAN AROLYGIAETH Y GYMANFA GYFFREDINOL.

# RHAGYMADRODD.

UN o'r ymarferiadau crefyddol mwyaf dyrchafedig a nefolaidd ydyw canu mawl i Dduw. Yma y mae yr enaid ger bron Duw, yn y teimlad o lwyr ymddibyniaeth arno, a hollol rwymedigaeth iddo, yn cyflwyno iddo syniadau a theimladau ei galon, mewn geiriau a seiniau priodol. Ac nid oes golwg harddach dan y nefoedd na thyrfa yn ymuno yn y gwasanaeth ardderchog hwn. Nid oes eisieu treulio amser i ddangos y lle mawr sydd yn perthyn i'r gwaith hwn fel rhan o wasanaeth y cyssegr, nac i egluro y cyssylltiad agos sydd wedi bod rhwng caniadaeth grefyddol a'r diwygiadau grymus a gymmerasant le yn mhob oes. Gyda bod y Diwygiad Protestanaidd yn cychwyn, yr oedd yn rhaid cael offerynoliaeth nerthol "salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol" i'w ledaenu. Yr un modd y bu gyda'r Diwygiad Methodistaidd yn Lloegr, a Chymru, a'r America. Nid oes tafod a fedr ddesgrifio y nerthoedd fyddent yn cydfyned â chanu Hymnau Williams o Bant-y-celyn, na'r effeithiau daionus a gafodd hyny yn y wlad. Canu mawl felly, mae yn ddiammeu, sydd wedi bod yn un o'r moddion mwyaf effeithiol yn sefydliad a chynnydd ein cyfundeb ni. Y mae y fath gyssylltiad, yn wir, rhwng canu mawl a sefyllfa crefydd, fel yn mha le bynag y ceir y naill yn farwaidd, ceir y llall felly hefyd; ac o'r ochr arall, os bydd y naill yn llewyrchus a bywiog, bydd y llall felly hefyd. Nid ydyw hwn yn syniad newydd i'r Methodistiaid Calfinaidd; y maent wedi gweithredu arno i fesur trwy y blynyddoedd. Wrth weled, pa fodd bynag, fod galwad am ymdrechion adnewyddol gyda'r gwaith, ac wrth ystyried yr anfanteision yr oeddid yn llafurio danynt gyda golwg ar Lyfrau Hymnau, ac yn enwedig yr anghyfleusdra a godai oddi wrth fod gwahanol gasgliadau yn cael eu defnyddio gan y cyfundeb yn Nghymru a threfydd Lloegr,

barnodd y Cymdeithasfaoedd mai angenrheidiol oedd cael un Llyfr Hymnau at wasanaeth yr holl gyfundeb, ac i fod yn eiddo iddo. Y llyfr hwnw ydyw y gyfrol a gynnygir yn bresennol i'r cyhoedd. Ymgymmerwyd â'r gwaith gan nifer o weinidogion, yn y Gogledd ac yn y Deheu, ar gais y Gymanfa Gyffredinol, a dygir y casgliad allan dan awdurdod y Gymanfa hono.

Yr oedd gan y casglwyr amryw bethau i'w cadw mewn golwg. Un peth ydoedd fod yr Hymnau a ddewisid yn hollol ysgrythyrol ac efengylaidd o ran syniadau a theimladau. Rhoddent y lle blaenaf a phwysicaf i hyn. Ac felly, er fod y casgliad yn cynnwys llawer o Hymnau ag ydynt yn sefyll yn y dosbarth uchaf fel barddoniaeth, rhoddwyd lle i rai, nid ar y cyfrif hwnw, ond yn hytrach ar gyfrif eglurder ac ysgrythyroldeb eu syniadau, ac ar gyfrif yr ysbryd a'r teimlad dwys, efengylaidd, a gwresog sydd ynddynt.

Peth arall a gadwent mewn côf oedd amrywiaeth a chyfoeth. Barnent y dylasai y casgliad fod yn cynnwys yr holl Hymnau da a geir yn y llyfrau a arferid genym yn flaenorol. Y mae caniadaeth grefyddol yn cymmeryd i fewn bob math o deimlad sydd yn cael ei ennyn yn mynwes dyn ar y ddaear yn yr olwg ar wrthrychau a gwirioneddau crefydd. Bu rhai yn dàl mai afresymol oedd canu edifeirwch, galar, hiraeth, a gweddi, ac na ddylesid canu dim ond oedd yn cynnwys mawl uniongyrchol i Dduw. Ond y mae y syniad hwn yn anghywir, yn gymmaint a'i fod ar sail rhy gul; ac nid yw y rhai sydd yn ei goledd wedi edrych yn ddwfn i'r mater, onid ê buasent wedi gweled fod edifeirwch a galar am bechod, a dymuniadau ar Dduw am gymmorth a gwaredigaeth, yn cynnwys hanfodion mawl. Ni ddaethai un pechadur byth i alaru ger bron Duw, nac i ofyn y ffafr leiaf oddi ar ei law, oni bai fod ganddo feddwl mawr a pharchus am dano. A syniad parchus, uchel am Dduw yw gwreiddyn mawl. Ac y mae yn ddiau fod dwfn edifeirwch ac ymostyngiad yr enaid yn cynnwys yn fynych fwy o fawl na'r geiriau mwyaf canmoliaethus. Yn unol â'r golygiad hwn, gwelir

yn y casgliad presennol fwy o Hymnau yn cynnwys amrywiol brofiadau y credinwyr nag a geir mewn un casgliad arall yn yr iaith.

Barnent, yn mhellach, mai doeth oedd rhoddi y Salmau a'r Hymnau fel y gadawyd hwynt gan eu hawdwyr, heb ond ychydig iawn o gyfnewidiad. Nid oeddynt yn barnu fod ganddynt hawl i newid meddyliau yr awdwyr mewn un modd, nac ei fod yn ddoeth nac yn angenrheidiol newid ond ychydig ar eu geiriau. Yn hytrach na newid meddyliau yr awdwyr, gwell, yn eu barn hwy, oedd gadael yr Emynau neu y pennillion allan; ac felly y gwnaed. Wrth sylwi ar y gwahanol gyfnewidiadau a wnaed gan ereill, nid ydynt yn gweled fod ond ychydig, os dim, wedi ei ennill, ond fod llawer iawn wedi ei golli. Mewn llawer o amgylchiadau, y mae meddyliau gweiniaid a gwaelion wedi eu rhoddi yn lle rhai cryfion a phrydferth; ac mewn lliaws o amgylchiadau, ceir gweddillion gwanaidd o'r meddyliau wedi eu cadw, tra y mae eu nerth a'u bywyd wedi ehedeg ymaith. Ennillir yr hyn a elwir yn fwy o gywirdeb, ond collir nerth a bywyd; ac aberthir iaith fywiog, danllyd, enaid ag oedd yn llosgi gan wres ei feddyliau, am frawddegau oerion, sychion, y mân reolau. Ni wnaed yn y casgliad hwn ond newid rhai geiriau, a newid trefn rhai ereill, pan y gwelid fod hyny yn ddymunol, ac yn alluadwy heb niweidio y synwyr. Y mae y llyfr yn cynnwys felly, nid yn unig y meddyliau a fu yn rhoddi miloedd o saint Duw ar dân, ond hefyd yr hen ymadroddion eneiniedig ag sydd wedi eu sancteiddio gan brofiadau yr hen bererinion, ac wedi eu cyssegru gan gawodydd mawrion o wlith y nefoedd. Ni farnwyd yn angenrheidiol ysgoi yr ymadrodd "i maes," a geir yn fynych yn Hymnau Williams; o herwydd y mae ymadroddion o'r un ffurf yn hollol yn arferedig yn y De a'r Gogledd; megys "i lawr," "i fyny," &c. Ni thybiwyd fod galwad chwaith am adael allan y fath eiriau ag "abl," "ildio," "ffeindio," "ffrynd," &c.; o herwydd y mae lliaws mawr o eiriau cyffelyb yn arferedig yn mhob parth, a chan yr ysgrifenwyr

mwyaf chwaethus. Ceir yn rhai o Hymnau Williams a Mrs. Anne Griffiths, ac yn Hymn anfarwol Mr. Charles o'r Bala, rai llinellau rhy hirion; ond nid oeddys yn gweled fod modd i'w byrhau heb i hyny anafu y synwyr neu y teimlad. Gydag ychydig o ystyriaeth, bydd yn hawdd eu canu fel y maent.

Rhoddwyd ychydig o Hymnau Saesneg at wasanaeth cyfarfodydd a gynhelir yn achlysurol yn yr iaith hono mewn addoldai Cymreig.

O herwydd nad oes ond ychydig o Hymnau goreu y Cymry mewn ffurf athrawiaethol, barnwyd mai gwell ydoedd peidio ceisio gwneyd dosbarthiad arnynt yn nghorph y llyfr, yn mhellach na'u gosod dan ychydig o brif benau cyffredinol. Hyderir y bydd y dosbarthiad hwn, ynghyd â'r Mynegai mwy manwl i'r materion, y Mynegai i'r cyfeiriadau ysgrythyrol, a'r Mynegai i'r llinell gyntaf o bob pennill, yn gweinyddu pob cymmorth a hwylusdod ag a deimlir yn angenrheidiol. Tuag at gynnorthwyo yr arweinyddion canu, barnwyd y byddai yn fanteisiol rhoddi enw a rhif un neu ddwy o Dônau priodol gyda phob Emyn. Yn nechreu y llyfr, ceir nifer o Salmau o'r Beibl Cymraeg, i'w canu fel y maent.

Wrth gyflwyno eu gwaith hwn i'r wlad, nis gall y casglwyr lai na mynegu awyddfryd cryf am weled y rhan hon o waith yr Arglwydd yn cael sylw adnewyddol, a mwy o ofal am dano nag erioed, yn enwedig yn mysg y cyfundeb y maent yn perthyn iddo. Byddai yn ddymunol i'n gweinidogion, ein pregethwyr, a'n diaconiaid wneyd eu hunain yn gyfarwydd yn y Llyfr Hymnau. Wrth ddarllen yr Hymnau godidog a geir yn y casgliad hwn—Hymnau nad oes eu gwell, na chyfoeth mwy o honynt, gan un genedl—nis gallai y casglwyr lai na gofidio wrth weled mor ychydig o honynt sydd yn arferedig yn ein cynnulleidfaoedd. Hyderwn y bydd mwy o honynt o hyn allan yn cael eu defnyddio. Yn lle ymfoddloni ar ychydig o bennillion, cloddier allan, a dyger at wasanaeth crefydd yn ein gwlad, y cyfoeth o farddon-

iaeth grefyddol sydd yn drysoredig yn ein hen Hymnau ardderchog. Dyger hwynt i arferiad yn y teuluoedd hefyd, a dysger y plant i'w canu yn y gwasanaeth teuluaidd. Hyderir y bydd i bawb yn gyffredinol geisio copi o'r Llyfr hwn. Tuag at hyny yr ydys yn dwyn allan argraphiad rhad o hono—argraphiad ag sydd yn rhatach na dim a gafwyd o'r blaen yn yr iaith. Ac yn chwanegol at geisio y Llyfr, byddai yn dra dymunol gweled plant a phobl ieuaingc ein cynnulleidfaoedd yn trysori llawer o'r Hymnau hyn yn eu côf. Ofnir fod yr hen arferiad ganmoladwy o ddysgu Hymnau yn myned i golli; ac nad ydyw pobl ieuaingc yr oes hon yn ystorio eu côf â dim gwell yn eu lle.

Taer weddi y casglwyr ydyw, ar na byddo eu "llafur yn ofer yn yr Arglwydd"; ac ar iddo fod dan fendith i gynnorthwyo Seion Duw i wneyd Ei foliant Ef yn ogoneddus.

*Chwefror* 12*fed*, 1869.

# Y LLYFR PRESENNOL.

DILYNA y Llyfr presennol brif linellau yr un blaenorol yn gymmaint fel nad oes angen rhagymadrodd ychwanegol; y prif gyfnewidiadau ydynt y rhai canlynol:—Taflwyd allan oddeutu saith cant o bennillion, o nodwedd gyffredinol, i roddi lle i oddeutu hanner y rhif hwnw ar faterion neillduol, megis y "Cynhauaf," a Hymnau at wasanaeth yr "Ysgol Sabbathol." Ychwanegwyd amryw "Salmau" a "Rhanau Ereill o'r Ysgrythyr" at y rhai oedd genym o'r blaen, ac ar ddiwedd y llyfr, ceir geiriau yr "Anthemau" a fabwysiadwyd gan Bwyllgor y Llyfr Tônau at wasanaeth y Cyfundeb.

Dosbarthwyd y "Salmau Cân" o dan y gwahanol bynciau, yn lle bod yn adran ar y dechreu. Gwelir fod hyn wedi cyfoethogi yn ddirfawr rai o'r adranau ereill; yn arbenig "Y Cynhauaf," ac "Eglwys Dduw a'i Gyssegr." Ymdrechwyd hefyd gwneyd rhai o'r Salmau yn fwy cânadwy, trwy

gywiro yr aceniad. Wrth wneyd hyn cymmerwyd y gofal mwyaf i beidio cyfnewid y meddwl, na'r geiriau chwaith, pan y gellid cyraedd yr amcan trwy eu trefnu yn wahanol. Gwnawd yr un peth gydag ambell i linell yn yr Hymnau, pan y tybid fod hyny yn wir angenrheidiol. Rhanwyd rhai o'r Hymnau yn ddwy ran, a byrhawyd ereill, fel y mae y cyfanrif agos yr un ag o'r blaen, er fod y pennillion a gynhwysir ynddynt dros dri chant yn llai.

Yn ychwanegol at y "Cynhwysiad" a'r "Mynegai" arferol, rhoddir Mynegai i destynau yr Hymnau, wedi ei drefnu yn ol llythyrenau y wyddor. Disgwylir i hwn fod yn wasanaethgar i gael gafael ar Hymn ar unrhyw bwnc y byddo galw am dano. Heblaw hyny, ychwanegir Mynegai i fater, neu faterion, pob pennill. Dymunai rhai, o bosibl, ddwyn y dosraniad manwl hwn i mewn i gorph y llyfr, ond, o herwydd yr un rhesymau ag a nodir yn y rhagymadrodd gan y pwyllgor blaenorol, gwelwyd fod hyny yn anymarferol. Yr oedd hyn yn ymylu ar fod yn annichonadwy yn y *Llyfr Hymnau a Thônau*, ac nid ymddangosai y fantais a geid trwy hyny, yn y *Llyfr Hymnau*, fel yn cyd-bwyso yr anfantais. Gwelir fod y Mynegai hwn ar raddfa llawer ëangach na dim a geir mewn llyfrau ereill, am ei fod, nid yn unig i bob Hymn, ond i bob Pennill; a chafwyd fod rhai pennillion yn cynnwys y fath amrywiaeth, fel y gorfodwyd ni i'w gosod dan ychwaneg nag un penawd; er engraifft, gweler Hymn 138, pennill 3—"Tragwyddol glôd i'r cyfiawn"—o dan bedwar.

"*Mawl i'r Gwaredwr.*"
"*Ei fywyd, Ei ddioddefiadau a'i angeu.*"
"*Ei adgyfodiad a'i esgyniad.*"
"*Crist yn y nefoedd ac yn eiriol.*"

Nid hawdd oedd penderfynu o dan ba un o'r pedwar uchod yr ydoedd yn fwyaf priodol ei ddosbarthu; ac nid yw y pennill hwn ond siampl o gannoedd o rai cyffelyb mewn cyfoeth ac amrywiaeth. Cafwyd lliaws hefyd o'r fath ansawdd fel nad oedd un penawd priodol ar eu cyfer, er

fod genym ddeuddeg o brif raniadau, a thros dri-ugain o ddosraniadau. Nid ydym yn hollol sicr pa un fuasai hwylusaf, ai eu gadael allan o'r Mynegai hwn, ynte eu dodi i mewn; onder mwyn cynnwys yr holl lyfr ynddo, gosodwyd hwynt oll yn y gwahanol adranau, er nad oeddynt yn hollol ar y pwnc. Gobeithio na throir y Mynegai hwn o'r neilldu fel peth newydd, dieithr, ac anhylaw, gan ein bod yn cwbl gredu, ar ol ymgydnabyddu âg ef, y bydd cael gafael ar bennill, ar unrhyw fater, yn orchwyl cymharol hawdd.

Gosodwyd enwau Tônau uwchben yr Hymnau fel o'r blaen. Mae y detholiad wedi ei gymmeryd o'r *Llyfr Hymnau a Thônau*, ac y mae hwnw y mwyaf cyfaddas ellid wneyd o dan yr amgylchiadau. Wrth gyplysu y Tônau a'r Hymnau ar unrhyw fesur, yr oedd yn rhaid cymmeryd i ystyriaeth, nid yn unig nodweddion a hawliau y Dôn, neu yr Hymn, fyddai dan sylw ar y pryd, ond hefyd nodweddion pob Tôn a Hymn, ar y mesur hwnw. Er engraifft, ar y mesur 8. 7. D., ceir 43 o Dônau a 127 o Hymnau i'w trefnu, trwy osod, ar gyfartaledd, oddeutu chwech o Hymnau ar gyfer bob dwy Dôn, ac nid hawdd oedd sicrhau y cyfuniad mwyaf cyfaddas o dan bob amgylchiad. Hyderwn er hyny na cheir un ieuad mor anghydmarus, fel nas gellir, yn briodol, ganu pob Hymn ar un o'r Tônau fyddo wedi eu rhoddi ar ei chyfer.

Cydnabyddir yn ddiolchgar ein rhwymedigaeth am y parodrwydd a ddangoswyd gan yr Awdwyr canlynol, i roddi caniatad i ddefnyddio Hymnau gwreiddiol a Chyfieithiadau o'u heiddo welir uwchben llythyrenau cyntaf eu henwau:—

Mr. John Davies (*Gwyneddon*), Caernarfon.
Parch. Archddiacon Howell (*Llawdden*), Gresford.
,, John T. Job, Aberdar.
,, Nathaniel Cynhafal Jones, D.D., Colwyn Bay.
,, Richard Jones, Croesoswallt.
,, Thomas Levi, Aberystwyth.
,, R. R. Morris, Blaenau Ffestiniog.
,, O. G. Owen (*Alafon*), Ysgoldy, Clwtybont.
,, Evan Rees (*Dyfed*), Caerdydd.
Miss S. J. Rees, (*Cranogwen*), Llangranog.
Parch. William Williams (*Gwilym ab Gwilym Lleyn*), Tryddyn.

Yr un modd dymunir cydnabod y personau canlynol yr oedd yr hawl ganddynt ar Hymnau a ddetholwyd:—

Parch. T. C. EDWARDS, D.D., am eiddo ei dad, y diweddar Barch. LEWIS EDWARDS, D.D.

Mri. HUGHES a'i Fab, am eiddo "Islwyn," a "Cheiriog," ac ereill.

Mrs. JONES, Llanrhaiadr yn Mochnant, am eiddo ei phrïod, y diweddar Barch. HUGH JONES (*Huw Myfyr*).

Mr. R. E. PRICHARD, Cyfreithiwr, Caergybi, am eiddo y diweddar Mr. S. J. GRIFFITHS (*Morswyn*), Caergybi.

Mrs. ANNE RICHARDS, Portmadoc, am eiddo y diweddar Barch. W. AMBROSE (*Emrys*).

Mrs. ROBERTS a'i chwaer, Bryn Cadnant, Caernarfon, am eiddo eu tad, y diweddar Barch. J. HUGHES, D.D.

Mrs. J. ROBERTS, Caernarfon, am eiddo ei phrïod, y diweddar Barch. JOHN ROBERTS (*Ieuan Gwyllt*).

Llwyddwyd i gael allan awdwyr a chyfieithwyr amryw oeddynt yn anhysbys (*An.*) yn yr Argraphiad o'r blaen; methwyd a dyfod o hyd i'r oll; dodir ar ol yr Hymnau hyny y man y gallwyd eu holrhain iddo bellaf yn ol; am y gall hyny fod yn fantais i rai a ewyllysient eu holrhain yn mhellach nes dyfod o hyd i'r Awdwyr. Yn y Rhestr o'r Awdwyr a'r Cyfieithwyr rhoddir yr amser y buont byw, mor bell ag yr oedd yn wybyddus, ar ol y rhai fuont feirw.

Dengys y rhifnodau sydd mewn cromfachau o flaen pob Hymn-rif yr Hymn yn y Llyfr *Hymnau a Thônau.*

Cyflwyna y Pwyllgor y Llyfr i'r Cyfundeb, gan obeithio y bydd o wîr wasanaeth i'n canu cynnulleidfaol, ac yn feithriniaeth i grefydd ysbrydol yn ein plith.

*Awst*, 1896.

# CYFARWYDDIADAU.

RHODDIR yr ychydig nodiadau hyn, nid fel rheolau, ond fel awgrymiadau a allant fod o wasanaeth gyda golwg ar drefn ac effeithiolrwydd yn ein caniadaeth grefyddol.

Gwneler defnydd bob amser o'r Llyfr Hymnau; nid yn unig yn y bregeth, ond hefyd yn y cyfarfod gweddi, yn y cyfarfod eglwysig, ac yn y gwasanaeth teuluaidd.

Noder Rhif yr Hymn cyn dechreu ei darllen; ac ar ol ei darllen, rhodder adeg i'r gynnulleidfa i godi ar eu traed.

Coded y gynnulleidfa ar unwaith yn yr adeg hono, ac nid y naill ar ol y llall, pan y byddo ereill wedi dechreu canu.

Wedi i'r Llyfr Hymnau ddyfod yn gyffredinol trwy y gynnulleidfa, ar ol i'r Hymn gael ei darllen drosti, caner hi gan y gynnulleidfa, o'i dechreu i'w diwedd. O herwydd prinder llyfrau, ac analla i ddarllen, y dechreuwyd yr arferiad o roddi pennill allan bob yn ddwy linell. Wedi i'r achos gael ei symmud ymaith, nid da ydyw cadw i fyny arferiad ag sydd yn tueddu i wneyd y gwasanaeth yn aneffeithiol.

Rhodded y gynnulleidfa sylw manwl i amser ac arddull yr arweinydd, gan edrych arno fel *arweinydd*, ac nid "dechreuwr canu" yn unig.

Taler sylw i'r syniadau a genir, gan ymdrechu ymweithio i'w hysbryd, a'u canu gyda'r amrywiaeth nerth ac ansawdd llais a fyddo yn briodol. Hyn yw canu "â'r deall."

Ceir yn y llyfr rai geiriau unsill, y rhai y mae y mesur yn galw am eu canu yn ddwysill; megys *pobl*, *ffafr*, *teml*, *ofn*, &c. Yn yr amgylchiadau hyn, rheol y Gymraeg ydyw rhoddi y llafariad sydd yn y gair i ffurfio yr ail sill hefyd; megys *pobol*, *ffafar*, *temel*, *ofon*, &c.; a hon yw y ffordd briodol i ganu y cyfryw eiriau pan yn ddwysill.

Pan y ceir sill yn nechreu llinell yn gwneyd y llinell hono yn rhy hir yn ol y mesur, caner y sill gyntaf ar y sain gyntaf o'r dôn. Ceir dwy dôn, sef "Esther" a "Dolwar," wedi eu cyfaddasu i gyfarfod â'r amgylchiadau hyn, y rhai a gyfarfyddir mor fynych yn Hymnau Mrs. Anne Griffiths.

# CYNHWYSIAD.



## HYMNAU.

# MYNEGAI I'R MATERION,

## GYDA'R GEIRIAU CYNTAF O BOB PENNILL.

*Dynoda * rai cyfaddas i Ieuenctyd a Phlant.*

## AM DDUW.

### 1. Mawredd Duw.



### 2. Y Drindod.



### 3. Duw mewn Creadigaeth a Rhagluniaeth.

## 4. Duw yn Nhrefn Iachawdwriaeth.



## 5. Arfaeth Duw a'r Cyfammod Grâs.



## 6. Cariad a Thrugaredd Duw.



## 7. Anghyfnewidioldeb a Ffyddlondeb Duw.

### 8. Presenoldeb a Chymdeithas Duw.



### 9. Digonolrwydd yn Nuw.



### 10. Moliant i Dduw.



## AM GRIST.

### 1. Ei Ymgnawdoliad.

## 2. Ei Berson, ei Swyddau, a'i Deitlau.



## 3. Ei Fywyd, Ei Ddioddefiadau, a'i Angeu.



## 4. Ei Adgyfodiad, a'i Esgyniad.

## 5. Yn y Nefoedd ac yn Eiriol.



## 6. Haeddiant Iawnol Ei Aberth.

## 7. Rhinwedd Achubol Ei Waed.



## 8. Ei Fuddugoliaethau a'i Oruchafiaeth.

## 9. Ei Gariad, Ei Ras, Ei Hawddgarwch, a'i Ogoniant.



## 10. Ei Bresenoldeb a'i Gymdeithas.

## 11. Yr Iachawdwriaeth Ynddo.



## 12. Cyflawnder yn Nghrist.



## 13. Ymddiried Ynddo fel Gwaredwr.

## 14. Ymddifyru yn yr Iesu.



## 15. Mawl i'r Gwaredwr.

## AM YR YSBRYD GLAN.

### 1. Am Berson yr Ysbryd Glan a'i Ddoniau.



### 2. Dymuniadau am Ddylanwadau yr Ysbryd.



## YR EFENGYL A'I HORDINHADAU.

### 1. Am Air Duw.

## 2. Yr Ysgol Sabbathol.



## 3. Darpariaeth a Galwad yr Efengyl.



## 4. Y Sabbath.



## 5. Bedydd.

[*Gweler hefyd Am Grist, 7. Rhinwedd Achubol Ei Waed.*]

## 6. Swper yr Arglwydd.

## 7. Hymnau Cenhadol.



## EGLWYS DDUW A'I GYSSEGR.

## PROFIADAU A RHAGORFREINTIAU POBL DDUW.

### 1. Edifeirwch a Maddeuant.

## 2. Ffydd.



## 3. Amheuon ac Ofnau.



## 4. Hiraeth am Waredigaeth.

## 5. Rhyddid o'r Caethiwed.



## 6. Hyder a Gobaith.



## 7. Gwerth a Grym yr Addewidion.

## 8. Hiraeth am Dduw.



## 9. Nesau at Dduw ac Ymddiried Ynddo.

## 10. Sancteiddhad.



## 11. Diogelwch.



## 12. Mwynhad o Dduw—Cariad a Gorfoledd.

# BYWYD CREFYDDOL.

## 1. Gweddi.



## 2. Ymostyngiad i Ewyllys Duw.

### 3. Gwir Grefydd a'i Hyfrydwch.



### 4. Diolchgarwch ac Ymgyssegriad.



### 5. Cynhaliaeth a Chynnydd mewn Grâs.

## 6. Taith yr Anialwch.



## 7. Mordaith a Milwriaeth.



## 8. Pererindod a Gorphwysfa.

# CYSTUDDIAU.

## 1. Cysur a Nerth mewn Cystuddiau.



## 2. Cystuddiau yn Fuddiol.



## 3. Gwaredigaeth o Gystuddiau.



# ANGEU A THRAGWYDDOLDEB.

## 1. Angeu a'r Bedd.

## 2. Yr Adgyfodiad a'r Farn.



## 3. Tragwyddoldeb.

## Y NEFOEDD.

### 1. Y Wlad Well.



### 2. Cartref Duw a'r Saint.



### 3. Gogoniant y Nefoedd.



### 4. Mwynhad y Nefoedd.

## ACHLYSURON NEILLDUOL.

### 1. Dirwest.



### 2. Y Cynhauaf.



## MAWL-EIRIAU.

# MYNEGAI I DESTYNAU YR HYMNAU.

A.



B.

## C.

## CH.



## D.



## E.

H.



I.



LL.



M.

N.



O.



P.



R.

# MYNEGAI I EIRIAU CYNTAF POB PENNILL.

B.

D.

FF.



G.

N.

O.

# ENWAU AWDWYR A CHYFIEITHWYR.

[*Y mae y ffigyrau ar ol yr enwau yn dangos amser eu genedigaeth a'u marwolaeth; neu, pan yw hyny yn anhysbys, amser yr oeddynt yn blodeuo ynddo; a dynoda * o flaen enw fod yr Awdwr yn fyw.*]

| | |
|---|---|
| A. E. .. | Parch. ARTHUR EVANS, Cynwil, 1755—1837. |
| A. G. .. | Mrs. ANNE GRIFFITHS, Dolwar Fechan, Sir Drefaldwyn, 1776—1805. |
| B. F. .. | Parch. BENJAMIN FRANCIS, Horsley, 1734—1799. |
| C. .. .. | *Miss SARAH JANE REES (*Cranogwen*), Llangranog. |
| D. C. .. | Parch. DAVID CHARLES, Caerfyrddin, 1762—1834. |
| D. Cs. .. | Parch. DAVID CHARLES, ieu., Caerfyrddin, 1803—1880. |
| D. D. .. | Parch. DAVID DAVIES, Abertawy, 1763—1816. |
| D. H. .. | *Parch. Archddiacon D. HOWELL (*Llawdden*), Gresford. |
| D. HUM. | Parch. DAVID HUMPHREYS, Llanrhaiadr yn Mochnant, 1810—1866. |
| D. J. .. | Mr. DAVID JONES, Caio, Sir Gaerfyrddin, 1711—1777. |
| D Jo. .. | Mr. DAVID JONES, Garreg Wen, Llanberis, 1763—1822. |
| D. Js. .. | Parch. DAVID JONES, Treborth, 1805—1868. |
| D. M. .. | Parch. DAVID MORRIS, Twr Gwyn, 1744—1791. |
| D. S. .. | Parch. DAVID SAUNDERS (B.), Merthyr, 1770—1840. |
| D. T. .. | Mr. DAVID THOMAS (*Dafydd Ddu Eryri*), Waenfawr, 1760—1822. |
| D. Ts. .. | Mr. DAVID THOMAS, Caerfyrddin, 1791—1877. |
| D. W. .. | Mr. DAVID WILLIAMS, Llandilo Fach, 1712—1794. |
| DR. W. .. | Parch. ISAAC WATTS, D.D. (Emynau Seisnig, wedi eu cyfieithu). [1674—1748. |
| "DID." .. | *Didymus, Nefyn,* "*Seren Gomer*," 1822, cyf. v., t.d. 246. |
| E. E. .. | Parch. EVAN EVANS (*Ieuan Glan Geirionydd*), Caerlleon, 1795—1855. |
| E. J. .. | Mr. EDWARD JONES, Maesyplwm, 1761—1829. |
| E. Js. .. | Mr. EVAN JENKINS, Llansamlet, 1781—1863. |
| E. P. .. | Parch. Archddiacon EDMUND PRYS, 1541—1624. |
| E. PA. .. | Mr. EDWARD PARRY, Llansannan, 1723—1786. |
| E. PR. .. | Mr. EVAN PRICHARD (*Ieuan Lleyn*), Bryncroes, 1770—1832. |
| E. R. .. | *Parch. EVAN REES (*Dyfed*), Caerdydd. |
| E. T. .. | Mr. EBENEZER THOMAS (*Eben Fardd*), Clynnog, 1802—1863. |
| E. W. .. | Parch. ELLIS WYN, Glasynys, 1671—1734. |
| G. 1. .. | "*Grawnsypiau Canaan*," Casgliad y Parch. ROBERT JONES, Rhoslan, |
| G. 2. .. | Eto. Ail Argraphiad, 1806. [Argraphiad Cyntaf, 1795. |
| GE... .. | "*Y Geirgrawn*," Chwef., 1796. |
| G. L. .. | Parch. GEORGE LEWIS, D.D., Llanuwchllyn, 1763—1822. |
| G. AB E. | Mr. GWILYM AB ELLIS, *neu* BELLIS, —1786—. |
| H. D. H. | Mr. HUGH DERFEL HUGHES, Pendinas, ger Bangor, 1816—1890. |
| H. G. .. | Mr. HUGH GRIFFITH, Llanddaniel, Mon, —1748—. |
| H. H. .. | Mr. HUGH HUGHES, Artist, 1790—1863. |
| H. AB I. . | Mr. HUGH JONES (*Huw ab Ioan*), Amlwch. |
| H. J. .. | Mr. HUGH JONES, Maesglasau, Dinas Mawddwy, 1749—1825. |
| H. Js. .. | Parch. HUGH JONES (*Huw Myfyr*), Dinorwig, 1845—1891. |
| H. P. .. | Yn Nghasgliad y Parch. D. JONES, Treffynnon, 1827. |
| I. DD .. | Mr. JOHN RYLAND HARRIS (*Ieuan Ddu o Lan Tawy*), Abertawy, 1802—[1823. |
| I. G. .. | Parch. JOHN ROBERTS (*Ieuan Gwyllt*), 1822—1877. |
| J. B. .. | Parch. JOHN BLACKWELL (*Alun*), 1797—1840. |
| J. C. H. . | Mr. JOHN CEIRIOG HUGHES, 1832—1887. |
| J. D. .. | Mr. JOHN DAFYDD, Caio, —1747—. |
| J. Ds. .. | *Mr. JOHN DAVIES (*Gwyneddon*), Caernarfon. |
| J. E. .. | Parch. JOHN ELIAS, Mon, 1774—1841. |
| J. Ev. .. | Mr. JOHN EVANS, ieu., Amlwch. |
| J. H. .. | Parch. JOHN HUGHES, Pontrobert, Sir Drefaldwyn, 1775—1854. |
| J. Hs. .. | Parch. JOHN HUGHES, D.D., Caernarfon, 1827—1893. |
| J. HA. .. | Parch. JOSEPH HARRIS (*Gomer*), Abertawy, 1773—1825. |
| J. J. .. | Mr. JOHN JONES, Sir Gaerfyrddin, —1747—. |
| JON. .. | *Jonadab,* "*Gwladgarwr*," cyf. v., t.d. 20, 1837. |
| J. Pa. .. | Parch. JOHN PARRY, Caerlleon, 1775—1846. |
| J. P. .. | Mr. JOHN PHILLIPS (*Tegidon*), Portmadoc, 1810—1877. |
| J. R. .. | Parch. JOHN ROBERTS, Llangwm, 1753—1834. |
| J. Rs. .. | Mr. JOHN ROBERTS (*Siôn Rhobert Lewis*), Caergybi, 1731—1806. |
| J. T. .. | Parch. JOHN THOMAS, Rhaiadr, 1730—1803. |
| J. Ts. .. | Mr. JOHN THOMAS, Pentrefoelas, 1742—1818. |
| J. THO. .. | Mr. JOHN THOMAS, Cwmsidan, Llansadwrn, 1763—1834. |
| J. T. J... | *Parch. JOHN T. JOB, Aberdar. |
| J. W. .. | Mr. JOHN WILLIAMS (*Ioan ab Gwilym*), St. Athan, 1726—1806. |
| J. Ws. .. | Parch. JOHN WILLIAMS, Pantycelyn, 1754—1828. |
| J. WMS... | Parch. JOHN WILLIAMS (B.), —1789—. |
| Js. H. .. | Parch. JAMES HUGHES (*Iago Trichrug*), Llundain, 1779—1844. |
| L. E. .. | Parch. LEWIS EDWARDS, D.D., Bala, 1809—1887. |

| | |
|---|---|
| M. D. .. | Mr. Morris Davies, Bangor, 1796—1876. |
| Ma. D. .. | Mr. Maurice Davies, Bala, —1798—. |
| M. P. .. | Mr. Morris Pugh, Clewedog, Dolgellau, 1828—1856. |
| M. R. .. | Mr. Morgan Rhys, Sir Gaerfyrddin, 1700—1779. |
| Ml. R. .. | Parch. Michael Roberts, Pwllheli, 1780—1849. |
| Morg. D. | Mr. Morgan Dafydd, Caio, —1747—. |
| Morg. J. | Parch. Morgan Jones, Trelech, 1768—1835. |
| N. C. J. . | *Parch. Nathaniel Cynhafal Jones, D.D., Colwyn Bay. |
| O. G. O. . | *Parch. Owen Griffith Owen (*Alafon*), Ysgoldy, Clwtybont. |
| P. .. .. | Mrs. Parry, Prïod y Parch. Thomas Parry, Llandrillo yn Rhos, [—1855—. |
| P. J. .. | Mr. Peter Jones (*Pedr Fardd*), Liverpool, 1775—1845. |
| P. W. .. | Parch. Peter Williams, Llandyfeiliog, Caerfyrddin, 1722—1796. |
| R. D. .. | Mr. Robert Davies (*Bardd Nantglyn*), 1769—1835. |
| R. Ds. .. | Mr. Robert Davies, Gwaenysgor, Treffynnon, —1765—. |
| R. E. .. | Parch. Roger Edwards, Wyddgrug, 1811—1886. |
| R. F. .. | Mr. Rowland Fychan, Caergai, Llanuwchllyn, 1590—1670. |
| R. H. .. | Mr. Rowland Huw, Graienyn, Bala, 1714—1802. |
| R. J. .. | Parch. Richard Jones, Wern, Llanfrothen, 1773—1833 |
| R. Js. .. | *Parch. Richard Jones, Croesoswallt. |
| R. O. .. | Parch. Robert Owen (*Eryron Gwyllt Walia*), Llundain, 1803—1870. |
| R. R. M. | *Parch. R. R. Morris, Tabernacl, Blaenau Ffestiniog. |
| R. W. .. | Mr. Robert Williams (*R. ab Gwilym Ddu*), Eifionydd, 1767—1850. |
| S. J. G. . | Mr. S. J. Griffith (*Morswyn*), Kingsland House, Caergybi, 1850—1893. |
| S. M. .. | Mr. Siarl Mark, Lleyn, 1720—1795. |
| T. C. .. | Parch. Thomas Charles, A.B., Bala, 1755—1814. |
| T. E. .. | Mr. Thomas Ellis, Llithfaen, Pwllheli. |
| T. J. .. | Parch. Thomas Jones, Dinbych, 1756—1820. |
| T. Js. .. | Parch. Thomas Jones (*Glan Alun*), Wyddgrug, 1811—1866. |
| T. L. .. | Mr. Thomas Lewis, Tal-y-llychau, Sir Gaerfyrddin, 1759—1842. |
| T. Le. .. | *Parch. Thomas Levi, Aberystwyth. |
| T. W. .. | Mr. Thomas Williams, Bethesda, Morganwg, 1761—1844. |
| T. Ws. .. | Mr. Thomas Williams (*Eos Gwynfa*), Llanfihangel, Sir Drefaldwyn, [1769—1848. |
| Ti. L. .. | Parch. Titus Lewis, Caerfyrddin, 1773—1827. |
| Tr. .. .. | "*Y Drysorfa*," 1831, &c. |
| T. Y. .. | "*Y Drysorfa Ysbrydol*," 1799—1827. |
| W. .. .. | Parch. William Williams, Pantycelyn, 1717—1791. |
| W.—G. D. C. | "*Golwg ar Deyrnas Crist*," Arg. 1, 1756; 2, 1764. |
| W.—Th... | "*Theomemphus*," Arg. 1, 1764; 2, 1781. |
| W.—T. W. S. | "*Tri Wyr o Sodom*," 1768. |
| W. A. .. | Parch. William Ambrose (*Emrys*), Portmadoc, 1813—1873. |
| W. E. .. | Mr. William Edwards, Bala, 1773—1853. |
| W. G. .. | Parch. William Griffiths, Glandwr, 1777—1825. |
| W. J. .. | Mr. William Jones, Bala, 1764—1822. |
| W. Je. .. | Mr. William Jenkins, Treforris, 1779—1860. |
| W. Js. .. | Parch. William Jones, Penybont ar Ogwy, 1784—1847. |
| W. L. .. | Mr. William Lewis, Abermawr, Llangloffan, —1786—. |
| W. O. .. | Mr. William Owen (*Gwilym Alaw*), Chwaenwen, Mon, —1795—. |
| W. T. .. | Parch. William Thomas (*Islwyn*), Babell, Mynwy, 1832—1878. |
| W. Ws. .. | Mr. William Williams (*Gwilym Cyfeiliog*), Llanbrynmair, 1801—1876. |
| Wm. Wms. | *Parch. William Williams (*G. ap Gwilym Lleyn*), Tryddyn. |

| | | |
|---|---|---|
| *An.* .. .. .. | A saif am | *Anhysbys.* |
| *Ar.* .. .. .. | ,, | *Arallwyd, Cyfnewidiwyd.* |
| *c.* .. .. .. | ,, | *Cyfieithwyd.* |
| *Dyf.* .. .. .. | ,, | *Dyfynwyd.* |
| *Efel.* .. .. .. | ,, | *Efelychwyd.* |
| *Cas.* .. .. .. | ,, | *Casgliad o Hymnau.* |
| *Cas.* De. .. .. | Eiddo | y Trefnyddion Calfinaidd yn Siroedd y De, 1841. |
| ,, D. J. .. | ,, | y Parch. D. Jones, Treffynon, 1810, a 1826. |
| ,, H. S. .. | ,, | Harri Siôn, Pontypool, 1773, a 1798. |
| ,, Jos. Har. | ,, | y Parch. Joseph Harris (*Gomer*), 1821—1878. |
| ,, J. H. .. | ,, | y Parch. John Hughes, "*Diferion y Cyssegr*," 1802. [1798. |
| ,, J. R. J. .. | ,, | y Parch. J. R. Jones, Ramoth, 1802. |
| ,, M. J. .. | ,, | y Parch. Morgan Jones, Trelech, "*Y Dydd yn Gwawrio*," |
| ,, M. D. .. | ,, | Mr. Morris Davies, Bangor, Arg. 1, 1832; Arg. 4, 1860. |
| ,, R. E. .. | ,, | y Parch. Roger Edwards, Wyddgrug, Ail Arg., 1849. |
| ,, R. a J. W. | ,, | y Parchn. Richard a Joseph Williams, Liverpool, 1841. |
| ,, S. R. .. | ,, | y Parch. Samuel Roberts, Llanbrynmair, 1841. |
| ,, T. Le. .. | ,, | y Parch. Thomas Levi, Aberystwyth (Hughes & Son). |
| ,, Wes. .. .. | ,, | y Trefnyddion Wesleyaidd, 1826. |

# SALM-DÔNAU.

---

## NODIAD.

Nid yw "Canu Salmau" yn ddim amgen na darlleniad mewn seiniau cerddorol. Dylai yr Arweinydd, yn gyntaf oll, efrydu y Salm yn drwyadl, a meistroli, hyd y byddo yn bosibl iddo, bob syniad fyddo ynddi; yna dyfod i gyd-ddealltwriaeth â'r gynulleidfa am y modd goreu i'w darllen, gan osod allan y synwyr, gyda goslef a theimlad priodol i bob ymadrodd; ac yn ddiweddaf, ei chyd-ddadganu, yn seiniau y Salm-dôn, yn hollol fel y buasent yn ei darllen. Trwy fabwysiadu y dull syml hwn, bydd canu Salmau yn hawdd, hyfryd, ac effeithiol iawn.

Caniateir mwy o ryddid nag mewn tôn gyffredin; rhyddid o fewn y terfynau gosodedig ydyw hanfod effeithiolrwydd y Salm-dôn. O herwydd hyn yr ydym wedi ymdrechu osgoi y màn reolau a'r arwyddion, gan fod lliosogi y rhai hyny yn tueddu i lyffetheirio y cantorion, ac i wneyd y canu yn ffurfiol a difywyd. Nis gall deddfau wneyd i fyny am ddiffyg meddylgarwch personol. Nid yw y dôn ond amlinelliad i'w lanw, yn ol natur yr hyn a genir, gan feddwl a chalon yr addolydd. Byddai yn hollol annichonadwy nodi allan yr holl amrywiaeth cyfoethog y mae yn bosibl i gynulleidfa ddeallus gynyrchu, wrth ddadgan ambell i adran o Air Duw.

Teimlir anhawsder gan yr anghyfarwydd i adrodd yn glir, hamddenol, a chyda mynegiant, y rhan fyddo ar y nodyn cyntaf o bob adran o'r dôn, yn enwedig os bydd y darn yn

faith. Y prif berygl ydyw myned drosto yn frysiog ac annaturiol, heb gofio nad oes amser cerddorol o gwbl i'r nodyn adroddol. Teimlir anhawsder hefyd i uno, yn esmwyth a naturiol, y nodyn cyntaf â'r hyn sydd yn canlyn, fel ag i wneyd y datganiad yn llyfn a didoriad. I symud yr anhawsder hwn y nodir gan rai yr hyn a elwir yn "Acen" y dôn, megys :—

Yr Hwn sydd yn máddeu dy | holl : anwir | eddau ||

Gosoda ereill fath o fàn rhagarweiniol i mewn, ar ddiwedd y nodyn adroddol, i fod yn ddolen gydiol â'r hyn sydd yn canlyn, fel hyn :—

Ac Efe a ddifa yn y mynydd hwn y gorchudd sydd yn gor-{ chuddio yr | höll | bobloedd, ||

Dechreua y mesur yn briodol gyda'r gair "höll," ond i ddarparu ar ei gyfer, gwneir math o fàn o ddiwedd y nodyn adroddol—{ chuddio yr |. Yn ymarferol yr un peth ydyw yr acen a'r bàn rhagarweiniol, ac i'r darllenydd craffus nid oes angen am y naill na'r llall, gan y bydd ei synwyr cyffredin yn arweinydd anffaeledig i wneyd yr hyn a arwyddocânt. Gall y blaenaf hefyd fod yn achlysur i gam-arwain, oblegid bydd angen yn fynych am ychwaneg nag un acen dan y nodyn hwn, fel yn yr engraifft a ganlyn :—

Oblegid yr Oén, yr Hwn sydd y'nghánol yr orséddfaingc, a'u bugéilia hwynt, ac a'u hárwain at ffynhónau | bywiol : o | ddyfroedd ; ||

Argreffir yr adranau o'r Ysgrythyr yn hollol fel y maent yn y Beibl Cymraeg, heb lythyrenau gwahanol i ddynodi pwyslais, na dim cyffelyb, oddigerth dot pan y byddo arosiad, lle na byddo atalnod yn barod, yn fanteisiol i alw sylw at ystyr gair neillduol :—

Canys y Duw Hwn · yw ein Duw ni byth · ac | yn dra | gywydd ; ||

Lle y ceir llythyrenau Italaidd, maent felly yn y Beibl, a dynodant nid pwyslais, ond ychwanegiadau y cyfieithwyr. Gosodir yr holl atalnodau fel y maent yn y Beibl, gyda'r eithriad fod y gor-wahannod yn cael ei newid i rag-wahannod, pan fyddo perygl ei gamsynied am nod curiad y Tonic-Solffa, yr hwn a ddefnyddir i ranu y sillau rhwng y nodau cerddorol yn y bàn. Dilyner yr atalnodau fel wrth ddarllen, a chofier nad yw y llinell syth sydd yn derfyn bàn na'r nod curiad yn atalnod o gwbl, er engraifft :—

Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac na byddo | ffrwyth : ar y | gwinwydd ; ||

Mae yr arosiad i fod ar ol y gair "flodeuo," ac ar ol "gwinwydd," ac nid ar ol "byddo," nac ar ol "ffrwyth," nac ychwaith rhwng yr "y" a'r "gwinwydd."

Defnyddir yr arwyddion canlynol :—

1. Mae y seren (*) yn arwydd yn unig i gymeryd anadl, a defnyddir hi pan fyddo yr atalnodau yn mhell oddi wrth eu gilydd :—

Golch fi yn llwyr-ddwys * oddi | wrth : fy an | wiredd ; ||

2. Dot (·) a ddynoda arosiad i alw sylw at ystyr gair arbenig, a defnyddir ef lle na byddo atalnod yn barod, fel y nodwyd uchod ; sylwer hefyd ar yr esampl ganlynol :—

I fol | iannu | enw · : yr | Arglwydd.

3. Bàn ( | ) a ddengys derfyn dechreuol neu ddiweddol bàn.

4. Bàn dwbl (||) a noda ddiwedd rhan flaenaf y Salm-dôn.

5. Yr arwydd hwn (—) a ddynoda fod y sill i'w barhau ar y nodyn fyddo yn gynrychioli :—

O | —:— | Är | glwydd.

Cymer yr "O" y nodyn adroddol, a'r ddau nodyn yn y bàn cyntaf.

6. Didolnod (¨) a ddengys fod y ddau nodyn yn y bàn i'w canu ar y sill fyddo tano.

7. Defnyddir gor-wahannod (:), sef nod curiad y Tonic-Solffa, pan fyddo ychwaneg na dau sill yn y bàn, i ddangos pa fodd y mae y sillau i'w rhanu rhwng y ddau nodyn:—

Ond i | Dduw y : byddo y | diolch, ||

Mewn amgylchiad o'r fath, rhaid arfer synwyr a barn. Nid oes berygl i un meddylgar ranu yr amser yn gyfartal rhwng y sillau uchod, a rhoddi cymaint o bwys ar y llythyren "y" ag ar y gair "Duw." Nis gellir eu nodi yn hollol fel y byddai dadganwr synhwyrol yn myned drostynt. Dichon mai y peth agosaf at hyny fyddai—




| Dduw y : byddo y |

Nid yw hyn eto, ond rhywbeth yn agos i'r hyn a ddylai fod. Arferer meddwl, a bydd pob peth yn ei le.

"Mewn gwirionedd, os ydyw y gelfyddyd o nodi a datganu y Salmau i gyraedd perffeithrwydd, rhaid ei harfer, fel pob celfyddyd arall gyda meddylgarwch (*with brains*). . . . Datganiad deallus, mynegiadol, ac addolgar sydd i fod yn amcan, a hyny, hyd y byddo yn ddichonadwy, ddylid sicrhau."—PARCH. J. TROUTBECK, D.D.

Dylai y Cymry ragori mewn canu Salmau. Llawer canwaith y cafodd y miloedd ar faes y Gymanfa fawr, a chynulleidfaoedd Cymru yn gyffredinol, eu gwefreiddio gan nerth a swyn dull cyffelyb oedd gan lawer o'n prif-bregethwyr, i adrodd adnodau y Beibl, nes eu gyru yn argyhoeddiadau dyfnion i galonau a chydwybodau eu gwrandawyr. Mae yn bosibl i'n cynulleidfaoedd yr un modd, ond meddu deuparth o'u hysbryd hwy, a thrwy ymddyrchafu i'r un rhyddid naturiol, ddyfod i fedru dadganu Gair Duw, fel y ceir ef yn y Llyfr Dwyfol ei hun, nes y byddo y gwasanaeth yn foddion gras mewn gwirionedd, ac yn wir foliant i'r Duw Goruchaf.

# SALMAU A RHANAU EREILL O'R YSGRYTHYR.

---

## SALM I.

1 *Dedwyddwch y duwiol. Annedwyddwch yr annuwiol.*

GWYN ei fyd y gwr * ni rodia y'nghynghor yr
annuwiolion, ac ni saif yn | ffordd : pechad-
| uriaid, || ac nid eistedd yn eis | teddfa : gwat | wär-
| wyr.

2 Ond *sydd* a'i ewyllys y'ng | hyfraith : yr |
Arglwydd ; || ac yn myfyrio yn Ei | gyfraith : Ef |
ddydd a | nos.

3 Ac efe a fydd fel pren wedi ei blannu * ar làn
afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei
bryd ; a'i | ddalen : ni | wywa ; || a pha beth bynnag
a | wnel, e | fe a | lwydda.

4 Nid felly *y* | *bydd* : yr an | nuwiol ; || ond fel mân
us · yr hwn a | chwal y | gwỳnt | ymaith.

5 Am hynny yr annuwiolion · ni | safant : yn y |
farn, || na phechaduriaid · y'nghynnull | ëid | fa : y rhai |
cyfiawn.

6 Canys yr Arglwydd a edwyn | ffordd : y rhai |
cyfiawn ; || ond ffordd yr annuw | iolion | a ddi | fethir.

## SALM II.

2 *Brenhiniaeth Crist. Cynghori brenhinoedd i'w derbyn.*

PAHAM y ter|fysga : y cen|hedloedd, || ac y my-
|fyria : y | bobloedd : beth | ofer?

2 Y mae brenhinoedd y ddaear yn ymosod, a'r pennaethiaid yn ymgynghori ynghyd, yn | erbyn : yr | ARGLWYDD, || ac yn erbyn Ei | Grïst | Ef : *gan ddy-|wedyd*,

3 Drylliwn | — : eu | rhwymau hwy, || a thaflwn eu rheff|ynnau | oddi | wrthym.

4 Yr Hwn sydd yn preswylio yn y | nefoedd : a | chwardd ; || yr | ARGLWYDD : a'u | gwatwar | hwynt.

5 Yna y llefara Efe wrthynt | yn Ei | lid, || ac yn Ei ddigllonrwydd · y dy|chryna : E|fë | hwynt.

6 Minnau · a osodais Fy | Mrenhin : ar | Sïon || Fy | mynydd | sänct|aidd.

7 Mynegaf y ddeddf; dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf, Fy | Mab : *ydwyt* | Ti; || Myfi | heddyw | a'th gen|hedlais.

8 Gofyn i Mi, a rhoddaf y cenhedloedd yn eti-|feddiaeth | i Ti, || a ther|fynau : y | ddaear : i'th | feddiant.

9 Drylli hwynt â gwï|alen | haiarn ; || mal|uri : hwynt, fel | llestr | pridd.

10 Gan hynny yr awr hon, frenhinoedd, | byddwch : syn|hwyrol ; || barnwyr y | ddaear, : cym|merwch | ddysg.

11 Gwasanaethwch yr | ARGLWYDD : mewn | ofn, || ac ym|lawen|hêwch mewn | dychryn.

12 Cusenwch y Mab, rhag iddo ddigio, a'ch difetha chwi *o*'r ffordd, pan gynneuo Ei | lid Ef : ond y|chy-dig. || Gwŷn eu byd pawb · a ymddir|iedant | ynddo | Ef.

## SALM VIII.

3 *Mawrygu gogoniant Duw, wrth Ei weithredoedd, ac wrth Ei gariad tu ag at ddyn.*

ARGLWYDD ein Ior ni, mor ardderchog *yw* Dy enw ar yr | höll | ddaear! || yr Hwn a osodaist Dy o|goniant | uwch y | nefoedd.

2 O enau plant bychain · a rhai yn sugno · y peraist nerth, o | achos : Dy el|ynion ; || i ostegu y | gelyn : a'r | ymddï|alydd.

3 Pan edrychwyf ar y nefoedd, | gwaith Dy | fysedd ; || y lloer a'r | sêr, y | rhai : a or|deiniaist.

4 Pa beth *yw* dyn, i | Ti i'w | gofio ? || a mab dyn, i | Ti : i ym|weled : âg | ef ?

5 Canys gwnaethost ef ychydig | îs : na'r ang-|elion, || ac a'i coronaist â go|goniant | ac â | harddwch.

6 Gwnaethost iddo arglwyddiaethu ar weith|redoedd : Dy | ddwylaw ; || gosodaist | bob *peth* | dan ei | draed ef.

7 Defaid ac | ychain | oll, || *ac* ani|feiliaid : y | mäes | hefyd.

8 Ehediaid y nefoedd, a | physgod : y | môr, || *ac* y sydd yn tram|wyo | llwybrau : y | moroedd.

9 Arglwydd | eïn | Ior, || mor ardderchog *yw* Dy | enw : ar yr | höll | ddaear !

## SALM XIX.

4 *Bod y greadigaeth yn dangos gogoniant Duw : a'i air yn dangos Ei ras Ef. Gweddïo am ras.*

Y NEFOEDD sydd yn datgan go|goniant | Duw ; || a'r ffurfafen sydd yn myn|egi | gwaith Ei | ddwylaw Ef.

Dydd i ddydd a | draetha : ym|adrodd, || a nos i | nos a | ddengys : wy|bodaeth.

2 Nid *oes* | iaith : nac ym|adrodd, || *lle* ni chly-|buwyd : eu llef|erydd | hwynt.

Eu llinyn a aeth trwy yr holl ddaear, a'u geiriau hyd eith|afoedd | byd ; || i'r haul y gosododd E|fë | babell | ynddynt.

3 Yr hwn *sydd* fel gwr prïod yn dyfod | allan : o'i ys|tafell ; || *ac* a ymlawenhâ · fel | cawr i | redeg | gyrfa.

O eithaf y nefoedd *y mae* ei fynediad ef allan, a'i amgylchiad · hyd eu heith|afoedd | hwynt ; || ac nid ymgudd | dim : oddi | wrth ei | wres ef.

4 Cyfraith yr Arglwydd *sydd* berffaith, yn | troi yr | enaid ; || tystiolaeth yr Arglwydd *sydd* sicr, ac yn | gwneuthur : y | gwirion : yn | ddoeth.

Deddfau yr Arglwydd *sydd* uniawn, yn llawen|hâu y | galon; || gorchymyn yr Arglwydd *sydd* | bur, : yn gol|euo : y | llygaid.

5 Ofn yr Arglwydd *sydd* lân, yn par|hâu : yn dra-|gywydd ; || barnau yr Arglwydd *ydynt* wirionedd, | cyfiawn | *ydynt* : i | gyd.

Mwy dymunol *ŷnt* nag aur, ïe, nag | aur coeth | lawer ; || melysach hefyd na'r mêl, ac na di|feriad | diliau | mêl.

6 Ynddynt hwy hefyd y rhy|buddir : Dy | was ; || o'u | cadw : *y mae* | gwobr | lawer.

Pwy a | ddeall : *ei* gam|weddau ? || glanhâ fi oddi | wrth *fy* | *meiau* : cudd|iedig.

7 Attal hefyd Dy was oddi wrth *bechodau* rhyfygus; na arglwydd|iaethont | arnaf ; || yna y'm perffeithir, ac y'm glanhêir oddi|wrth an|wiredd | lawer.

Bydded ymadroddion fy ngenau, a myfyrdod fy nghalon, yn gymmeradwy | ger Dy | fron, || O | Arglwydd, : fy | Nghraig a'm | Prynwr.

## SALM XXIII.

5 *Hyder Dafydd ar ras Duw.*

YR ARGLWYDD | — : *yw* fy | Mugail ; || ni bydd | eisieu | är|naf.

2 Efe a wna i mi orwedd · mewn por|feÿdd | gwelltog ; || Efe a'm tywys ger | llaw y | dyfroedd | tawel.

3 Efe a | ddychwel : fy | enaid ; || Efe a'm harwain ar hyd llwybrau cyf|iawnder * : er | mwyn Ei | enw.

4 Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angau, nid | ofnaf | niwed ; || canys *yr wyt* Ti gyd â mi ; Dy wï-|alen : a'th | ffon : a'm cys|urant.

5 Ti a arlwyi ford ger fy mron * y'ngŵydd fy | ngwrthwyn|ebwyr ; || iraist fy mhen âg | olew : fy | phïol : sydd | lawn.

6 Daioni a thrugaredd * yn ddïau a'm canlynant · holl | ddyddiau : fy | mywyd ; || a phreswyliaf yn nhŷ yr | ARGLWYDD | yn dra|gywydd.

## SALM XXIV.

6 *Arglwyddiaeth Duw yn y byd hwn.*

EIDDO yr ARGLWYDD y | ddaear : a'i chyf|lawnder; || y byd, ac | a bres|wylia | ynddo.
Canys Efe a'i | seiliodd : ar y | moroedd, || ac a'i sicr|haodd | ar : yr af|onydd.

2 Pwy a esgyn i | fynydd : yr | ARGLWYDD ? || a phwy a saif yn Ei | lë | sanctaidd | Ef ?
Y glân *ei* ddwylaw, a'r | pur *ei* | galon ; || yr hwn ni ddyrchafodd ei feddwl at | wagedd, : ac ni | thyngodd : i | dwyllo.

3 Efe a dderbyn | fendith : gan yr | ARGLWYDD, || a chyfiawnder gan | DDUW ei | iachawd|wriaeth.
Dyma genhedlaeth y rhai a'i | ceisiant | Ef, || y rhai a geisiant Dy | wyneb | Di, O | Jacob.

4 O byrth, dyrchefwch eich pennau ; ac ymddyrchefwch | ddrysau : tra|gywyddol ; || a Brenhin y go-|goniant : a | ddaw i | mewn.
Pwy *yw* y Brenhin go|goniant | Hwn ? || yr ARGLWYDD nerthol a chadarn, yr ARGLWYDD | cäd|arn mewn | rhyfel.

5 O byrth, dyrchefwch eich pennau ; ac ymddyrchefwch, | ddrysau : tra|gywyddol, || a Brenhin y go- | goniant : a | ddaw i | mewn.
Pwy yw y Brenhin go|goniant | Hwn ? || ARGLWYDD y lluoedd, E|fe · *yw*| Brenhin : y go|goniant.

## SALM XXVII.

7 *Dafydd yn attegu ei ffydd, trwy allu a gras Duw.*

YR ARGLWYDD *yw* fy ngoleuni a'm hiachawdwr-
iaeth; rhag | pwy yr | ofnaf? || yr ARGLWYDD *yw*
nerth fy mywyd; rhag | pẅy | y dy | chrynaf?
Pan nesaodd y rhai drygionus, *sef* fy ngwrthwyn-
ebwyr a'm gelynion, i'm herbyn, i | fwytta : fy |
nghnawd, || hwy a dramgwydd | asant | ac a : syrth- |
iasant.

2 Pe gwersyllai llu i'm herbyn, nid | ofna : fy |
nghalon; || pe cyfodai câd i'm herbyn, yn | hyn : mi
*a* | *fyddaf* : hy | derus.
Un *peth* a ddeisyfais i gan yr ARGLWYDD, | hynny :
a | geisiaf; || *sef* caffael trigo yn nhŷ yr ARGLWYDD *
holl ddyddiau fy mywyd, i edrych ar brydferthwch yr
ARGLWYDD, | ac : i ym | ofyn : yn Ei | deml.

3 Canys yn y dydd blin y'm cuddia o | fewn Ei |
babell; || yn nirgelfa Ei babell y'm cuddia; ar | graig
y'm | cyfyd | i.
Ac yn awr y dyrcha Efe fy mhen * goruwch fy
ngel | ynion : o'm | hamgylch; || am hynny yr aberthaf
yn Ei babell Ef ebyrth gorfoledd; | canaf, : ïe, can-
| molaf : yr | ARGLWYDD.

4 Clyw, O ARGLWYDD, fy llef | erydd : *pan* | lefwyf; ||
trugarhâ hefyd | wrthyf, : a | gwrando | arnaf.
*Pan ddywedaist*, | Ceisiwch : Fy | wyneb; || fy
nghalon a ddywedodd wrthyt, Dy | wyneb : a |
geisiaf, : O | ARGLWYDD.

5 Na chuddia Dy wyneb oddi wrthyf; na fwrw
ymaith Dy | was mewn | sorriant; || fy nghymmorth
fuost; na âd fi, ac na wrthod fi, O | DDUW fy | iach-
awd | wriaeth.
Pan yw fy nhad a'm | mam : yn fy | ngwrthod; ||
yr | ÄR | GLWYDD a'm | derbyn.

6 Dysg i mi Dy ffordd, ARGLWYDD, ac arwain fi ar hyd | llwybrau : un|iondeb, || o | herwydd | fy ngel-|ynion.

Na ddyro fi i fynu i e|wyllys : fy ngel|ynion; || canys gau dystion, a *rhai* a adroddant drawsder, a | gyfod|asant : i'm | herbyn.

7 *Diffyg*|*iäs*|*wn*, || pe na chredaswn weled daioni yr | ARGLWYDD : yn | nhir : y rhai | byw.

Disgwyl wrth yr ARGLWYDD ; ymwrola, ac Efe a | nertha : dy | galon ; || disgwyl, | meddaf, : wrth yr | ÄR|GLWYDD.

## SALM XXIX.

8 *Annog tywysogion i roi gogoniant i Dduw: o herwydd Ei fawr allu, a'i amddiffyn i'w bobl.*

MOESWCH i'r ARGLWYDD, chwi | *feibion* | cedyrn; || moeswch i'r | ARGLWYDD : o|goniant : a | nerth.

2 Moeswch i'r ARGLWYDD o|goniant : Ei | enw ; || addolwch yr ARGLWYDD ym mhryd|ferthwch | *Ei* sanct|eiddrwydd.

3 Llef yr ARGLWYDD *sydd* | ar y | dyfroedd ; || DUW y gogoniant a darana ; yr ARGLWYDD *sydd* | ar y | dyfroedd | mawrion.

4 Llef yr ARGLWYDD | *sydd* mewn | grym ; || llef yr | ARGLWYDD : *sydd* | mewn pryd|ferthwch.

5 Llef yr ARGLWYDD *sydd* yn | dryllio : y | cedr-wydd ; || ïe, dryllia yr | ARGLWYDD | gedrwydd | Libanus.

6 Llef | — : yr | ARGLWYDD || a was|gara : y | fflam-mau | tân.

7 Llef yr ARGLWYDD a wna i'r an|ialwch | grynu; || yr ARGLWYDD a wna i an|ialwch | Cades | grynu.

8 Llef yr ARGLWYDD a wna i'r ewigod lydnu, ac a ddy|noetha : y | coedydd ; || ac yn Ei deml pawb a | draetha : *Ei* o|goniant | *Ef*.

9 Yr Arglwydd sydd yn eistedd | ar : y llif | eiriant; || ïe, yr Arglwydd a | eis : tedd · yn | Frenhin : yn dra- | gywydd.

10 Yr Arglwydd a ddyry | nerth i'w | bobl ; || yr Arglwydd a fen | dithia : Ei | bobl : â thang | nefedd.

## SALM XXXIII.

9 *Moliannu Duw, am Ei ddaioni.*

YMLAWENHEWCH, y rhai | cyfiawn,: yn yr | Arglwydd; || i'r rhai | uniawn | gweddus:yw | mawl.

Molwch yr | Arglwydd : â'r | delyn ; || cenwch | iddo : â'r | nabl : *ac â'r* | degtant.

2 Cenwch iddo | ganiad | newydd ; || cenwch yn | gerddgar, | yn son | iarus.

Canys uniawn *yw* | gair yr | Arglwydd ; || a'i holl weith | redoedd : *a* | *wnaed* : mewn ffydd | londeb.

3 Efe a gâr gyf | iawnder : a | barn ; || o drugaredd yr Arglwydd y | mae y | ddaear : yn | gyflawn.

Trwy air yr Arglwydd y | gwnaethpwyd : y | nefoedd ; || a'u holl luoedd hwy trwy | Yspryd : Ei | enau | Ef.

4 Casglu y mae Efe ddyfroedd y mor y | nghyd : megis | pentwr ; || y mae yn rhoddi y dyfn | deroedd | mewn try | sorau.

Ofned yr holl | ddaear : yr | Arglwydd ; || holl drigolion y | byd ar | swydant | Ef.

5 Canys Efe a ddywedodd, ac | *felly* : y | bu ; || Efe a orchym | ynodd, : a | hynny : a | safodd.

Yr Arglwydd sydd yn diddymmu | cynghor : y cen | hedloedd ; || y mae Efe yn di | ddymmu : am | can- ion | pobloedd.

6 Cynghor yr Arglwydd a | saif : yn dra | gywydd; || meddyliau Ei galon o gen | hedlaeth | i gen | hedlaeth.

Gwŷn ei byd y genedl * *y mae* yr Arglwydd yn | Ddüw | iddi ; || *a*'r bobl a ddetholodd Efe * yn eti | feddiaeth | iddo : Ei | Hun.

7 Wele, *y mae* llygad yr ARGLWYDD * ar y rhai
a'i | hofnant | Ef, || *sef* ar y rhai a o|beithiant | yn :
Ei dru|garedd Ef.
Ein henaid sydd yn | disgwyl : am yr | ARGLWYDD ; ||
E|fe : *yw* ein | porth a'n | tarian.

8 Canys ynddo Ef y llawen|ycha : ein | calon, || o
herwydd i ni obeithio yn Ei | enw | sanctaidd | Ef.
Bydded Dy drugaredd, ARGLWYDD, | arnom | ni, ||
megis yr | ydym : yn ym|ddiried | ynot.

## SALM XXXIV.

10 *Y Salmydd yn clodfori Duw, ac yn annog ereill i wneuthur hynny, wrth a brofasai efe. Rhagorfraint y cyfiawn.*

BENDITHIAF yr | ARGLWYDD : bob | amser ; || Ei
foliant *fydd* | yn fy | ngenau : yn | wastad.
Yn yr ARGLWYDD y gorfol|edda : fy | enaid ; || y
rhai gostyngedig a glywant *hyn*, | ac a | lawen|ychant.

2 Mawrygwch yr | ARGLWYDD | gyd â mi ; || a
chyd-ddyr|chafwn : Ei | enw | Ef.
Ceisiais yr ARGLWYDD, ac E|fe : a'm gwran-|
dawodd ; || gwaredodd fi | hefyd : o'm | höll | ofn.

3 Edrychasant arno, a | hwy : a o|leuwyd ; || a'u
hwy|nebau : ni | chywil|yddiwyd.
Y tlawd hwn a lefodd, a'r | ARGLWYDD : a'*i* | clybu, ||
ac a'i gwar|edodd : o'i | holl dra|llodau.

4 Angel yr ARGLWYDD a gastella * o amgylch y rhai
a'i | hofnant | Ef, || ac | a'u | gwared | hwynt.
Profwch, a gwelwch mor | dda : *yw* yr | ARGLWYDD ; ||
gwŷn *ei* fyd y gwr a | ymddir|iedo | ynddo.

5 Llygaid yr ARGLWYDD *sydd* | ar y | cyfiawn ; ||
a'i glustiau *sydd yn a|gored* : i'w | llefain | hwynt.
Wyneb yr ARGLWYDD *sydd* yn erbyn y | rhai : a
wna | ddrwg, || i dorri eu | coffa : oddi | ar y | ddaear.

5 Canys mewn llawenydd yr ewch allan, ac mewn | hedd : y'ch ar | weinir ; || y mynyddoedd a'r bryniau a floeddiant ganu o'ch blaen, a holl goed y | maes a | gurant | ddwylaw.

Yn lle drain y cyfyd ffynnidwydd, yn lle mïeri y | cyfyd | myrtwydd ;|| a *hyn* fydd i'r ARGLWYDD yn enw, ac yn arwydd tragywyddol *yr* | *hwn* ni | thorrir | ymaith.

## GALARNAD III.

**43** *Trugareddau Duw yn cadarnhau ein gobaith.*

TRUGAREDDAU yr ARGLWYDD *yw* na | ddarfu: am | danom ni; || o herwydd ni phalla Ei | dostur- | iaethau | Ef.

Bob bore *y* | *deuant* : o | newydd ; || mawr | *yw* : Dy ffydd | lön | deb.

2 Yr ARGLWYDD *yw* fy rhan i, | medd fy | enaid ; || am | hynny : y go | beithiaf | ynddo.

Daionus *yw* yr ARGLWYDD i'r rhai a ddis | gwyliant | wrtho, || *ac* i'r | enaid : a'i | cëis | io.

3 Da *yw* gobeithio a disgwyl yn ddistaw am iachawd | wriaeth : yr | ARGLWYDD. || Da *yw* i wr ddwyn *yr* | iäu | yn ei : ieu | engctid.

*Efe* a eistedd ei hunan, ac a daw â sôn ; am iddo *ei* | dwyn *hi* | arno. || Efe a ddyry ei enau yn y llwch, *i* | *edrych* | a oes | obaith.

4 Efe a ddyry *ei* gern i'r | hwn : a'i tar | awo ; || efe a | lenwir | â gwar | adwydd.

Oblegid nid yn dragywydd y | gwrthyd : yr | ARGLWYDD ; || Ond er iddo gystuddio, etto Efe a dosturia, yn ol | amlder : Ei | drugar | eddau.

5 Canys nid o'i fodd y blina Efe, nac y cys | tuddia, : blant | dynion ; || I fathru holl garcharorion y | ddaear | dan Ei | draed.

I ŵyro barn gwr o flaen | wyneb : y Gor | uchaf. || Nid yw yr ARGLWYDD yn gweled *yn dda* wneuthur | cam · â | gwr : yn ei | fatter.

6 Pwy a ddywed y bydd dim, heb i'r | Arglwydd : *ei* or|chymyn? || Oni ddaw o enau y Gor|uchaf | ddrwg a | da?

Paham y grwgnach dyn byw, gwr am gospedigaeth ei bechod? Ceisiwn a chwiliwn ein ffyrdd, a dy-| chwelwn : at yr | Arglwydd. || Dyrchafwn ein calonnau a'*n* | dwylaw : at | Dduw : yn y | nefoedd.

## HABACUC III.

44 *Y prophwyd yn crynu gan fawrhydi Duw. Hyder ei ffydd ef.*

CLYWAIS, O Arglwydd, Dy | air, *ac* | ofnais; || O Arglwydd, bywhâ Dy waith y'|nghanol | y blyn|yddoedd;

Pâr wybod y'|nghanol : y blyn|yddoedd; || yn *Dy* lid | cofia : dru|gär|edd.

2 Duw a | ddaeth o | Teman, || a'r | Sanctaidd : o | fynydd | Paran.

Ei ogoniant a | dôdd y | nefoedd, || a'r | ddaear : a | lanwyd : o'i | fawl.

3 A'i lewyrch oedd | fel gol|euni; || *yr oedd* cyrn iddo *yn* | *dyfod* | allan : o'i | law;

Ac yno *yr oedd* | cuddiad : Ei | gryfder. || Aeth yr haint o'i flaen Ef, ac aeth marwor tanllyd | allan | wrth Ei | draed Ef.

4 Safodd, a mes|urodd : y | ddaear; || edrychodd, a gwas|garodd | y cen|hedloedd;

Y mynyddoedd tragywyddol hefyd a ddrylliwyd, a'r bryniau | oesol : a grym|masant; || llwybrau tragy- | wÿdd|ol *sydd* | iddo.

5 Y mynyddoedd a'th welsant, | *ac* a : gryn|asant; || y llif|eiriant | dwfr : a aeth | heibio;

Y dyfnder a | wnäeth | dwrf; || cyfododd | *hefyd* : ei | ddwylaw : yn | uchel.

6 Yr haul *a'r* lleuad a safodd | yn eu : pres | wylfa ; || wrth oleuad Dy saethau yr aethant, *ac* wrth | lewyrch : Dy | waywffon | ddisglaer.

Aethost allan er iachawdwriaeth i'th bobl, er iachawdwriaeth yng | hyd : â'th en | neiniog ; || torraist *y* pen allan o dŷ yr anwir, gan ddinoethi y | sylfaen | hyd y | gwddf.

7 Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac na *byddo* | ffrwyth : ar y | gwinwydd ; || gwaith yr olew-wydd a balla, a'r | meusydd : ni | roddant | fwyd ;

Torrir ymaith y praidd o'r gorlan, ac ni *bydd* | eidion : yn eu | beudai ; || Etto mi a lawenychaf yn yr ARGLWYDD ; byddaf hyfryd yn | NUW fy | iachawdwriaeth.

## 1 CORINTHIAID XV.

**45** *Yr Adgyfodiad trwy Grist.*

SALM-DÔN 1.

EITHR yn awr CRIST a gyfodwyd oddi | wrth y | meirw, || *ac* a wnaed yn | flaen-ffrwyth : y | rhai : a hun | asant.

Canys gan *fod* mar | wolaeth : trwy | ddyn, || trwy ddyn hefyd *y* | *mae* adgy | fodiad : y | meirw.

2 Oblegid megis yn Adda y mae | pawb yn | meirw, || felly hefyd yng | NGHRIST : y byw | hëir | pawb.

Eithr pob un yn ei | drefn ei | hun ; || y blaen-ffrwyth *yw* CRIST ; wedi hynny y rhai *ydynt* eiddo CRIST | yn : Ei ddy | fodiad | Ef.

3 Yna *y* | *bydd* y | diwedd, || wedi y rhoddo Efe y | deyrnas : i | DDUW a'r | Tad ;

Wedi iddo ddilëu pob | pendef | igaeth, || a | phob awd | urdod : a | nerth.

4 Canys rhaid | iddo : deyrn | asu, || hyd oni osodo Ei holl el | ynion | dan Ei | draed.

Y gelyn diweddaf | a ddin | ystrir || *yw* | — : yr | angau : A | men.

SALM-DÔN 2.

5 Wele, yr wyf yn dywedyd i | chwi ddir | gelwch ; || Ni | hunwn | nï | oll,

Eithr ni a newidir | oll · mewn | moment, || ar darawiad llygad, wrth yr | udgorn : diw | ëdd | af ;

6 Canys yr | udgorn : a | gân, || a'r meirw a gyfodir yn anllygredig, a | ninnau | a new | idir.

O herwydd rhaid i'r llygradwy hwn wisgo | an : llygred | igaeth, || ac i'r marwol hwn | wisgo | anfar | woldeb.

7 A phan ddarffo i'r llyg | radwy | hwn || wisgo | än | llygred | igaeth,

Ac i'r | marwol | hwn || wisgo | anfar | wöl | deb,

8 Yna y bydd yr ymadrodd a | ysgrif | enwyd, || Angau a | lyngcwyd : mewn | buddug | oliaeth.

O angau, pa | le : *mae* dy | golyn ? || O uffern, pa | le : *mae* dy | fuddug | oliaeth ?

9 Colyn angau *yw* | pëch | od, || a grym | pechod | *yw* y | gyfraith.

Ond i | DDUW *y* : *byddo* y | dïolch, || yr Hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein | HARGLWYDD | IESU | GRIST.

SALM-DÔN 1.

10 Am hynny, fy | mrodyr | anwyl, || byddwch sicr, a dïymmod, *a* helaethion y'ngwaith yr | ARGLWYDD | yn was | tadol ;

A | chwi yn | gwybod || nad yw eich llafur chwi yn ofer · yn yr | ARGLWYDD. | Ä | men.

## DATGUDDIAD I. (5—8, 18); XIV. (13); VII. (14—17).

## 46

*Mawl, a dedwyddwch y saint.*

IDDO Ef yr Hwn a'n | carodd | ni, || ac a'n golchodd ni oddi wrth ein pechodau | yn Ei | waed Ei | Hun,

Ac a'n gwnaeth ni yn frenhinoedd ac yn offeiriaid i | Dduw a'i | Dad Ef; || iddo Ef *y byddo* y gogoniant a'r | gallu | yn oes | oesoedd.

2 Wele, y mae Efe yn dyfod gyd â'r cymmylau; a phob llygad a'i gwel Ef, ïe, y rhai a'i gwan|asant | Ef; || a holl lwythau y ddaear a alarant o'i | blegid: Ef. | Felly, : A|men.

Mi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, | medd yr | Arglwydd, || yr Hwn sydd, a'r Hwn oedd, a'r Hwn sydd i | ddyfod, : yr | Hollall|uog.

3 *A*'r Hwn *wyf* fyw, ac | a fûm | farw; || ac wele, byw ydwyf yn oes oesoedd, Amen; ac y mae gennyf agoriadau | uffern | a mar|wolaeth.

Gwŷn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Yspryd, fel y gorphwysont oddi | wrth eu | llafur; || a'u gweithredoedd sydd | yn eu | canlyn | hwynt.

4 Y rhai hyn yw y rhai a ddaethant allan o'r | cystudd | mawr, || ac a olchasant eu gynau, ac a'u can|nasant: hwy y'|ngwaed yr | Oen.

O herwydd hynny y maent ger bron gorsedd-faingc Duw, ac yn Ei wasanaethu Ef ddydd a | nos : yn Ei | deml; || a'r Hwn sydd yn eistedd · ar yr or|sedd-faingc : a | drig : yn eu | plith hwynt.

5 Ni fydd arnynt na newyn mwyach, na | syched | mwyach; || ac ni ddisgyn arnynt na'r | häul, | na dim | gwres.

Oblegid yr Oen, yr Hwn sydd y'nghanol yr orsedd-faingc, a'u bugeilia hwynt, ac a'u harwain hwynt at ffynhonnau | bywiol : o | ddyfroedd; || a Duw a sych ymaith bob deigr oddi | wrth eu | llygaid | hwynt.

# HYMNAU.

## AM DDUW.

**1** (1) *Mawl i'r Drindod.*

11. 12. 12. 10.—Nicea.

1 SANCTAIDD, sanctaidd, sanctaidd, Dduw Holl-
alluog !
Gyda gwawr y boreu dyrchafwn fawl i Ti ;
Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd, cadarn a thrugarog !
Trindod fendigaid yw ein Harglwydd ni !

2 Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd !—nef waredigion
Fwriant eu coronau yn wylaidd wrth Dy droed ;
Plygu mae seraphiaid, mewn addoliad ffyddlon,
O flaen eu Crëwr sydd yr un erioed.

3 Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd ! cwmwl a'th gyl-
chyna,
Gweled Dy ogoniant nis gall anianol un ;
Unig Sanctaidd ydwyt, Dwyfol bur Jehofa,
Perffaith mewn gallu, cariad, wyt Dy Hun.

4 Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd, Dduw Hollalluog !
Dyrcha nef a daear fawl i Dy enw Di,
Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd, cadarn a thrugarog !
Trindod fendigaid yw ein Harglwydd ni !

**2** (2) *Cadernid cyfammod Duw.* HEBER, *c.* E. R.

10au.—Clod. Navarre. Freyburg.

1 CYFAMMOD hedd, cyfammod cadarn Duw,
Ni syfl o'i le, nid ïe a nage yw :
Cyfammod gwir, ni chyfnewidir chwaith ;
Er maint eu pla, daw tyrfa i ben eu taith.

2 Cyfammod rhâd, o drefniad Un yn Dri,
Hen air y llŵ a droes yn elw i ni :
Mae'n ddigon cry' i'n c'odi 'fyny'n fyw ;
Ei rym o hyd yw holl gadernid Duw.

3 Cyfammod cry'—pwy ato ddyry ddim ?
'D eill byd na bedd mo dòri ei ryfedd rym :
Di-ysgog yw hen arfaeth Duw o hyd ;
Nid siglo mae, fel gweinion bethau'r byd.

4 'D oes bwlch yn hwn—fel modrwy'n grwn y mae ;
A'i glwm mor glòs, heb os ac oni b'ai :
Nid all y plant ddim gwerthu eu meddiant mwy ;
Mae gan Dduw gylch, a'u deil, o'u hamgylch hwy.

5 Er llithro i'r llaid, a llygru defaid Duw,
Cyfammod sy i'w c'odi 'fyny'n fyw,
A golchi i gyd eu holl aflendid hwy,
A'u dwyn o'r bedd heb ddim anwiredd mwy. E. J.

## 3 (3) *Arfaeth Duw.*

10au.—Navarre. Clod. Freyburg.

1 CYN llunio'r byd, cyn lledu'r nefoedd wèn,
Cyn gosod haul, na lloer, na sêr uwch ben,
Fe drefnwyd ffordd yn nghyngor Tri yn Un
I achub gwael, golledig, euog ddyn.

2 Trysorwyd grâs, ryw annherfynol stôr,
Yn Iesu Grist cyn rhoddi deddf i'r môr ;
A rhedeg wnaeth bendithion arfaeth ddrud,
Fel afon gref lifeiriol dros y byd.

3 Mae'r udgorn mawr yn seinio'n awr i ni
Ollyngdod llawn trwy'r Iawn ar Galfari :
Mawl yn mhob iaith trwy'r ddaear faith a fydd,
Am angeu'r groes, a'r gwaed a'n rhoes yn rhydd. P. J.

## 4 (26) *Duw y Creawdwr.*

M. H.—Mamre. Winchester.

1 CLODFORWCH Frenin nefoedd fry ;
'Fe'n Arglwydd yr arglwyddi sy ;
Creawdwr bywyd pawb, a'u bôd—
'Fe sydd, 'Fe fydd, 'Fe oedd erioed.

2 Creawdwr y ffurfafen fawr
Sy'n hongian uwch y ddaear lawr,
Yr haul, y lloer, y sêr, y sy
Yn gwibio'n entrych nefoedd fry.

3 'Fe sy'n berchenog ar y stôr,
Mewn awyr, daear, dŵr, a môr ;

Yr holl gre'duriaid mân, a'u hil
Sy'n eiddo Ef ar fryniau fil.

4 Dàl sylw craff mae ar bob un,
Gan chwilio dyfnder calon dyn;
'D oes neb trwy'r grëadigaeth fawr
Nas gŵyr ei feddwl ef bob awr.

5 Myn barch, ac idd Ei enw glôd,
Oddi wrth bob gweithred sydd yn bôd;
Ei fawr ogoniant ddŵg i ben,
O uffern ac o'r nefoedd wèn. W.

## 5 (74) *Digonolrwydd Duw.*

M. H.—Angels' Hymn. Ombersley.

1 'NAWR boddlawn wyf, can's digon yw
Dy fod yn eiddo i mi, fy Nuw;
Yn t'wŷnu yn Dy wyneb-pryd
Mae mwy na holl drysorau'r byd.

2 Dy gariad sy arnaf eisieu o hyd,
Dy gariad wy'n ddymuno i gyd;
Fy mwyd a'm dïod oll yn wir,
A'm hiechyd, yw Dy gariad pur.

3 Y nef ei hun yw'r man b'ost Ti,
A lle na b'ost yw uffern ddu:
Am hyn yn holl dröadau'r llawr
Boed f'enaid gyda'm Iesu mawr.

4 Pan allwyf gredu, ond yn wàn,
Dy fod Dy Hunan imi'n rhan,
Mae hyn yn troi fy mhoen o'r bron
Yn rhyw lawenydd tan fy mron:

5 Pan b'wyf yn wàn, gwna hyn fi'n gryf,
A phan b'wy'n ofni gwna fi'n hyf;
Pan byddwy'n rhwym, fe'm gwna yn rhydd,
'Fath rinwedd yn Dy gariad sydd! W.

## 6 (34) *Golwg ar Dduw.*

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 O N'ALLWN g'odi'm henaid gwàn
I'r nefol baradwysaidd fàn!
Lle cawn i wel'd mewn munyd awr
Fwy na thrysorau'r ddaear fawr.

2 Mae golwg arnat Ti, fy Nuw,
Yn drysor ddigon tra f'wyf byw;
Mae golwg arnat Ti Dy Hun
Yn dyweyd mor salw ydyw dyn.

3 Pan gaffwyf wel'd Dy wyneb-pryd
Mae'n darfod freniniaethau'r byd;
Pob enw dàn yr awyr lâs
Sy'n myn'd yn ddim yn ngoleu'th râs.

4 O! Frenin mawr, tragwyddol, cûn,
Wyt oll yn oll, wyt oll yn un;
Rho imi wel'd Dy hyfryd wedd,
Ni cheisiaf fwy tu yma i'r bedd. W.

## 7 (62) *Duw yn cynnal.*

M. H.—Melcombe. Eisenach.

1 DUW yw fy Nhad, boed iddo'r clôd
Am iddo 'ngharu cyn fy môd;
Cryf yw fy Nghyfaill i, a'm Pen,
A'm gwlad artrefol sy uwch y nen.

2 Fry mae fy nhrysor pur di-lŷth,
A'r goron gâf fi wisgo byth;
Fe sugnodd nefoedd Duw fy mryd,
Nes wyf yn ddïeithr yn y byd.

3 Myrdd o fy mrodyr anwyl sy
Yn gorphwys yn y nefoedd fry;
'Nghyfeillion goreu sydd mewn hedd,
Yn canu'r ochr draw i'r bedd.

4 Hyd yma'm deliaist drwy Dy râs,
Duw! dàl fi eto o hyn i maes;
Cryfhâ fy ysbryd ar fy nhaith,
I lanio dros ddyfnderoedd maith.

5 Mi ddringais greigydd er yn wàn;
Rhyfeddu'r wyf sut de's i'r làn;
Tebygol fod fy mhwys i fry,
Yn ddirgel ar f' Anwylyd cu. W.

## 8 (103) *Neb ond Duw.*

M. H.—Babilon. Menai.

1 RHO imi wel'd mai Ti yw'm hedd,
A llwyr ddifyru ar Dy wedd,

A chym'ryd D'eiriau gwerthfawr drud
Yn unig bleser yn y byd.

2 Gâd i mi gael Dy Ysbryd pur
Yn gyfaill yn yr anial dir ;
Fel byddo Dy holl gyfraith lym
Yn felus ac yn hyfryd im'.

3 Pan welych fi yn crymu 'mhen
At ryw wrthrychau îs y nen,
O ! dangos im' na thâl yr un
I'w garu byth ond Ti Dy Hun !

4 O ! cwyd fi o'r pydewau i'r làn,
A gwna fi'n gadarn pan b'wy'n wàn ;
A dangos i'r annuwiol ryw
Na feddaf gyfaill ond fy Nuw.

5 Na fydded i'r llifeiriant mawr
I soddi'm henaid gwàn i lawr ;
Ac na chaed cystudd byth fy nhrin
Heb Ei gyfeillach Ef Ei Hun. W.

## 9 (123) *Nerth mewn cymdeithas â Duw.*

M. H.—Golgotha. Exeter.

1 TRA yn Dy gwmni, f' Arglwydd mawr,
'R wyf wrth fy modd bob munyd awr,
A blino 'r wyf, fy Nuw, o hyd,
Yn nwndwr ac yn nhwrf y byd.

2 Iach wyf pan byddwyf yn Dy ŵydd,
A'm henaid yn Dy foli'n rhwydd ;
Tra yma'n byw, gwna Di fy lle
Yn agos iawn at borth y ne'.

3 A dyro im' Dy gwmni o hyd
Tra rhaid im' aros yn y byd ;
Diddana fi mewn anial dir
Â ffrydiau o ddiddanwch pur.

4 Gâd imi wel'd mai Ti yw'm rhan,
Gâd imi'th ganfod yn mhob màn,
Gâd imi'n wastad blygu i lawr
I'th lân ewyllys bob yr awr. W

## 10 (124) Rhan II.

M. H.—Golgotha. Exeter.

1 DAL fi, fy Nuw, dàl fi i'r làn,
'N enwedig dàl fi lle 'r wy'n wàn;
Dàl fi yn gryf nes myn'd i maes
O'r byd sy'n llawn o bechod câs.

2 Gwna fi'n gyfoethog yn mhob dawn;
Gwna fi fel halen peraidd iawn;
Gwna fi fel seren oleu, wiw,
'N disgleirio yn y byd 'r wy'n byw.

3 Dysg fi, fy Nuw, dysg fi pa fodd;
I ddweyd a gwneuthur wrth Dy fodd;
Dysg fi ryfela â'r ddraig heb goll,
A dysg fi i goncro 'mhechod oll.

4 Tra caffwyf rodio'r ddaear hon,
Rho'th hedd fel afon dan fy mron;
Ac yn y diwedd, moes Dy law
I'm dwyn i mewn i'r nefoedd draw. W.

## 11 (31) *Duw yn unig.*

M. H.—Winchester. Mamre.

1 YMAN b'ost Ti, fy Arglwydd mawr,
Yn rho'i Dy nefol hedd i lawr,
Mae holl hapusrwydd maith y byd,
A'r nef ei hunan yno i gyd.

2 Nid oes na haul, na sêr, na lloer,
Na daear fawr, a'i holl ystôr,
Na brawd, na chyfaill, da na dyn,
A'm boddia hebot Ti Dy Hun.

3 'D yw'r gair "maddeuant" imi ddim,
Nid oes mewn gweddi ronyn grym,
A llais heb sylwedd y'nt i gyd,
Heb imi wel'd Dy wyneb-pryd.

4 Na soniwch am un pleser mawr,
Na dim gogoniant ar y llawr;
Nid oes gogoniant o un rhyw,
Na phleser arall ond fy Nuw.

5 Pan byddo'n cuddio Ei wyneb cu,
'Beth wna teganau'r byd i mi?

Rhith a breuddwydion, dïau yw
Pob peth a welir ond fy Nuw.

6 Os collaf wedd Ei wyneb-pryd,
'D oes dim wna iawn o fewn i'r byd ;
'D oes dim yn bôd o'r ddae'r i'r nen
A ddŵg y golled hon i ben. W.

## 12 (48) *Cwbl yr enaid yn Nghrist.*

M. H.—Samson. Lledrod.

1 TYDI, fy Nuw, Tydi i gyd,
Yw'r cwbl feddaf yn y byd ;
Yr wyt Ti'n well
Na'r India bell a'i pherlau drud.

2 O fewn i'r anial dyrys, maith,
Yn disgwyl hyfryd ben fy nhaith,
'R wy'n gwel'd yn wir
Yr oriau'n hir heb Dy fwynhau.

3 Yn nyfnder pob rhyw drallod, mae
Un radd o'th wedd yn llawenhau ;
Diddanwch sy
'N Dy wyneb cu sydd fwy na'r byd.

4 Mae'r funyd leiaf fach o'r awr
I garu fy Iachawdwr mawr,
Yn well ryw ddydd
Na'r cwbl sydd o dan yr haul.

5 Aed heibio'm dyddiau bob yr un
Wrth garu'm Crëwr mawr yn ddyn ;
Fy enaid cân,
I'th Brynwr glân, a dos i'r bedd. W.

## 13 (125) *Duw yn maddeu.*

8au. 6ll.—St. Catherine. Veni Cito.

1 DUW mawr y rhyfeddodau maith !
Rhyfeddol yw pob rhan o'th waith ;
Ond dwyfol râs, mwy rhyfedd yw
Na 'th holl weithredoedd o bob rhyw !
Pa Dduw sy'n maddeu, fel Tydi,
Yn rhâd ein holl bechodau ni !

2 O ! maddeu'r holl gamweddau mawr,
Ac arbed euog lwch y llawr ;

Tydi yn unig fedd yr hawl,
Ac ni chaiff arall ran o'r mawl.
Pa Dduw sy'n maddeu, fel Tydi,
Yn rhâd ein holl bechodau ni!

3 Rhyfeddol yw 'th drugaredd hael,
A'th gariad pur i'n natur wael,
Yn agor ffynnon i'n glanhau,
A'n golchi 'n bur oddi wrth ein bai.
Pa Dduw sy'n maddeu, fel Tydi,
Yn rhâd ein holl bechodau ni!

4 O! boed i'th râs anfeidrol gwiw,
A gwyrthiau 'th gariad mawr, O Dduw!
Orlenwi 'r ddaear faith â'th glôd,
Hyd nefoedd fry, tra 'r byd yn bôd!
Pa Dduw sy'n maddeu, fel Tydi,
Yn rhâd ein holl bechodau ni!

DR. S. DAVIES, *c.* JOS. HAR.

## 14 (137) Salm xlvi. 1—5.

8. 8. 8.—Nashville. St. Paul's.

1 DUW yw fy nerth a'm noddfa lawn;
Mewn cyfyngderau creulawn iawn,
Pan alwom arno, mae ger llaw;
Ped âi'r mynyddoedd mwya' i'r môr,
Pe chwalai'r ddaear fawr a'i stôr,
Nid ofnai'm henaid i ddim braw.

2 A phe dôi'r moroedd dros y byd
Yn genllif garw coch i gyd,
Nes soddi'r bryniau fel o'r blaen;
Mae afon bur i lawenhau
Â'i ffrydiau ddinas Duw'n ddi-drai,
Preswylfa Ei saint, a'i babell lân.

3 A Duw sydd yno yn eu plith,
Ni ysgogir un o honynt byth;
Fe'u cymmorth hwy yn foreu iawn:
Y boreu byddo mwy na mwy
O bob gwasgfeuon arnynt hwy,
Ceir gwel'd Ei addewid Ef yn llawn. W.

## 15 (194) SALM VIII. 1, 3, 4, 6, 9.

M. S.—Trallwm. Oldenburg.

1 O ARGLWYDD DDUW! ein Iôr, a'n nerth,
Mor brydferth wyt trwy'r hollfyd!
Dy enw a'th barch a ro'ist uwch ben
Daear ac wybren hefyd.

2 Wrth edrych ar y nefoedd faith,
A gweled gwaith Dy fysedd,
Y lloer, y sêr, a threfn y rhôd
A'u gosod mor gyfannedd.

3 Pa beth yw dyn it' i'w goffau,
O ddoniau ac anwylfraint?
A pheth yw mab dyn yr un wedd
Lle rho'i ymgeledd cymmaint?

4 Ar waith Dy ddwylaw îs y nef
Y gwnaethost ef yn benaeth,
Gan osod pobpeth dan ei draed,
Iddo y gwnaed llywodraeth.

5 O Arglwydd Dduw! ein Iôr a'n nerth,
Mor brydferth wyt trwy'r hollfyd!
Dy enw a'th barch a ro'ist uwch ben
Daear ac wybren hefyd. E. P.

## 16 (184) SALM IX. 1, 2, 9, 10.

M. S.—Dyfrdwy. Sabbath.

1 CLODFORAF fi fy Arglwydd Iôn,
O'm calon ac yn hollawl;
Ei ryfeddodau rho'f ar lêd,
Fy nyled yw eu canmawl.

2 Mi fyddaf lawen yn Dy glôd,
Ac ynod gorfoleddaf;
O Dduw! i'th enw canaf glôd,
Wyt hynod, y Goruchaf.

3 Gwna'r Arglwydd hefyd hyn wrth raid
Trueiniaid fe'u hamddiffyn;
A noddfa fydd i'r rhai'n mewn pryd,
Pan f'o caledfyd arnyn'.

4 A phawb a'th edwyn, rho'nt eu crêd,
A'u holl ymddiried arnat;

Can's ni adewaist, Arglwydd, neb
A drôdd ei wyneb atat. E. P.

17 (204) SALM XXVIII. 6, 7.

M. S.—Silesia. Mary

1 BENDIGAID fyddo'r Arglwydd nef,
Fe glybu lef fy ngweddi ;
Yr Arglwydd yw fy nerth a'm rhan,
A'm tarian, a'm daioni.

2 Mi ymddiriedais iddo am borth,
A chefais gymmorth ganddo,
O'm calon minnau, drwy fawr chwant,
A ganaf foliant iddo. E. P.

18 (192) SALM XLVI. 1, 7.

M. S.—Sabbath. Dyfrdwy.

1 EIN nerth a'n noddfa yw Duw hael,
Mae help i'w gael mewn cyfwng :
Ped âi'r mynyddoedd oll i'r môr,
Nid ofnaf f'angor deilwng.

2 Y mae yr Arglwydd gyda ni,
Iôr anifeirif luoedd ;
Y mae Duw Iago yn ein plaid,
Gŷr help wrth raid o'r nefoedd. E. P.

19 (261) SALM LVII. 1, 5.

M. S.—Dymuniad. Adelaide.

1 DY rās, dy nawdd, fy Nuw, im' dôd,
Sef ynod ymddiriedaf ;
Nes myned heibio'r aflwydd hyn,
Dan D'edyn ymgysgodaf.

2 Ymddyrcha, Dduw, y nef uwch law,
Oddi yno daw D'arwyddion ;
A bydded Dy ogoniant ar
Y ddaear a'i thrigolion. E. P.

20 (176) SALM LXVIII. 19, 28, 32, 35.

M. S.—Llangranog. Langdale.

1 BENDIGAID fyth f'o'r Arglwydd mau,
Am ddoniau Ei ddaioni,
A'i iachawdwriaeth ini 'n llwyth,
O bêr ffrwyth Ei haelioni.

2 Dy Dduw a drefnodd iti nerth,
A'i law sydd brydferth geidwad :
Duw, eto cadarnhâ yn faith
O'n mewn ni waith Dy gariad.

3 Chwi, holl deyrnasoedd daear lawr,
I Dduw mawr cenwch foliant ;
Cydgenwch iddo glôd yn rhwydd,
Sef Arglwydd y gogoniant. E. P.

4 Ofnadwy ydwyt Ti a'th arch,
Teilwng o barch y bobloedd ;
Duw Israel a rŷdd nerth wrth raid,
Bendigaid yn oes oesoedd. P. W.

## 21 (242) Salm lxxi. 1, 2, 3, 9, 14.

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 MI ymddiriedais ynot, Nêr,
Na'm gwaradwydder bythoedd ;
Duw, o'th gyfiawnder gwared fi,
A chlyw fy nghri hyd nefoedd.

2 Duw, bydd yn graig o nerth i mi,
I gyrchu ati'n wastad ;
A phâr fy nghadw i yn well,
Ti yw fy nghastell caead.

3 Nac esgeulusa fi a'm braint
Yn amser henaint egwan ;
Er pallu'm nerth, na wrthod fi,
Duw, edrych Di ar f'oedran.

4 Fy ngobaith innau ddeil dros byth,
Yn ddilyth a safadwy ;
Ymddiried ynot, Dduw, a wnaf,
Ac a'th foliannaf fwyfwy. E. P.

## 22 (250) Salm lxxxv. 1, 2, 5, 6, 7, 9.

M. S.—Saxony. Arenig.

1 DA wyt i'th dir, Iehofah Nêr,
Dychwelaist gaethder Iago ;
Maddeuaist drawsedd Dy bobl Di,
Mae'u camwedd wedi ei guddio.

2 Ai byth y digi wrthym ni ?
A sòri Di hyd ddiwedd ?

A saif Dy lîd o oes i oes?
  Duw! gwrando, moes drugaredd.

3 Paham na throi Di a'n bywhau,
  A llawenhau yr eiddot?
O! dangos in' Dy nawdd mewn pryd,
  Cawn felly iechyd ynot.

4 I'r rhai a ofnant Arglwydd nef,
  Mae'i iechyd Ef yn agos;
Ac felly caiff gogoniant hir
  O fewn ein tir ni aros. E. P.

## 23 (229) SALM CXXI.

M. S.—Glanceri. Dominus regit me.

1 DISGWYLIAF o'r mynyddoedd draw
  Lle daw im' help 'wyllysgar;
Yr Arglwydd rŷdd im' gymmorth gref,
  Yr Hwn wnaeth nef a daear.

2 Dy droed i lithro, Ef nis gâd,
  A'th Geidwad sydd heb huno;
O! gwel dy Geidwad, Israel lân,
  Heb hûn na hepian arno.

3 Ar dy law ddehau mae dy Dduw,
  Yr Arglwydd yw dy Geidwad;
Dy lygru ni chaiff haul y dydd,
  A'r nôs ni'th rŷdd i'r lleuad.

4 Yr Iôn a'th geidw rhag pob drwg,
  A rhag pob cilwg anfad;
Cei fyn'd a dyfod byth yn rhwydd,
  Yr Arglwydd yw dy Geidwad. E. P.

## 24 (205) *Clodforedd i Dduw.*

M. S.—Silesia. Mary.

1 CLODFORWCH bawb ein Harglwydd Dduw,
  Doed dynolryw i'w ganmol;
Ei hedd, fel afon fawr ddi-drai,
  Gaiff ddyfrhau Ei bobol.

2 Uwch nefol lèn mae tanllyd lu
  'N Ei foli yn dragywydd;
Nef, daear, dŵr, a phob peth byw,
  All dd'weyd, Da yw yr Arglwydd.

3 Ei air a'i ammod cadw wna ;
Byth y parhâ'i ffyddlondeb,
Nes dwyn Ei braidd o'u poen a'u plâ,
I hyfryd dragwyddoldeb.

4 Ni newid ddim, er gweled bai
O fewn i'w rai anwyla';
Byth cofia waed Tywysog nen,
A'i boen ar ben Calfaria.

5 Pan ballo ffafr pawb a'u hedd,
Duw, o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn Frawd, yn Ffrynd, a fydd
Ar gyfyng ddydd marwolaeth. W.

## 25 (280) *Ffyddlondeb Duw.*

M. C.—St. Ann. Gloucester.

1 DOED uffern, angeu, a holl rym
Fy mhechod yn gyttûn,
Cadarnach, trymach, lawer yw
Ffyddlondeb Duw Ei Hun.

2 Ac yn eu herbyn gwaeddi wnaf,
"Yr Arglwydd yw fy rhan";
Ac yn Ei glwyfau mi ga'r dydd
Yn hollol yn y màn.

3 Ac mi ro' f'angor yma i lawr
Mewn moroedd dyfnion maith,
Nes im' gael glanio'r ochr draw
I'r wlad o fêl a llaeth.

4 Pan aller briwio gallu'm Duw,
Dileu ffyddlondeb nen,
Yr adeg hono 'n unig 'r ä
Tymhestloedd dros fy mhen. W.

## 26 (278) *Cariad Duw.*

M. C.—Gloucester. St. Ann.

1 TYDI, fy Arglwydd, yw fy rhan,
A doed y drygau ddêl ;
Ac er bygythion uffern fawr,
Dy gariad sydd dàn sêl.

2 Oddi wrthyt rhêd, fel afon faith,
Fy nghysur yn ddi-drai ;

O hwyr i foreu, fyth yn gylch,
Dy gariad sy'n parhau.

3 Uwch pob rhyw gysur îs y nef
Yw cariad pur fy Nuw;
Anfeidrol foroedd dyfnion maith,
Heb fesur arno yw.

4 Dechreuodd draw cyn creu y byd,
Fe bery byth yn mlaen,
Heb un cyfnewid, ac heb drai,
Pan elo'r byd yn dân.

5 O! de'wch a gwelwch—chwiliwch ef,
Anfeidrol gariad mawr,
Ag sydd yn maddeu miloedd myrdd
O feiau yn yr awr.

6 Mae'n para'n ffyddlawn byth heb drai,
Ffordd bynag try y byd,
A phe cymmysgai tir a môr
Yr un yw'm Duw o hyd. W.

## 27 (344) *Dirgelion rhagluniaeth.*

M. C.—Blackbourne. Chant.

1 TRWY ddirgel ffyrdd mae'r uchel Iôr
Yn dwyn Ei waith i ben;
Ei ystafelloedd sy'n y môr,
Mae'n marchog gwynt y nen.

2 Yn nghudd mewn dwfn fwngloddiau pur
Doethineb wir ddi-wall,
Trysori mae fwriadau clir—
Cyflawnir hwy'n ddi-ball.

3 Y saint un niwed byth ni chânt,
Cymylau dua 'r nen
Sy'n llawn trugaredd,—gwlawio wnant
Fendithion ar eu pen.

4 Na farna Dduw â'th reswm noeth,
Ond crêd Ei addewid râd;
Tu cefn i lèn rhagluniaeth ddoeth
Mae'n cuddio gwyneb Tad.

5 Bwriadau dyfnion arfaeth grâs
Ar fyr addfeda 'n llawn:

Gall fod y blodau 'n chwerw eu blâs,
Ond melus fydd y grawn.

6 Ond gŵyro mae dychymyg dyn,
Heb gymmorth dwyfol ffydd;
Gadawn i Dduw esbonio 'i Hun—
Efe dry 'r nôs yn ddydd. COWPER, C. L. E.

## 28 (359) *Mawredd Duw.*

8. 6.—Rotterdam. Questa Tomba.

1 MAE'n llon'd y nefoedd, llon'd y byd,
Llon'd uffern hefyd yw;
Llon'd tragwyddoldeb maith ei hun,
Diderfyn ydyw Duw;
Mae'n llon'd y gwagle yn ddi-goll,
Mae oll yn oll, a'i allu'n un,
Anfeidrol annherfynol Fôd
A'i hanfod ynddo'i Hun.

2 Un hunanfodol ydoedd Ef
Cyn llunio nef na llawr;
Yn nhragwyddoldeb maith yn ôl,
Yn Dduw anfeidrol fawr;
Heb ddechreu dyddiau iddo'n bôd,
Na diwedd einioes chwaith i dd'od,
Tragwyddol a rhyfeddol Fôd
Yn Drindod uniawn drefn.

3 Clyw, f'enaid tlawd, mae genyt Dad
Sy'n gwel'd dy fwriad gwàn,
A Brawd yn eiriol yn y nef
Cyn c'odi'th lef i'r làn:
Crêd nad diystyr gan dy Dad
Yw gwrando gwaedd dymuniad gwiw,
Pe byddai d'enau yn rhy fud
I'w dd'wedyd ger bron Duw. E. J.

## 29 (378) SALM CV. 1—8.

Triumphant. St. Andrew.

1 EIN Harglwydd ni clodforwch,
Ac ar Ei enw gelwch;
Ei wyrthiau Ef â llawen floedd
Yn mysg y bobloedd traethwch;

O! de'wch a chenwch iddo,
A gorfoleddwch ynddo;
Ymlawenyched pob rhyw ddyn,
O galon sy'n Ei geisio.

2 Am Dduw a'i nerth gofynwch,
A gwedd Ei wyneb ceisiwch,
Y rhyfeddodau i ni a wnaeth,
A'i farnedigaeth cofiwch;
Trwy'r ddaear aeth yn ddïau,
Sôn am Ei uniawn farnau,
A cheidw o'i gyfammod gô'
I fil o genedlaethau. H. JS.

## 30 (380) *Ffordd Duw yn guddiedig.*

7. 6. D.—Bremen. Adela.

1 FFORDD Duw sydd yn y dyfroedd,
A'i lwybrau oll yn gudd;
Er hyny, dônt yn amlwg
Pan ddelo'r hynod ddydd:
Holl droion maith rhagluniaeth—
Bydd clir belydrau Duw
Yn dangos eu cymhwysder
I bob creadur byw.

2 Gan hyny, ymdawelwn
Mewn gostyngeiddrwydd gwiw,
A gwir fwyneidd-dra duwiol
Mewn 'stormydd o bob rhyw:
Pob awel lem anhyfryd
Sy'n ol yr arfaeth gynt;
Ac arni yn marchogaeth
Mae Arglwydd mawr y gwynt. D. CS.

## 31 (399) *Cariad Duw mewn etholedigaeth.*

7. 6. D.—Meirionydd. Rhyddid.

1 RHYFEDDOL byth, rhyfeddol
Yw cariad rhâd fy Nuw,
A redodd yn yr arfaeth
At ddynion gwael eu rhyw,
A'u dewis mewn Cyfryngwr,
A'u rhoddi iddo'n hâd,

Ac Yntau yn ymrwymo
  I'w dwyn yn un â'i Dad.

2 Etholiad, heb un ammod
  Yn sefyll ar y dyn—
Yn tarddu o foddlonrwydd
  Ewyllys Duw Ei Hun:
Tragwyddol, heb un dechreu,
  Anghyfnewidiol yw;
Mae'r sylfaen a'r adeilad
  I gyd o gyngor Duw.

3 Etholwyd i feddiannu'r
  Holl ragorfreintiau drud—
Y moroedd o fendithion
  Sy'n ngwaed Iachawdwr byd;
Cyfiawnder a sancteiddrwydd,
  A gogoneddiad llawn;
Rhâd, rhâd! fydd anthem Seion
  Am fath annhraethol ddawn.

4 Mae'r moddion a'r dibenion
  Mewn cwlwm sicr iawn;
'D oes modd fod gwell sefydliad—
  Mae'n ddoeth, o râs yn llawn:
Prif ddiben ethol ydoedd
  Dyrchafu grâs fy Nuw,
Ac wrth wneyd hyny, achub
  Myrddiynau o ddynolryw. ML. R.

## 32 (400) *Cariad Duw.*

7. 6. D.—Meirionydd. Rhyddid.

1 O FOROEDD o ddoethineb!
  Oedd yn y Duwdod mawr,
Pan yn cyfranu Ei gariad
  I bryfed gwael y llawr;
A gwneuthur i'w drugaredd,
  A'i dostur maith ynghyd,
I redeg megys afon
  Lifeiriol dros y byd.

2 Duw, cariad yw Ei hunan;
  'B'le bynag rhedo'i fryd,

Mae anfeidroldeb ëang
  Yn cerdded trwyddo i gyd;
Mewn gweithred o drugaredd
  Mae Ef yn llawenhau;
Ac yn faddeuwr pechod
  Yn cael Ei alw mae.

3 Rhyw ddyfnder maith o gariad,
  Llêd, annherfynol hyd,
A redodd megys diluw
  Diddiwedd dros y byd;
Yn ateb dyfnder eithaf
  Trueni dynolryw;
Can's dyfnder eilw ddyfnder
  Yn arfaeth hên fy Nuw.

4 O! gariad heb ei gymmar
  A thyna'r testyn sy
Yn llanw holl ganiadau
  'R angylaidd sanctaidd lu;
Anfeidrol râs! am dano,
  Pe na foliannai dyn,
Clodforai'r bydoedd mudion
  Yn ddïau bob yr un. W.—G. D. C.

## 33 (385) *Cyhoeddi enw yr Arglwydd.*

7. 6. D.—Adela. Bremen.

1 WEL! dyma 'r modd y gwnaethpwyd
  I holl ddaioni Duw
Fyn'd heibio o flaen wyneb
  Y gwaelaf ddyn yn fyw;
Fel hyn cyhoeddwyd enw
  Jehofah mawr, a'i Grist!
Enwocaf enw'r nefoedd
  I mi, bechadur trist:

2 Hwyrfrydig i ddigofaint,
  At rai sydd lawn o fai;
Wrth y pechadur penaf,
  O'i fodd yn trugarhau:
Mae'n cadw rhâd drugaredd
  I filoedd maith, a mwy;

Ac er Ei glôd yn maddeu
  Eu haml feiau hwy. W.—TH.

## 34 (381) *Doethineb a daioni Duw.*

7. 6. D.—Adela. Bremen.

1 FY Nuw, uwch law fy neall
  Yw gwaith Dy ddwylaw i gyd ;
Rhyfeddod annherfynol
  Sydd ynddynt oll ynghyd ;
Wrth weled Dy ddoethineb,
  Dy allu mawr, a'th fri,
Mi greda' am iachawdwriaeth
  Yn hollol ynot Ti.

2 O f'enaid ! gwêl fath noddfa,
  Ddiysgog, gadarn, yw,
Yn mhob rhyw gyfyngderau,
  Tragwyddol râs fy Nuw :
Ac yma boed fy nhrigfan,
  A fy nhawelaf nyth,
Yn nyfnder cyfyngderau,
  Sef dan Dy aden byth.

3 Fe all i'r làn fy nghodi
  O ddyfnder llwch y byd,
A gwneyd pob drwg a gwrddwyf
  Droi er daioni i gyd ;
Rho'i olew o lawenydd
  Yn wastad ar fy mhen,
A'm dwyn trwy foroedd dyfnion
  I ganol nefoedd wèn. W.—G. D. C.

## 35 (382) *Y Cyfammod Gras.*

7. 6. D.—Adela. Bremen.

1 CYFAMMOD hedd a luniwyd
  Yn nhragwyddoldeb pell,
Rhwng Tad, a Mab, ac Ysbryd :
  Nis gall'sai fod yn well :
Cyfammod er achubiaeth
  I euog lwch y llawr :
Mae'n gadarn, wedi ei selio
  Â gwaed Messiah mawr. H. P.—*Cas.* D. J.—*ar.*

2 Cyfammod rhâd tragwyddol
Yw dyfais grâs y nef;
Nis gall na byd nac uffern
Byth ei ddirymu ef;
Pan ddiffydd haul a lleuad,
Pan losgo daear lâs,
Fe saif y ddyfais ddwyfol
Yn gryf gyfammod grâs. *Cas.* R. E.

## 36 (383) *Duw yn hoffi trugaredd.*

7. 6. D.—Adela. Bremen.

1 PA dduw yn mhlith y duwiau
Sydd debyg i'n Duw ni?
Mae'n hoffi maddeu'n beiau,
Mae'n hoffi gwrandaw'n cri:
Nid byth y deil eiddigedd,
Gwell ganddo drugarhau;
Er maint ein hannheilyngdod,
Mae'i gariad E'n parhau. D. S.

## 37 (386) *Clôd i'r Drindod.*

St. Marc. Lymington.

1 Y clod, y nerth, a'r enw,
Y mawl, y parch, a'r bri,
F'o i'r Drindod mawr yn Undod,
A'r Undod pur yn Dri!
Ei glôd ehedo allan,
Ei glôd anfeidrol Ef,
Trwy bellder annherfynol
Eangder maith y nef. W.—T. W. S.

## 38 (451) SALM LXVII.

M. B. C.—Wirksworth. Addfwynder.

1 TRUGAREDD Duw i'n plith,
A rho'ed Ei fendith drosom,
Tywyned byth Ei wyneb-pryd,
Ei nawdd a'i iechyd arnom.

2 Duw, moled pobloedd Di,
Rhoent fawl a bri trwy'r hollfyd,
A'r holl genhedloedd îs y nen
A fyddant lawen hyfryd.

3 Can's Ti a ferni'n iawn
Y bobl trwy lawn wybodaeth,
A rhoddi 'r holl genhedloedd ar
Y ddaear mewn llywodraeth.

4 Duw, moled pobloedd Di,
Rho'ent fawl a bri trwy'r hollfyd,
Ac yna 'r tir rŷdd ffrwyth i'n plith,
A Duw Ei fendith hefyd.

5 A Duw, sef Duw ein Tad,
A roddo'i râd a thyciant,
A holl derfynau'r ddaear gron,
A phawb ar hon a'i hofnant. E. P.

## 39 (496) *Duw yn anghyfnewidiol.*

6. 8.—Dudley. Gopsal.

1 FFYDDLONDEB mawr y nef
Sydd siwr o bara byth,
'D oes dim a'i briwia ef
O'r ddae'r i uffern syth ;
Mae'i arfaeth fawr a'i air yn un,
A gwaed y groes oll yn gyttûn.

2 Cyfnewid y mae dyn,
Tröedig yw erioed,
Ond digyfnewid Duw,
Fel haul neu sêr y rhôd ;
Ac ar Ei faith ffyddlondeb Ef
Y try gogoniant nef y nef.

3 O ! fendith heb ddim trai,
Cysuron heb ddim rhi',
Sy'n tarddu, Iesu, i maes,
Bob awr, o honot Ti ;
Nis gallaf fyth ddymuno mwy
Trysorau nag sydd yn Dy glwy'. W.

## 40 (510) *Yr Arglwydd yw fy rhan.*

6. 8.—Beverley. Darwell.

1 FY noddfa gadarn, gref,
A'm tarian wyt, fy Nuw,
Yn erbyn angeu du,
A drygau o bob rhyw :

'R wy'n pwyso 'nghrêd ac 'fedda'i gyd
I'th air ffyddlonaf, pur, a drud.

2 Y gair melusa 'rioed,
Y cryfaf air ei rym,
Fe'i hail adroddaf ef—
Fod Duw yn Briod im';
Mae hyfryd sŵn a sylwedd hwn
Yn tynu i ffwrdd fy maich a'm pŵn.

3 Rhyw weithiau filoedd maith
Adrodda'm testyn trwy;
Cyhoedda' o flaen y byd—
Fy Mhrïod yw Ef mwy:
Mae'r hyfryd sŵn yn ennyn tân
Na saif na byd na chnawd o'i flaen.

4 'Beth yw'r telynau aur
Sydd gan angylion fry?
Pa fath dafodau geir
Gan nefol berffaith lu?
A feddant hwy felusach tôn
Nag am eu hawl i'r addfwyn Oen? W.

## 41 (513) *Neb yn gyffelyb i Grist.*

6. 8.—Beverley. Darwell.

1 CYFFELYB i fy Nuw
Ni welodd dae'r na nef;
'D oes un creadur byw
Gymherir iddo Ef;
Cyflawnder mawr o râs di-drai
Sydd ynddo fythol yn parhau.

2 Yn nyfnder t'w'llwch nôs
Mi bwysaf ar Ei râs;
O'r t'w'llwch mwyaf du
Fe ddŵg oleuni i maes:
Os gŵg, os llîd, mi âf i'w gôl,
Mae'r wawr yn cerdded ar Ei ôl.

3 Ymffrostiaf ynddo Ef
Pe ymderfysgai'r byd,
A diluw eilwaith dd'od
I guddio'r ddae'r i gyd;

Rhyw noddfa lawn a lloches sy
Uwch tymmestl yn f' Anwylyd cu. W.

**42 (505)** *Cariad Duw yn parhau byth.*

6. 8.—Alun. Ramoth.

1 P'AM'r ofna'm henaid gwàn
Wrth wel'd aneirif lu
Yn ceisio ammeu'm rhan
A'm hawl yn Iesu cu?
Gŵn mai di-lŷth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth.

2 P'odd gall y Bugail mawr
Anghofio 'i anwyl ŵyn,
Pan ddaeth o'r nef i lawr
I farw er eu mwyn?
Gŵn mai di-lŷth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth.

3 Os gâd fy anwyl Dad
Fi i farw ar fy nhaith,
'Beth ddaw o'r arfaeth rhâd
Yn nhragwyddoldeb maith?
Gŵn mai di-lŷth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth.

4 A ddiffydd cariad rhâd?
Ai ofer geiriau Duw?
A gollir rhinwedd gwaed
Ac angeu Iesu gwiw?
Gŵn mai di-lŷth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth.

5 Er Satan, byd, a chnawd,
A'm holl elynion câs,
Fe ddygir f'enaid tlawd
O'i holl gadwynau i maes:
Gŵn mai di-lŷth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth. W.

**43 (516)** *"Nesau at Dduw sydd dda i mi."*

6. 8.—Beverley. Hollybourne.

1 MAE Duw yn llon'd pob lle,
Presennol yn mhob màn;

Y nesaf yw Efe
O bawb at enaid gwàn :
Wrth law o hyd i wrando cri ;
" Nesau at Dduw sy dda i mi."

2 Yr Arglwydd sydd yr un,
Er maint derfysga'r byd ;
Er anwadalwch dyn,
Yr un yw Ef o hyd :
Y graig na syfl yn merw'r lli ;
" Nesau at Dduw sy dda i mi."

3 Yr Hollgyfoethog Dduw,
Ei olud ni leihâ ;
Diwalla bob peth byw
O hyd â'i 'wyllys da :
Un dafn o'i fôr sy'n fôr i ni ;
" Nesau at Dduw sy dda i mi." D. JS.

## 44 (507) " *Nesau at Dduw sydd dda i mi.*"

6. 8.—Alun. Ramoth.

1 PAHAM y tro'f yn ffol
At ail achosion mwy ?
Mae'r Achos mawr tu ôl,
Effeithiau ydynt hwy :
Ar deg a gwlaw, mewn trai a lli,
" Nesau at Dduw sy dda i mi."

2 Mewn trallod, at bwy'r âf,
Ar ddiwrnod tywyll, du ?
Mewn dyfnder,'beth a wnaf,
A'r tònau o'm dau tu ?
O fyd ! yn awr 'beth elli di ?
" Nesau at Dduw sy dda i mi.'

3 Anwadal hynod yw
Gwrthrychau goreu'r byd ;
Ei gysur o bob rhyw,
Siomedig yw i gyd ;
Rhag twyll ei wên, a swyn ei fri,
" Nesau at Dduw sy dda i mi." D. JS.

## 45 (493) "*Byw dan nawdd y dwyfol waed.*"

6. 8.—Dudley. Gopsal.

1 FY enaid, at dy Dduw,
Fel gwrthrych mawr dy grêd,
Trwy gystudd o bob rhyw,
A phob temtasiwn, rhêd ;
Câf ganddo Ef gysuron gwir,
Fwy nag ar foroedd nac ar dir.

2 O ! na allwn roddi 'mhwys
Ar Dy ardderchog law,
A gado i gystudd dd'od
Oddi yma ac o draw ;
A byw dan nawdd y dwyfol waed
Yn ngolwg hyfryd dŷ fy Nhad.

3 Mi fyddaf lawen iawn,
A'm gofid dàn fy nhraed,
O foreu hyd brydnawn,
Dan aden gwir fwynhâd ;
'D oes arall ddim îs sêr y nef ;
A ddaw â'm henaid tua thref.

W.

## 46 (526) "*Arglwydd, cofia fi.*"

6. 8.—Dolgellau. Tyndal.

1 I FYNY at fy Nuw,
Fy enaid, c'od dy lef,
Uwchlaw yr euraidd lu,
I eithaf nef y nef ;
Gostwng Dy glust o'r bryniau fry,
O ! Arglwydd grasol, cofia fi.

2 'R wyf yma yn wael fy ngwedd,
Yn euog ac yn wàn,
Gelynion creulon sydd
O'm hamgylch yn mhob màn :
Bydd imi'n blaid yn erbyn llu,
O ! Arglwydd grasol, cofia fi.

3 Yn wyneb uffern ddu,
Ac angeu mawr ei rym,
Rho imi nerth wrth raid,
Bydd Di yn nodded im' :

Yn nyfroedd cry'r Iorddonen ddu,
O! Arglwydd grasol, cofia fi. D. C.

## 47 (944) *Ein Cadarn Dŵr.*

8. 7. 5. 7.

1 EIN nerth a'n Cadarn Dŵr yw Duw,
Ein tarian a'n harfogaeth;
O ing a thrallod o bob rhyw
Rhydd gyflawn waredigaeth.
Gelyn dyn a Duw,
Llawn cynddaredd yw;
Gallu a dichell gref
Y'nt ei arfogaeth ef;
Digymmar yw'r anturiaeth.

2 Gwàn lewyrch ddaw o allu dyn;
Mewn siomiant blin mae'n diffodd;
Ond trosom ni mae'r addas Un;
A Duw Ei Hun a'i trefnodd.
Pwy? medd calon drist:
Neb ond Iesu Grist;
Arglwydd lluoedd nef;
Ac nid oes Duw ond Ef;
Y maes erioed ni chollodd.

3 Pe'r byd yn ddieifl fel uffern ddofn,
Yn gwylied i'n traflyncu,
Ni roddwn le i fraw nac ofn:
Mae'n rhaid i ni orchfygu.
Brenin gau y byd
Er mor ddewr ei frŷd,
Ni wna ddim i ni;
Fe'i barnwyd, er ei fri,
Un gair a'i gŷr i grynu.

4 Y gair a saif; a llwyddo raid
Er t'w'lled mae'n ymddangos;
Efe a'i Yspryd sydd o'n plaid,
A'r goncwest sydd yn agos;
Bywyd rho'wn yn rhydd,
Gwraig a phlant 'r un dydd;
Ymaith os ânt hwy,
Ni a enillwn fwy;
Mae teyrnas Dduw yn aros. C. L. E.

## 48 (531) *Ffoi at Dduw.*

6. 8. 4.—Palestina. Trecastell.

1 TI, Arglwydd, yw fy rhan,
A'm trysor mawr di-drai,
A noddfa gadarn f'enaid gwàn
Yn mhob rhyw wae :
Ac atat 'r wyf am ffoi,
Dy fynwes yw fy nyth,
Pan f'o gelynion yn crynhôi,
Rifedi'r gwlith.

2 O ! dangos D'allu mawr,
Dy faith anfeidrol râs,
A dywed wrthyf fi yn awr
Câf gario'r maes :
Ac atat 'r wyf yn ffoi,
Dy fynwes yw fy nyth,
Pan f'o gelynion yn crynhôi,
Rifedi'r gwlith.

3 Tydi, fy Nuw Ei Hun,
Anfeidrol berffaith Fôd,
Sy'n trefnu daear, da, a dyn
I'th ddwyfol glôd ;
Cyf'rwydda f'enaid gwàn
Trwy'r anial yn y blaen,
Ac arwain fi'n mhob dyrys fàn
Â'th golofn dân.

4 Dy Ysbryd sanctaidd, cûn,
Dywysodd fyrdd o saint,
Rho imi brofi Ei felus rîn,
Anfeidrol fraint ;
Fel dyfroedd gloyw, clir,
I lòni'r llesg a'r gwàn
Diddanwch yn yr anial dir
I'm dàl i'r làn. W.

## 49 (632) *Trugaredd a gofal Duw.*

8. 7. D.—Llangan. Tanycastell.

1 DEUED dyddiau o bob cymmysg
Ar fy nherfynedig oes ;

T'wŷned haul oleudeg llwyddiant,
  Ynte gwasged garw groes,
Clôd fy Nuw gaiff lanw 'ngenau
  Trwy bob tymmestl, trwy bob hîn ;
A phob enw gaiff ei lyncu
  Yn Ei enw Ef Ei Hun.

2 Ynddo'n unig 'r wy'n ymddiried,
  Hollalluog yw fy Nuw ;
A phob noddfa wy'n ffieiddio
  Arall—annigonol yw ;
Yn Ei iachawdwriaeth rasol
  'N unig 'r wyf yn llawenhau ;
Dyma'r fàn y tardd cysuron
  Sy'n dragwyddol yn parhau.

3 Mae Ei glustiau yn agored
  I bob rhyw ddrylliedig lef,
Ac mae'r drom ochenaid glwyfus
  Yn cyrhaeddyd ato Ef ;
Pan b'o t'w'llwch ac anobaith
  Yn amgylchu'm llwybrau cudd,
Daw a thry yn gàn' goleuach
  D'w'llwch nôs na hanner dydd.

4 Boed fy nhafod fyth, gan hyny,
  'N seinio'i anghydmarol glôd,
Rhyfeddodau maith y cariad
  Penaf welodd dyn erioed ;
Caiff angylion a seraphiaid
  Blethu eu cân â mi yn un
Gyda llu heb un rhifedi,
  Am ogoniant Mab y Dyn. W.

**50** (688) *Ymostwng i benarglwyddiaeth Duw.*

8. 7. D.—Diniweidrwydd.

1 TYRED, Arglwydd, tyr'd yn fuan,
  Dim ni'm boddia dàn y ne',
Dim ond Ti a ddeil fy ysbryd
  Gwàn, lluddedig, yn ei le ;
Neb ond Ti a gwyd fy enaid
  Llesg o'r pydew du i'r làn ;

Os Tydi sy'n gwneyd im' ochain,
Ti'm gwnai'n llawen yn y màn.

2 Hŵyl fy enaid sy wrth D'ewyllys,
Fel y mynot mae yn bôd
Oll o mewn, ac oll oddi allan,
Ddigwydd imi îs y rhôd :
'N awr Ti'm c'odi i'r làn i'r nefoedd,
Eilwaith Ti'm gostyngi i lawr ;
Mae Dy gerydd a Dy gariad
Im' yr un rhyfeddod fawr.

3 Tyr'd, rho gerydd im', neu gariad,
Yr un fynech Ti Dy Hun ;
Ond trwy'r cwbl cadw f'ysbryd
Yn sefydlog wrth Dy glun :
Dros y bryniau gwna i mi gerdded
Tuag adre'n ddi-nacâd,
Heb yn unlle imi edrych
Ond ar degwch tŷ fy Nhad. W.

## 51 (596) *Sanctaidd Iôr.*

8. 7. D.—Sanctus.

1 GLAN gerubiaid a seraphiaid,
Fyrdd o gylch yr orsedd fry,
Mewn olynol seiniau di-baid,
Ganent fawl eu Harglwydd cu ;—
" Llawn yw'r nefoedd o'th ogoniant,
Llawn yw'r ddaear, dir, a môr ;
Rhodder i Ti fythol foliant,
Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd Iôr ! "

2 Fyth y nef a chwydda'r moliant ;
Uwch yr etyb daear fyth—
" Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd ! " meddant,
" Dduw y lluoedd, Ner di-lŷth !—
Llawn yw'r nefoedd o'th ogoniant,
Llawn yw'r ddaear, dir, a môr ;
Rhodder i Ti fythol foliant,
Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd Iôr ! "

3 Gyda'r dyrfa lân i fyny,
Gyda'r eglwys frŵd i lawr,

Uno wnawn fel hyn i ganu
  Anthem clôd ein Harglwydd mawr—
"Llawn yw'r nefoedd o'th ogoniant,
  Llawn yw'r ddaear, dir, a môr;
Rhodder i Ti fythol foliant
  Sanctaidd, sanctaidd, sanctaidd Iôr!"

DR. MANT, *c.* O. G. O.

## 52 (698) *Bwriad grasol Duw.*

8. 7. D.—Bohemia.

1 DRAW mi welaf ryfeddodau
  Dyfnion bethau Tri yn Un;
Cyn bôd Eden ardd na chodwm,
  Grasol fwriad Duw at ddyn:
Ethol Meichiau cyn bôd dyled,
  Trefnu meddyg cyn bôd clwy';
Caru gelyn heb un haeddiant;
  Caiff y clôd tragwyddol mwy. *Cas.* M. D. 1.

2 O! dragwyddol iachawdwriaeth,
  Yn yr arfaeth gafodd le,
I gyfodi plant marwolaeth,
  I etifeddiaeth bur y ne':
Cariad boreu, mor ddiddechreu
  Ag yw hanfod Tri yn Un,
Yn cofleidio meibion Adda,
  Yn yr Alpha mawr Ei Hun. W. O.

## 53 (627) *Effeithiau adnabod Duw yn Nghrist.*

8. 7. D.—Dolwar.

1 O! AM dreiddio i'r adnabyddiaeth
  O'r unig wir a bywiol Dduw,
I'r fath raddau a fyddo'n lladdfa
  I ddych'mygion o bob rhyw;
Credu'r gair sy'n d'weyd am dano,
  Am Ei natur sanctaidd, wiw,
Yn farwolaeth i bechadur
  Heb gael Iawn i'w gadw'n fyw.

2 Mae Duw anfeidrol mewn gogoniant,
  Er mai Duw y cariad yw,
Wrth Ei gofio imi'n ddychryn,
  Imi'n ddolur ac yn friw:

Ond yn Mhabell y cyfarfod,
  Mae Ef yno 'n llawn o hedd.
Yn Dduw cymmodlawn wedi eistedd,
  Heb ddim ond heddwch yn Ei wedd.

3 Yno mae fy mwyd a'm dïod,
  Fy noddfa, a'm gorphwysfa wiw,
Fy meddyginiaeth, a fy nhrysor—
  Tŵr cadarn anfethedig yw ;
Yno mae fy holl arfogaeth,
  Yn ngwyneb fy ngelynion câs,
Mae 'mywyd yno yn guddiedig
  Pan b'wy'n ymladd ar y maes.

4 Cael Duw yn Dad, a Thad yn Noddfa,
  Noddfa'n Graig, a'r Graig yn Dŵr,
Mwy nis gallaf ei ddymuno
  'N ddiogelwch im' mewn tân a dŵr ;
O hono Ef mae fy nigonedd ;
  Ac ynddo trwy fyddinoedd âf ;
Hebddo, eiddil, gwàn, a di-nerth,
  Colli'r dydd yn wir a wnaf. A. G.

## 54 (737) *Ymofyn am Dduw.*

8. 7. 4.—Verona. Russia.

1 DUW anfeidrol yw Dy enw,
  Llanw'r nefoedd, llanw'r byd ;
F'enaid innau sy'n Dy olrhain
  Trwy'r greadigaeth faith i gyd :
    Ffaelu'th ffeindio
  I'r cyflawnder sy arnaf chwant.

2 D'wêd a ellir nesu atat,
  D'wêd a ellir Dy fwynhau,
Heb un gorchudd ar Dy wyneb,
  Nac un gŵg i'm llwfrhau :
    Dyma'r nefoedd
  Wyf am gael tu yma i'r bedd.

3 Ffaelu'r wyf fi â'th orddiwes—
  Dyfod atat Ti yn lân,
Er fy mod yn gwel'd Dy gamrau
  Perffaith, hyfryd, draw o'm blaen :

Tyred amser
Na b'o awr heb Dy fwynhau.

4 Yn y màn b'ost Ti'n cartrefu
Y cyweiriaf finnau'm nyth ;
Gwedd Dy wyneb fydd fy nefoedd
Yma ac oddi yma byth :
Nid oes bleser
Dan yr haul gyflawna'th le. W.

## 55 (729) *Syched am Dduw.*

8. 7. 4.—Litany. Edlingham.

1 FY nymuniad, paid a gorphwys
Ar un tegan îs y nef ;
Eto erioed ni welodd llygad
Wrthrych tebyg iddo Ef :
Cerdda rhagot,
'R wyt ti bron a'i wir fwynhau.

2 Ffàrwel, ffàrwel oll wy'n weled,
Oll sydd ar y ddae'r yn byw ;
Gadewch imi, ond munydyn,
Gael yn rhywle gwrdd â'm Duw :
Dyna leinw
'Nymuniadau oll yn un.

3 D'air a wnaeth y moroedd helaeth,
D'air a wnaeth y ddaear fawr,
D'air a grëodd lu'r ffurfafen
Sydd yn hongian uwch y llawr :
'Mysg a grëaist,
'D oes gyffelyb it' Dy Hun.

4 Tyr'd, yr Hwn wyt yn hawddgarach
Na'th greaduriaid maith eu rhi' ;
'Bryd y dôi a gwneyd Dy drigfan
Bob munydyn gyda mi ?
Tyr'd yn fuan,
Arglwydd, at y sawl a'th går. W

## 56 (730) *Duw Ei Hunan.*

8. 7. 4.—Litany. Edlingham.

1 FE gynnygiodd dyfroedd lawer—
Dyfroedd dyfnion mawr eu grym,

Oeri'm cariad tuag atat,
Ond methasant wneuthur dim ;
Rhan o'th natur
Deimlaf ynof fi fy hun.

2 Eisieu'th wel'd, yr wyf mor llwfr,
Eisieu'th wel'd, yr wyf mor wàn ;
Golwg ar Dy wyneb hyfryd
Gwyd yr eiddil cloff i'r làn :
Dwfr bywiol
Ydwyt i'r lluddedig rai.

3 'D oes gyff'lybiaeth îs y nefoedd
All yn gywir draethu 'maes
Ddistaw, ddirgel, bur brofiadau,
Ac och'neidiau'th nefol râs ·
Mi ẁn ronyn
Wrth beth ydwyf, 'beth a ddaw.

4 Rho'f ffarwèl i'r holl greadigaeth ;
Ffàrwel, feusydd gwych eu rhyw,
Ffàrwel, deiau teg yr olwg,
Ffàrwel, ddynion goreu'n fyw :
Gwych gyfnewid,
Duw Ei Hunan yn lle'r byd. W.

## 57 (740) *Duw a digon.*

8. 7. 4.—Verona. Russia.

1 NID oes eisieu un creadur
Yn bresennol lle b'o'm Duw ;
Mae E'n fwyd, y mae E'n ddïod,
Nerth fy natur egwan yw :
Pob hapusrwydd
Sydd yn aros ynddo'i Hun.

2 Gyrwch fi i eithaf t'w'llwch,
Hwnt i derfyn oll sy'n bôd,
I ryw wagle dudew anial,
Na fu creadur ynddo erioed ;
Hapus, hapus,
Fyddaf yno gyda Thi.

3 Nis gall dychryn, nis gall ofnau,
Nis gall pechod yn gyttûn,

Gael un effaith ar fy enaid
Pan y byddwyf wrth Dy glun :
Ofer, ofer
Ceisio'm cyffwrdd yn Dy gôl.

4 Nid oes unman imi'n gartref,
Nid oes drigfan o un rhyw,
Allaf alw yn hyfrydwch
Imi'n awr ond mynwes Duw ;
Yn Ei fynwes
Mae fy naear i a'm nef. W.

## 58 (725) *Gofal a chariad Duw.*

8. 7. 4.—Frankfort. Peniel.

1 ER Dy fod yn uchder nefoedd,
Uwch cyrhaeddiad meddwl dyn
Eto mae'th greaduriaid lleiaf
Yn Dy olwg bob yr un ;
Nid oes meddwl
Ond sy'n oleu o Dy flaen.

2 Ti yw 'Nhad, a Thi yw 'Mhrïod,
Ti yw'm Harglwydd, Ti yw'm Duw,
F'unig Dŵr, a'm hunig Noddfa,
Wyt i farw neu i fyw :
Cymmer f'enaid,
Dan Dy aden tua'r nef.

3 Tro 'ngelynion yn eu gwrthol,
A phalmanta'r ffordd i'r wlad,
Tra f'wy'n yfed addewidion
Pur yr iachawdwriaeth râd ;
Fel y gallwyf
O fy nghystudd ymgryfhau.

4 Minnau ymddigrifaf ynot,
A chanmolaf fyth Dy râs,
Tra f'o'r anadl bur yn para,
Ynte wedi'r êl i maes :
Tragwyddoldeb
Ni chaiff ddiwedd ar fy nghân. W.

## 59 (732) *Duw yn gwaredu rhag drwg.*

8. 7. 4.—Litany. Edlingham.

1 NID oes funyd fach o'm bywyd
Na fuost, Arglwydd, imi'n dda;
Ti'm gwaredaist fil o weithiau
Yma ac acw rhag rhyw blâ:
Fe'm hachubwyd
Am it' sefyll o fy mhlaid.

2 Dengmil llawn o gyfyngderau,
Ac o rwydau cyfrwys fwy,
Fu gan Satan i fy maglu,
A chwympaswn iddynt hwy:
Ti Dy Hunan
Oedd a'm daliodd i i'r làn.

3 'R wyt Ti'n drech na'm calon galed,
'R wyt Ti'n drech na'm pechod cas:
Ti wnai'm hanwyl chwant a minnau
Pryd y mynost gwympo i maes:
Croesa 'mhechod—
Croesa'r peth wyf am fwynhau. W.

## 60 (720) *Gwaith Duw yn yr enaid.*

8. 7. 4.—Havilah. Triumph.

1 'R WY'n Dy garu, Ti a'i gwyddost,
'R wy'n Dy garu, f' Arglwydd mawr;
'R wy'n Dy garu yn anwylach
Na'r gwrthrychau ar y llawr:
Darllen yma
Ar fy ysbryd waith Dy law.

2 Nid oedd dim o fewn y ddaear,
Nid oedd dim o fewn y nef,
Nid oedd bŷs wnai'r fath adeilad
'N unig ond Ei fysedd Ef:
Dymuniadau
Y'nt a ddaeth o fynwes Duw.

3 Fflam o dân o ganol nefoedd
Yw, ddisgynodd yma i'r byd,
Tân i losgi'm natur gyndyn,
Tân i lanw'm hëang frŷd:

Hwn nis diffydd :
Tra parhao Duw mewn bôd.

4 F'enaid gwâg oedd gynt yn crwydro
Weithiau i'r dwyrain, weithiau i'r de ;
Nid oedd dim a'i gwnai yn esmwyth
'N unig ond Ei gariad E' :
Anfeidroldeb
All'sai'm llanw oll yn llyn.

5 P'le'r ennynodd fy nymuniad ?
P'le ca'dd fy serchiadau dân ?
'B'le daeth hiraeth im' am bethau
Oeddwn yn gasau o'r blaen ?
Iesu, Iesu,
'R cwbl ydyw gwaith Dy law.

6 Dymuniadau pell eu hamcan
Wyf yn deimlo ynwy' 'nglŷn,
Dacw'r ffynnon bur 'tarddasant—
Anfeidroldeb mawr Ei Hun :
Dyma 'ngobaith
Bellach byth y cânt barhau. W.

**61** (724) "*Dy lwybrau yn y dyfroedd dyfnion.*"

8. 7. 4.—Peniel. Frankfort.

1 DUW anfeidrol yw Dy enw,
Llanw'r nefoedd, llanw'r llawr,
Ac mae'th lwybrau'n anweledig
Yn nyfnderoedd moroedd mawr :
Dy feddyliau—
Is nag uffern, uwch na'r nef.

2 Minnau'n ddyfal sy'n ymofyn
Ar yr aswy, ar y dde,
Ceisio ffeindio dwfn gyngor,
A dibenion Brenin ne' :
Hyn a ffeindiais—
Mai daioni yw oll i mi.

3 Da yw'r groes, a da yw'r wasgfa,
Da yw profedigaeth lym ;
Oll a'm tŷn i o'r crëadur,
O fy haeddiant, o fy ngrym ;

Minnau'r truan,
Ffo'f dan aden Brenin nef. W.

## 62 (921) SALM XCI.

Sau.—Cleveland. Arabia.

1 ADRIGO 'nghymdeithas y Tad,
Ei aden yn gauad a'i cudd ;
Caiff weled, trwy'r aberth a'i râs,
Ddirgelwch Ei deyrnas bob dydd.
Dywedaf, Fy Noddfa yw'm Nêr,
A'm tyner Waredwr yw'r Iôn ;
Ac ynddo gobeithiaf heb baid,
Am dano fy enaid a sôn.

2 Nid ofni rhag dychryn y nôs,
A'r saeth ni ddaw'n agos liw dydd ;
I'th gadw di, 'mlaen ac yn ôl,
Ei aden anfeidrol a fydd :
Rhag haint a'r dinystrydd, dy Nêr,
Â'i aden fydd dyner i'th doi,
A'i enw, dy Gastell di-gêl,
A'th Noddfa ddïogel i ffoi.

3 Cwymp mil wrth dy ystlys i'r llwch,
Syrth myrddiwn wrth d'ochr i'r llawr,
Â thithau ni chyffwrdd un plâ,
Can's Duw yw dy Noddfa di'n awr ;
Yn unig canfyddi fod tâl,
A dïal, am bechod ryw ddydd ;
Er uched yw'r anwir, a'i ffroen,
Amddiffyn i'r beilchion ni bydd. R. J.

## 63 (922) RHAN II.

Sau.—Cleveland. Arabia.

1 OHERWYDD it' wneuthur yr Iôn,
Yr Arglwydd goruchaf, dy Nyth,
Dy Noddfa, dy Gartref di-gêl,
A'th Breswyl dïogel am byth ;
Dim niwed ni ddigwydd i ti,
Na phlâ i dy boeni ni bydd,
Cysgoda dy babell yn llon,
Dan fendith Ei roddion a rŷdd.

2 Angylion y nefoedd, yn llu,
A warchod o ddeutu dy ffyrdd;
Gorchymyn a ddyry'n dy gylch,
Ehedant o'th amgylch di'n fyrdd:
Rhag llithro, na tharo dy droed,
Mor hynod eu gofal i gyd,
Hwy'th ddygant, yn dyner a doeth,
Â'u dwylaw angylaidd ynghyd.

3 Ac arnaf y geilw mewn ing,
Gwrandawaf, gwaredaf, ynghyd,
A chydag ef byddaf yn blaid
Digonol i'w enaid o hyd:
Gogoniant, anrhydedd, hir oes,
Digonaf ei einioes â hedd;
Trwy rym iachawdwriaeth ddi-dranc
Y dianc o feddiant y bedd. R. J.

## AM GRIST.

**64** (8) *Prynedigaeth trwy waed Crist.*

10au.—Penitentia. Pax Dei.

1 MAE haeddiant mawr rhinweddol waed fy Nuw
Yn llawer mwy na'r pechod gwaetha'i ryw:
Ceir maddeu myrdd o'r beiau mwyaf gaed,
A'r euog brwnt a gènir yn y gwaed.

2 O'm pen i'm traed, annhraethol aflan wyf;
Nid oes lanhâd ond yn Ei farwol glwyf;
Y ffynnon hon agorwyd ar y bryn,
Er dued wyf, a'm gylch yn hyfryd wŷn.

3 Efe yw'r Iawn dros ein pechodau ni;
Ei ddryllio wnaed ar fynydd Calfari:
Ein dyled fawr a dalwyd yno'n llawn,
A'r llyfrau oll a groeswyd un prydnawn.

4 Wrth daro'r graig, daeth allan ddyfroedd pur,
Ein dilyn mae trwy'r dyrys anial dir;
Cawn lawenhau wrth yfed dyfroedd byw,
A'n golchi'n lân, a'n dwyn i gwmni Duw.

5 Mi ganaf byth am haeddiant dwyfol waed ;
Fy mhrynu wnaeth, a'm gosod ar fy nhraed :
Boddloni'r Tad a'r gyfraith yn fy lle,
Ac ennill hawl im' byth yn nheyrnas ne'.

6 Och'neidiau'r groes a ro'es ryddhâd i ni ;
Mae'm cymmorth llawn yn gyflawn Un yn Dri ;
Duw dîg sy'n Dad i bechaduriaid trist,
A'r cymmod rhâd trwy haeddiant Iesu Grist. J. E.

## 65 (5) *Y Bugail Da.*

10au.—Holley. Coburg.

1 Y BUGAIL mwyn o'r nef a ddaeth i lawr,
I geisio'i braidd trwy'r erchyll anial mawr ;
Ei fywyd ro'es yn aberth yn eu lle,
A'u crwydriad hwy ddïalwyd arno 'Fe.

2 O grwydriad pell Paradwys daeth i'm hôl,
Yn dirion iawn fe'm dygodd yn Ei gôl ;
'D oes neb a ŵyr ond Ef, y Bugail Mawr,
Pa grwydro wne's o hyny hyd yn awr.

3 Â'i hyfryd lais fe'm harwain yn y blaen ;
Cydymaith yw Ef yn y dŵr a'r tân ;
Rhag pob rhyw ddrwg, yn nyffryn angeu du,
Pwy arall fydd yn nodded i myfi ?

4 Pan âf i dref, i'r hyfryd gorlan fry,
Ni chrwydraf mwy oddi wrth fy Mugail cu ;
Wrth gofio'r daith, a'i holl ffyddlondeb Ef,
Mi seinia'i glôd i entrych nef y nef.

5 Fy Mhrïod yw, âf ar Ei bwys yn mlaen,
Nes d'od i'r làn o'r anial fyd yn lân ;
"Fy nghyfaill wyt," medd Ef, wrth lwch y llawr,
"A'th Dduw wyf Fi i dragwyddoldeb mawr !" D. C.

## 66 (6) *Iesu, ffynnon cysur.*

10au.—Dalkeith. Coburg.

1 WEL, f'enaid, c'od, sefydla'th wammal frŷd,
Myn'd heibio mae pleserau pena'r byd ;
O ! dring i fyny, ac anghofia'n awr
Bob peth a eilw'r ddaear yma'n fawr.

2 Draw, draw, yn mhell, tu hwnt i'r dwfn fedd,
Mae'th gysur oll, dy olud, a dy hedd ;

Mae'th Iesu yno, Ef Ei Hunan yw
Y cwbl a feddi byth, yn farw a byw.

3 Mae enw'm Iôr fel ysol nerthol dân,
Dim dàn y nef ni safa fyth o'i flaen;
Yr iachawdwriaeth werthfawr sydd o hyd
Yn gwneyd i uffern gref i grynu i gyd.

4 O'r enwau hoff a roddir ar fy Nuw,
Y gwerthfawrocaf oll o honynt yw:
Yr un a gafodd Ef ar Galfari,
Pan ddïoddefodd dros fy enaid i.

5 Rho allu im', fy Nuw, o hyn i maes
I dd'weyd yn dda am Dy anfeidrol râs;
Na byddo neges genyf yma mwy
Ond ymhyfrydu yn Dy farwol glwy'. W.

## 67 (7) *Digon yn yr Iesu.*

10au.—Dalkeith. Coburg.

1 'DOES eisieu'n bod, nac ofn, na chlais, na chlwy',
Ar f'enaid tlawd, heb fod gan Iesu fwy;
Anfeidrol fwy o werth sydd yn Ei waed;
Os trengu wnaf, mi drengaf wrth Ei draed.

2 O Iesu gwiw! gwŷn fyd a brofo'th ddawn,
A'th gariad pur, yn felus nerthol iawn;
Digonedd wyt i hwn tra ynddo chwŷth;
Nid oes i'w gael, na'i geisio'n rhagor byth.

3 Fy Iesu hardd! hyfrydwch nefol lu!
Mor bêr i'r glust yw sain Dy enw cu;
I'r genau mae fel mêl yn felus bur,
Fel nefol wîn i'r galon dàn ei chur.

4 Am danat, Iesu, yn fynych mae fy nghŵyn;
Pa bryd y câf Dy lòn ymweliad mwyn?
Pa bryd y gwnai fi'n llawen â Dy wedd?
Pa bryd y câf fy llenwi â Dy hedd? BERNARD, C. T. J.

## 68 (9) *Ymffrostio yn Nghrist.*

10au.—Penítentia. Pax Dei.

1 DARFYDDED sôn am haeddiant dyn, a'i rym,
Fe dawdd yn llwyr o flaen cyfiawnder llym;
Yn nghlwyfau'r Oen ymffrostia f'enaid tlawd,
Daeth trefn y nef â'r Iesu imi'n Frawd. G. 2.

2 Ar dir na môr Ei debyg, gŵn, nid oes ;
Seraphiaid pur ni thraethant byth mo'i oes ;
Mi ddringaf mwy, trwy nerth Ei râs o'm gwae,
Nes caffwy'n glir Ei weled fel y mae. DR. W., *c.* J. T.

## 69 (64) *Iesu wedi cario'r dydd.*

M. H.—Rockingham. Carey.

1 NEWYDDION brâf a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddent gael eu dwyn ar go'—
Mae'r Iesu wedi cario'r dydd,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

2 Mae Iesu Grist o'n hochr ni,
Fe gollodd Ef Ei waed yn lli,
Trwy rinwedd hwn fe'n dŵg yn iach
I'r ochr draw 'mhen gronyn bach.

3 Wel, f'enaid, weithian c'od dy ben,
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd wèn ;
Mae'n holl elynion ni yn awr,
Mewn cadwyn gan y Brenin mawr. J. D.

## 70 (95) *Cofio'r gwaed.*

M. H.—Leipsic. Ceredigion.

1 O ARGLWYDD ! cofia'th angeu drud,
A'th boenau mawrion yn y byd ;
A dadleu 'rhai'n âg uchel lef
Dros f'enaid tlawd yn nghanol nef.

2 O ! cofia'th wae, a'th waed, a'th gur,
Ac ôl yr hoelion llymion dur,
Dy chwŷs i'r llawr yn ddafnau gwaed,
A'th glwyfau mawr o'th ben i'th draed.

3 'R wy'n ceisio ymdreiglo at Dy waed,
Gan gwympo'n llaw trugaredd râd ;
'D oes gweithred dda yn eiddof fi
All hòni hawl i'r nefoedd fry. W.

## 71 (25) *Y taliad llawn.*

M. H.—Winchester. Mamre.

1 GOFYNIAD nefoedd faith ei hun
A dalwyd gan Iehofah ddyn ;
Ac nid oedd ond trysorau'r nef
Yn ddigon fyth i'w dalu ef.

2 Trysorau na ddarfyddant byth
Pe telid oesoedd rif y gwlith ;
Gwerth uwch pob gwerth a glywŷd sôn
Oedd gwaed y croeshoeliedig Oen.

3 Iawn mwy o bwys na buasai 'nghyd
Aneirif anwireddau'r byd ;
A dim ond gwaed fy Iesu mawr
A droisai'r glorian hyd y llawr.

4 Anturia 'nghalon euog ddu,
At orsedd grâs yn awr yn hy' ;
Mae'r fainc yn rhydd, a'r rhodd yn rhâd,
Os gelli gredu yn Ei waed. W.

## 72 (24) *Angeu'r groes.*

M. H.—Mamre. Winchester.

1 Y MAE hapusrwydd pawb o'r byd
Yn gorphwys yn Dy angeu drud ;
Hyfrydaf waith angylion fry
Yw canu am fynydd Calfari.

2 O holl weithredoedd nef yn un,
Y benaf oll oedd prynu dyn ;
Rhyfeddod mwyaf o bob oes
Yw'm Iesu yn marw ar y groes !

3 Wel, dyma'r trysor mwyaf drud,
Gwaed Iesu'n llifo dros y byd !
Fyth na foed ond Ei farwol glwy'
Yn sylfaen pob caniadau mwy.

4 Darfydded canmawl neb rhyw un,
Darfydded sôn am haeddiant dyn ;
Darfydded ymffrost o bob rhyw—
'D oes ymffrost ond yn ngwaed fy Nuw. W.

## 73 (112) *Rhinwedd y groes.*

M. H.—Brynteg. Spires.

1 O IESU mawr ! y Meddyg gwell,
Gobaith yr holl ynysoedd pell,
Dysg fi i seinio 'maes Dy glòd
Mai digyfnewid wyt erioed.

2 O ! hoelia 'meddwl, ddydd a nôs,
Crwydredig, wrth Dy nefol groes ;

A phlana'm hysbryd yn y tir
Sy'n llifo o lawenydd pur :

3 Fel b'o fy nwydau drwg yn lân
Yn cael eu difa â'r nefol dân ;
A chariad yn melysu'r groes,
Trwy olwg ar Dy farwol loes.

4 Ti fuost farw, rhyfedd yw !
Fel caffai Dy elynion fyw,
I'th gôl, O ! derbyn, rho ryddhâd
I'r sawl a brynaist â Dy waed.

5 Fe gaiff Dy enw anwyl glôd
Pan dderfydd nef a daear fôd,
Am achub un mor wael ei lun
Nad all'sai ei achub ond Dy Hun. W.

## 74 (107) *Crist, nerth y credadyn.*

M. H.—Babilon. Menai.

1 AR D' enw Di, Greawdwr byd,
'R wy'n rho'i f'ymddiried oll i gyd ;
Rhyfedd mor wàn wyf ddydd a nôs,
'D wy'n gwel'd dim gallu ond ar y groes.

2 O deffro'm ffydd ! rho afael gref
Â'th freichiau'n dỳn am dano Ef ;
Er ofnau fyrdd, na âd E'n rhydd,
Tra yn dy freichiau càri'r dydd.

3 O ! cymmer, Iesu, fi fel 'r wyf,
A chuddia fi yn Dy nefol glwyf ;
Can's dyna'r graig y gwnaf fy nyth,
'D oes neb yn ofni yno byth.

4 Gâd imi, Iesu, ddydd a nôs,
I dreulio'm hamser tàn Dy groes ;
'D oes gyflwr arall dàn y ne'
I ofnog rai yn addas le. W.

## 75 (47) *Yr Iesu yn rhoddi Ei Hun.*

M. H.—Lledrod. Samson.

1 O'R holl fendithion ga'dd y byd,
Wel dyma'r fwyaf un i gyd ;,
I'm Iesu Ei Hun
Dros aflan ddyn ro'i 'i fywyd pur.

2 Wel, f'enaid, bellach dôs yn mlaen,
Nac ofna ddŵr, nac ofna dân;
Aeth dàn y groes,
Ac angeu loes, Ei Hun o'm blaen.

3 Fe goncrodd angeu â'i farwol gledd,
Fe faeddodd uffern fawr a'r bedd;
Gwnaeth ffordd i mi.
Ar Galfari, o'r ddae'r i'r nef.

4 Boed iddo mwy ganiadau o glôd,
Tra nefoedd fawr a dae'r mewn bôd;
Ac na foed sôn
Ond am yr Oen a'i farwol glwyf.

5 O! d'weded pawb am rîn y gwaed,
Maddeuant llawn, maddeuant rhâd;
Dim achwyn mwy,
Ond canu am glwy' Calfaria fryn. W.

## 76 (67) *Gwrthrych cariad.*

M. H.—Rockingham. Carey.

1 WRTH droi fy ngolwg yma i lawr
I gŷrau'r holl greadigaeth fawr,
Gwrthrych ni wêl fy enaid gwàn
Ond Iesu i bwyso arno'n rhan.

2 Dewisais Ef, ac Ef o hyd
Ddewisaf mwy tra yn y byd;
Càn' gwynfyd ddaeth i'm henaid tlawd—
Cael Brenin nefoedd imi'n Frawd.

3 Fy nghysur oll oddi wrtho dardd;
Mae'n Dad, mae'n Frawd, mae'n Brïod hardd;
F'Arweinydd llariaidd tua thref,
F'Eiriolwr cyfiawn yn y nef.

4 'Fe garaf bellach tra f'wyf byw,
Uwch crëaduriaid o bob rhyw;
Er gwaethaf dae'r ac uffern drist,
F'Anwylyd i fydd Iesu Grist.

5 O! p'am yr wyt, fy enaid, clyw!
Am grwydro yn mhell oddi wrth fy Nuw?
Ni che's fath bleser dàn y nef
Ag gefais yn Ei gariad Ef.

6 Mor bêr a manna'r nefoedd fry
Yw hyfryd hedd f'Anwylyd cu ;
Mwynhâd o'i gariad Ef a'i râs,
Na'r diliau mêl sy'n well ei flâs. W.

## 77 (52) *Y groes yn codi uwch y byd.*

M. H.—Kent. Mainzer.

1 MAE rhyw ddirgelwch llawer mwy,
Oes, Iesu, yn Dy farwol glwy',
Nag y gall sant tra ynddo chwŷth,
Na seraph pur, ei ddeall byth.

2 Ni cheisiaf loches ond Dy glwy',
Dan dònau mawrion fwy na mwy ;
Mae'th waed, yn nyfnder culni a gwae,
Yn abl fy rho'i i lawenhau.

3 Cyflawna'th air, doed im' a ddêl,
Dy eiriau Di sy i gyd dan sêl ;
Ni raid ond gair, a dyna i gyd,
I g'odi'm henaid i o'r byd.

4 Mae hyfryd sŵn Dy Ysbryd pur,
Sy'n chwythu yr awelon gwir,
Yn peri im' anghofio'r byd
Yn gyfan, a'i deganau i gyd.

5 'R wyf wedi blino ar fyd o wae,
Lle nad oes bleser i'w fwynhau ;
A'm blinder fyth yw'r un ag oedd,
Sef ffaelu'th garu wrth fy modd.

6 Os câf fi'th garu, dyro'r byd
I'r rhai sy'n rhoddi arno'u bryd ;
Rho iddynt hawddfyd, parch, a bri :
Ni cheisiaf ond Dy garu Di. W.

## 78 (97) *Hyder yn yr Eiriolwr.*

M. H.—Ceredigion. Leipsic.

1 PECHADUR wyf, da gŵyr fy Nuw,
Llawn o archollion o bob rhyw,
Yn byw mewn eisieu o waed y groes
Bob munyd awr o'r dydd a'r nôs.

2 Yn nghanol cyfyngderau caeth,
A myrddiwn o ofidiau maith,
Gâd imi roddi pwys fy mhen
I orphwys ar Dy fynwes wèn.

3 O! cofia fi ger bron y Tad,
A dangos iddo werth Dy waed;
O! dadleu'n awr yn nghanol ne'
I Ti ro'i'th fywyd yn fy lle.

4 Gâd imi dreulio'm dyddiau i gyd
I edrych ar Dy wyneb-pryd;
Difyru'm hoes o awr i awr
I garu fy Eiriolwr mawr.

5 O! cofia fi pan b'wy'n y bedd,
A chasgla'm llwch i'r làn mewn hedd;
O! arddel fi yn y farn a ddaw,
A gosod fi ar Dy ddeheu law. W.

## 79 (66) *Y ffordd newydd.*

M. H.—Rockingham. Carey.

1 FFORDD newydd wnaed gan Iesu Grist
I basio heibio uffern drist,
Yr hon balmantwyd ganddo Ef,
O ganol byd i ganol nef.

2 Agorodd Ef yn llêd y pen
Holl euraidd byrth y nefoedd wèn,
'Ro'i rhyddid i'w gariadau Ef
I mewn i holl drigfanau'r nef.

3 Os tònau gawn, a stormydd chwith,
Mae Duw o'n tu, ni foddwn byth;
Wrth gredu'n gryf, down,'maes o law
Yn iach i'r làn yr ochr draw.

4 Mil myrdd o frodyr anwyl sy
O'u gofid oll yn gorphwys fry;
'Cha'dd neb o'r rhei'ny fyn'd yn rhydd
Heb brofi o bwys a gwrês y dydd.

5 Paham disgwyliwn fyn'd i'r nef
Heb gario'r groes a gariodd Ef?
Mwy melus fydd y nefoedd pan
Yr elom iddi yn y màn. W.

## 80 (78) *Dewis Iesu.*

M. H.—Boston. Ernan.

1 'RWY'n dewis Iesu a'i farwol glwy'
Yn Frawd a Phrïod imi mwy;
Ef yn Arweinydd, Ef yn Ben,
I'm dwyn o'r byd i'r nefoedd wèn.

2 Wel, dyma un, O! d'wedwch p'le
Y gwelir arall fel Efe,
A bery'n ffyddlawn im' o hyd,
Yn mhob rhyw drallod yn y byd?

3 Pwy wrendy riddfan f'enaid gwàn?
Pwy'm cwyd o'm holl ofidiau i'r làn?
Pwy garia 'maich fel Brenin ne'?
Pwy gydymdeimla fel Efe?

4 Wel, ynddo ymffrostiaf innau mwy;
Fy holl elynion, d'wedwch, Pwy
O'ch cewri cedyrn, mawr eu rhi',
All glwyfo mwy f' Anwylyd i? W.

## 81 (96) *Angeu Crist.*

M. H.—Leipsic. Ceredigion.

1 O! FEIAU mawr, 'beth all'sech fwy
Na rhoddi i Frenin nefoedd glwy'?
Lladdasoch Ef; fe drôdd y rhôd,
Mae dydd eich dïal chwithau'n d'od.

2 Dirgelwch o anfeidrol ryw
I'm Iesu farw, ac Yntau'n Dduw!
Mae'n bleser gan angylion nef
Fyfyrio ar Ei angeu Ef.

3 Dyma lle bydd fy nhrigfan i,
O fewn i glwyfau 'Mhrynwr cu;
Y màn nas tŷr euogrwydd trwy,
Y màn nas beiddia Satan mwy. W.

## 82 (27) "*Fy Anwylyd sydd wŷn a gwridog.*"

M. H.—Winchester. Mamre.

1 OS gofyn neb sydd ar y llawr
P'am cara'i 'n llyn fy Iesu mawr;
Pe gwelai pawb Ef fel y mae,
Dôi'r byd i'w garu yn ddi-lai.

2 'D oes unrhyw harddwch yn y byd,
Nac un o fewn y nef i gyd,
Na gràs, doethineb, nerth, na dawn,
Nad yw ef yn fy Iesu'n llawn.

3 Mae'n wŷn—mae'n sanctaidd, mae'n ddi-fai,
Mae'n wridog—colli Ei waed a wnai ;
Mae'n Iawn tragwyddol—aberth mawr,
Yn gymmwys imi, lwch y llawr.

4 'N awr Brenin y brenhinoedd yw,
Uwch i'w gymharu â dynolryw ;
Rhinweddau'r Duwdod yn gyttûn
Sy'n awr yn ddisglaer ynddo Ei Hun. DR. W., *ef.* W.

## 83 (110) *Nerth Crist o blaid pechadur.*

M. H.—Brynteg. Spires.

1 GELYNION sydd o fesur mawr
Yn curo f'enaid gwàn i lawr ;
Rhaid imi gael Dy nefol râs
Cyn gallwy'n hollol gario'r maes.

2 Cref yw Dy fraich, mawr yw Dy rym,
Nid oes a saif i'w herbyn ddim ;
Gair o Dy enau Di Dy Hun
'Ladd fy ngelynion bob yr un.

3 Rho imi lechu yna'n glyd,
Tu hwnt i sŵn fy meiau i gyd,
Uwch twrf a themtasiynau'r llawr,
Dàn gysgod Dy gyfiawnder mawr. W.

## 84 (81) *Haeddiant yr Oen.*

M. H.—Boston. Ernan.

1 'DOES arnaf eisieu yn y byd
Ond golwg ar Dy haeddiant drud,
A chael rhyw brawf o'i nefol rîn,
I 'mado'n lân â mi fy hun.

2 'R wyf yn ei wel'd, ei wel'd o bell,
Na'r cwbl dàn yr haul yn well ;
Ond O ! na allwn ddringo'n awr
I'r màn lle mae'n diferu i lawr.

3 Er bod Dy haeddiant gwerthfawr, drud,
Yn fwy na'r nef, yn fwy na'r byd,

Yn rhyw anfeidrol berffaith Iawn,
'R wy'n methu gorphwys arno'n llawn.

4 'R wy'n ymdrybaeddu yn fy ngwaed,
Yn nghanol dyrys anial wlad;
Yn ceisio dringo fyth i'r làn,
Heb eto dd'od i'r hyfryd fàn.

5 O flaen y drugareddfa fawr,
Yn trengu wrth Dy draed i lawr,
Gwêl y pechadur duaf gaed
Yn brefu am rinweddau'th waed. W.

## 85 (40) *Cysgod Craig fawr.*

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 RHYW ŵr—rhyfeddol ŵr yw Ef—
Sydd imi'n lloches gadarn gref;
Fel uchel graig fy nghysgod fydd,
Rhag marwol wrês y poethlyd ddydd.

2 Yr hynod Graig, ein Iesu cu,
Sy'n llawer uwch na'r nefoedd fry;
O dano Ef y llecha'i'n glyd,
Yn mhob rhyw stormydd yn y byd.

3 Fe d'raw'd y Graig; mae ffrydiau hon
Yn oeri'r llosgfa dàn fy mron;
Fe d'raw'd y Graig; a'i dyfroedd pur
Yw'm cysur yn yr anial dir.

4 Yn holltau'r Graig fy nhrigfa fydd,
Drwy ryfedd faith dragwyddol ddydd;
Câf yma hyfryd wedd fy Nuw,
Disgleiriad Ei berffeithiau gwiw. D. C.

## 86 (43) *Coronwch Ef.*

M. H.—Luther's Chant. Lledrod.

1 HENFFYCH i enw Iesu gwiw,
O'i flaen ymgrymed engyl Duw;
Rho'wch iddo'r parch, holl deulu'r nef:
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

2 Chwychwi a brynwyd trwy Ei waed,
Yn isel plygwch wrth Ei draed;
Fe'ch tŷnodd â thrugaredd gref:
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

3 Boed i bob llwyth a phob rhyw iaith,
Trwy holl derfynau'r ddaear faith,
Gydganu'n llafar iawn eu llef:
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

4 Er bod eu beiau'n aml iawn,
Mae ganddo iachawdwriaeth lawn;
Eu cànu'n wŷn wna Brenin nef:
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef. PERRONETT, C. W. G.

## 87 (87) *Gogoniant Crist yn y nefoedd.*

M. H.—Whitburn. Hursley.

1 TYR'D nefol g'lomen, oddi fry,
A ch'od ni ar Dy adenydd cu;
Esgyn a dŵg ni 'fyny'n grŵn
Uwch law holl bethau'r bywyd hwn

2 Tu hwnt i'r wybren isaf hon,
Lle try tragwyddol oesau llon,
Y mae pleserau pur, di-lŷth,
A ffrwythau i wledda'r enaid byth.

3 O! am gael golwg hoff o'r wlad,
A gorsedd ein tragwyddol Dad,
Lle'r eiste'n Prynwr mawr Ei fri
Mewn corph cyffelyb i'n cyrph ni.

4 Y saint o'i gylch addoli maen',
A holl lu'r nef yn plygu o'i flaen;
Duw sy'n llewyrchu trwy y dyn
Ei bur ogoniant ar bob un.

5 Pa bryd daw'r dydd, fy anwyl Dduw,
Câf finnau esgyn yno i fyw,
I sefyll, plygu, yn eu plith,
Gwel'd, moli, a charu, f'Arglwydd byth?

DR. W., C. D. J.

## 88 (36) *Duw yn ngoleuni y groes.*

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 DUW! er mor ëang yw Dy waith,
Yn llauw'r holl greadigaeth faith,
'D oes dim trwy waith Dy ddwylaw oll
At gadw dyn fu gynt ar goll.

2 Dyma lle mae D'anfeidrol râs
Hyd eitha'n cael ei daenu i maes ;
A holl lyth'renau D'enw gawn
Yn cael eu dangos yma'n llawn.

3 Ar Galfari, rhwng dae'r a nef,
Llewyrchodd Ei ogoniant Ef ;
Un haul ymguddiodd y prydnawn,
A'r llall a wnaed yn eglur iawn.

4 Nid oedd ond gwaed 'sgrifenai i gyd
Ddyfnderoedd mawr anfeidrol lîd ;
Nid oedd ond gwaed osodai i maes
Derfynau'r gwaredigol râs.

5 Pa ddawn sydd yn y Duwdod mawr
Nad yw'n ysgrifen yma i lawr ?
'Beth all'sai ddangos pwy wyt Ti
Yn well nag angeu Calfari ?

6 O ! fyrddiwn ryfeddodau'r groes !
Dioddefodd f' Arglwydd angeu loes :
Caru hyd at ddïoddef llîd ;
Caru a marw yr un pryd. W.

## 89 (32) *Y Meddyg anffaeledig.*

M. H.—Winchester. Mamre.

1 ERIOED ni chlywyd mewn un wlad,
Am neb fel Iesu, 'r Meddyg rhâd ;
Na meddyginiaeth mewn un oes,
Yn gwella pawb, ond gwaed y groes. T. W.,—*ar.*

## 90 (140) *Dyfais y prynedigaeth.*

8. 8. 8.—St. Paul's. Nashville.

1 O ! dyma'r ddyfais fwya'i maes,
Y fwya'i chariad, fwya'i grâs,
Agorodd ffordd o'r ddae'r i'r nef ;
Cariad heb gymmar iddo'r un,
A nofiodd, yn ei waed ei hun,
Trwy angeu, oedd Ei gariad Ef.

2 Fe goncrodd, trwy angeuol glwy',
O elynion creulawn, nerthol, fwy
Nag all'sai byd i goncro'n un :

Fe faeddodd uffern ëang, lawn,
Ar ben Calfaria un prydnawn,
Yn lân heb neb ond Ef Ei Hun.

3 Doed bellach Indiaid pella'r byd,
Doed gogledd, dwyrain, de, ynghyd,
I ganu Ei iachawdwriaeth Ef :
Dadseinied holl dafodau'r byd,
Ac aur delynau'r nef ynghyd,
Na pheidient tra f'o nef y nef.

4 Boed oesoedd meithion, fwy na mwy,
Heb rif, heb ddarfod arnynt hwy,
I ganu am Dy ddirfawr boen :
Na thawed tafod o un rhyw,
Na dim o dàn y nef sy'n byw,
Ond sôn am goncwest addfwyn Oen. W.

## 91 (126) *Mawredd cariad Crist.*

8. 8. 8.—Altorf. Mawl.

1 NIS gall angylion nef y nef
Fynegu maint Ei gariad Ef,
Mae angeu'r groes yn drech na'u dawn :
Bydd canu uwch am Galfari
Nag glywodd yr angylion fry,
Pan ddelo Salem bur yn llawn.

2 Nis teimlodd neb ond Ef Ei Hun
Anfeidrol werth fy enaid cûn—
Uwch da, uwch aur, uwch perlau drud :
Ni thalai dim ond gwaed fy Nuw—
Angeuol, farwol loes, a byw,
A'm prynai o dragwyddol lîd.

3 Y penaf drysor heddyw yw,
O fewn y nefoedd, gwaed fy Nuw,
Holl sylwedd y caniadau i gyd ;
A dyna'r gwaed a roddodd Iawn
I ddwyfol ddigder, perffaith lawn ;
Fy hedd a'm cysur yn y byd.

4 Am iddo farw ar y bryn,
Ca'dd f'enaid bach ei brynu'n llyn,
A'i dynu o'i gadwynau'n rhydd :

Wel, bellach, dàn Ei haeddiant Ef,
Fel cysgod cedrwydden gref,
Gorphwysaf mwy yn ngwrês y dydd. W.

## 92 (139) *Gorsedd grâs ar Galfaria.*

8. 8. 8.—Nashville. St. Paul's.

1 BOED bryn y groes, boed Calfari,
Yn uwch na'r bryniau mwya'u bri,
Can's yma collwyd gwaed fy Nuw;
Ac yma rhedodd cariad pur,
Yn afon ddifrycheulyd, glir,
I'm golchi, 'r ffiaidd, dua'i liw.

2 Na foed im' feddwl, ddydd na nôs,
Ond cariad perffaith angeu'r groes;
Hwn alwaf mwy yn orsedd grâs:
Ar Galfari mae mainc y nef,
Yn agos at Ei groesbren Ef;
Oddi yno rhoddir hedd i maes.

3 'Beth, bellach, wnaf â'r anial fyd
Sydd yn dymhestloedd trwyddo i gyd,
Bwystfilod rheibus ynddo o'r bron?
Mae genyf fil hyfrydach lle,
Mae'm Iesu eisoes ynddo 'fe,
Ond rho'i ffarwèl i'r ddaear hon.

4 'D wy'n ofni ond yr afon ddu
Sydd rhyngwyf a fy nghartref fry—
Yr angeu glâs wnaeth fyrdd yn wàn:
Fy enaid, 'mafael yno yn llaw
Yr Hwn Ei Hun aeth drwyddi draw,
Ac yn Ei law mi ddôf i'r làn. W.

## 93 (131) *Hawddgarwch Crist.*

8. 8. 8.—Llangollen. Llangoedmor.

1 NI welodd llygad dyn erioed,
Ni chlywodd clust o dàn y rhôd
Am neb cyffelyb iddo Ef:
O! Rosyn Saron hardd Ei liw!
Pwy ddôd i maes rinweddau'm Duw?
Efe yw bywyd nef y nef.

2 Mae yn Ei glwyfau drysor drud,
I faddeu beiau pena'r byd,
O flaen yr orsedd buraf sydd;
Ni all euogrwydd yno ddim,
Fe gyll holl ddeddfau Sinai'u grym;
Maddeuant perffaith garia'r dydd.

3 Fe ddaw dïwrnod—doed pan ddêl,
A'r llygaid yma'u hun a'i gwêl,
Pan ymddangoso'i fawredd Ef,
Mewn rhwysg a harddwch, parch a bri,
Yn mhlith y dorf aneirif fry,
Fydd yn rhyfeddod nef y nef.

4 O! f'enaid, edrych arno'n awr,
Yn llanw'r nef, yn llanw'r llawr,
Yn holl ogoniant dŵr a thir;
Nid oes, ni fu erioed, ni ddaw,
O'r dwyrain i'r gorllewin draw,
Gyffelyb i'm Hanwylyd pur.

5 Mi garaf fy Anwylyd mwy,
Ddioddefodd troswyf farwol glwy',
Agorodd ffynnon loyw, fyw,
I olchi hen archollion wnaed
Gan bechod câs, o'm pen i'm traed,
Y dyfroedd dardd dàn groes fy Nuw. W.

## 94 (133) *Iawn a maddeuant.*

8. 8. 8.—Llangollen. Llangoedmor.

1 GWNAED concwest ar Galfaria fryn,
Am dani cânodd myrdd cyn hyn:
Fe faeddwyd uffern faith i gyd;
Fe brynwyd gwael golledig ddyn,
Fe wnaed y ddwyblaid ddîg yn un,
Â gwaed Iachawdwr mawr y byd.

2 Wel, dyma'r Cyfaill goreu gaed;
Mae'n ganmil gwell na mam na thad;
Yn mhob caledi ffyddlawn yw:
Mae'n medru maddeu a chuddio bai,
Ac o'i wir fodd yn trugarhau
Wrth bechaduriaid gwael eu rhyw.

3 Yr afon fawr o waed y groes
Yw iechyd f'enaid ddydd a nôs :
A thyma p'am yr wyf yn fyw :
Mae'r ffynnon fywiol, fawr, ddi-drai,
Yn para byth i ddyfrhau—
Anfeidrol haeddiant gwaed fy Nuw.

4 Ei haeddiant mawr anfeidrol Ef,
A lwyr foddlonodd nef y nef,
A geidw'm henaid yn ddi-grŷn ;
Yn ngwres y dydd a'r stormydd mawr,
Efe a'm daliodd hyd yn awr :—
Gogoniant byth i Geidwad dyn. M. R.

## 95 (150) *Iachawdwriaeth yn Nghrist yn unig.*

8. 8. 8. 6. 4ll.—Misericordia. Leeds.

1 TYR'D Iesu help fi gario'r maes,
Fy unig noddfa yw Dy râs,
O atal fy ngelynion câs ;
D' ogoniant fydd fy nghân.

2 'R wy' wedi pwyso oll yn nghyd,
I 'mado â theganau 'r byd,
Fel peth annheilwng o fy mryd,
A pheth di-les, di-rym.

3 Fy iachawdwriaeth werthfawr, gu,
Sydd, Iesu, yn unig ynot Ti,
Ac ynot ymddiriedaf fi,
Yn ngŵydd pob gelyn llym.

4 Fe'm galwodd â'i effeithiol râs,
Pan o'wn i'n gorwedd yn y maes,
Yn archolledig gan fy nghâs,
Heb neb yn trugarhau.

5 Er dyfned yw fy ffiaidd glwy',
Mi ŵn na âd mo honwy' mwy ;
Tragwyddol gariad sydd yn fwy
Na phwysau maith fy mai.

6 Ac yn Ei freichiau mi ä 'mlaen
Trwy 'stormydd a thrwy fflamau tân ;
Câf wel'd fy etifeddiaeth lân,
Dragwyddol 'maes o law. W.

## 96 (151) RHAN II.

8. 8. 8. 6.—Misericordia. Elmhurst.

1 NI fedr tafod mewn un modd
I ddodi 'th râs i maes ar g'oedd,
Nac anfeidroldeb maith Dy rôdd,
Dy gariad a Dy hedd.

2 Pe deuai'r saint o'u bron i gyd
Sy'n canu'n awr mewn nefol fyd,
Nis gallent fyth i draethu 'nghyd
Mor deced yw Dy wedd.

3 Ti roddaist ynof 'n awr yn nglŷn
Egwyddor nefol bur ei rhîn,
Fel nad oes dim ond Ti Dy Hun
Fyth bellach wrth fy modd.

4 O! tyred, Arglwydd, tyr'd yn glau,
Gâd imi bellach Dy fwynhau,
Ateba'r duedd bur ddi-drai
A roddaist imi'n rhôdd.

5 Os unrhyw eilun yn y byd
A gais ryw loches yn fy mryd,
Mi a'u ffieiddiaf hwy i gyd,
Mi'th garaf Di Dy Hun. W.

## 97 (152) *Fel, fel yr wyf.*

8. 8. 8. 6. 4ll.—Misericordia. Leeds.

1 FEL, fel yr wyf, 'n awr atat Ti,
Heb ble ond aberth Calfari,
A'th fôd yn galw arnaf fi,
O Ddwyfol Oen! 'r wy'n d'od.

2 Fel, fel yr wyf, heb oedi 'n hwy
I geisio 'n ofer wella 'nghlwy',
Ond atat Ti all wella mwy,
O Ddwyfol Oen! 'r wy'n d'od.

3 Fel, fel yr wyf, â'm heuog fron
Yn derfysg drwyddi, fel y dòn,
Yn ofni suddo'r funyd hon,
O Ddwyfol Oen! 'r wy'n d'od.

4 Fel, fel yr wyf, yn ddall, yn dlawd,
Y truenusaf un a ga'w'd,

Gan ddisgwyl ynot Ti gael Brawd,
O Ddwyfol Oen ! 'r wy'n d'od.

5 Fel, fel yr wyf, 'gael fy iachau,
'R wyt Ti yn maddeu, yn glanhau,
Gan gredu yn Dy air y gwnai,
O Ddwyfol Oen ! 'r wy'n d'od.

6 Fel, fel yr wyf, mae'th gariad mawr,
Yn tori'r rhwystrau oll i lawr,
'Gael bôd yn eiddot byth yn awr,
O Ddwyfol Oen ! 'r wy'n d'od.

7 Fel, fel yr wyf, i gael mwynhâd,
Tra ar y llawr o'th gariad rhâd,
Ac wed'yn byth mewn nefol wlad,
O Ddwyfol Oen! 'r wy'n d'od. C. ELLIOTT,—*c.* T. LE.

## 98 (170) *Cwymp Eden, a chodiad Calfaria.*

8. 8. 6.—St. John. Seion.

1 YN Eden, cofiaf hyny byth,
Bendithion gollais rif y gwlith ;
Syrthiodd fy nghoron wiw :
Ond buddugoliaeth Calfari
Ennillodd hon yn ol i mi ;
Mi ganaf tra b'wyf byw.

2 Ar Galfari, yn ngwrês y dydd,
Y caed y gwystl mawr yn rhydd,
Trwy golli gwaed yn lli' ;
'N awr dim heb dalu, rhoddwyd Iawn
Nes clirio llyfrau'r nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi.

3 Ffydd, dacw'r fàn, a dacw'r pren,
Yr hoeliwyd arno D'wysog nen,
Yn wirion yn fy lle :
Y ddraig ysigwyd gan Dduw-ddyn,
Can's clwyfwyd dau, gorchfygodd Un,
Ac Iesu oedd Efe. W.

## 99 (208) SALM CX. 1, 3, 4—7.

M. S.—Silesia. Mary.

1 DYWEDAI Iôn wrth f' Arglwydd mau,
Ar fy llaw ddehau eistedd,

Nes rhoddi'r rhai a gais Dy waed
Yn fainc i'th draed i orwedd.

2 Yn nydd Dy nerth Dy bobl a ddaw,
Âg aberth llaw 'n 'wyllysgar;
Yn sanctaidd hardd daw'r cynnyrch Tau,
O wlith y borau hawddgar.

3 Yr Arglwydd dyngodd, ac ni wâd,
Ti sy'n Offeiriad bythol,
'N ol urdd Melchisedec o fry,
A bery yn dragwyddol.

4 Yr Arglwydd ar Dy ddehau law
Brenhinoedd draw a friwia;
Brenhinoedd cryfion, uchel frîg,
Yn nydd Ei ddîg archolla.

5 Ar y cenhedloedd rhydd farn iawn,
A'u gwlad gwna'n llawn celanedd;
A llawer pen dros wledydd mawr
A dŷr i lawr yn unwedd.

6 O wir frŷs i'r gyflafan hon,
Fe ŷf o'r afon nesa'
A gaffo ar Ei ffordd yn rhwydd,
A'r Arglwydd a'i dyrchafa. E. P.

## 100 (267) *Cyflawnder Crist.*

M. S.—Eidduned. Gorphwysfa.

1 O'I ystlys bur yn cwympo i lawr
Yn afon fawr lifeiriol,
Maddeuant llawn a hedd di-drai,
Sydd i barhau'n dragwyddol.

2 Rhaid imi gael pob grâs, pob dawn,
O'th drysor llawn yn gyfan;
Ac oni châf, fy enaid prudd
A gyll y dydd yn fuan.

3 Dy wisg Dy Hun, cyfiawnder hael,
Raid imi gael yn mlaenaf;
Nid oes ond ofni dàn fy mron
Nes caffwyf hon am danaf.

4 Dy nerth drachefn, rho imi'n rhan;
Nid wyf ond gwàn yn erbyn

Torf o elynion creulawn cry'
Yn wastad sy'n fy nghanlyn.

5 O! fy Iachawdwr gwerthfawr, rhâd!
Nid oes ond gwaed Dy galon,
Yn unig gysur dàn y ne'
Ddiddana'r pererinion. W.

## 101 (268) *Gorphenwyd.*

M. S.—Padarn. Gorphwysfa.

1 PAN hoeliwyd Iesu ar y pren,
Yr haul uwch ben dywyllwyd;
Ond wele! yn y t'w'llwch mawr
Daeth gwawr o'r gair "Gorphenwyd!"

2 Pan y croeshoeliwyd Iesu cu,
Pyrth uffern ddu a lònwyd;
Ond trödd y pyrth i siomiant trist
Pan lefodd Crist, "Gorphenwyd!"

3 Pan y dechreuodd Crist dristau,
Telynau'r nef ostegwyd;
Ond dyblodd cân y drydedd nef
Pan lefodd Ef, "Gorphenwyd!"

4 Holl lafur Crist trwy boenus daith
A'i galed waith ddibenwyd,
Pan ro'es, â'i olaf anadl gref,
Yr uchel lef, "Gorphenwyd!" D. JS.

## 102 (269) RHAN II.

M. S.—Padarn. Gorphwysfa.

1 MAE Duw yn maddeu a glanhau
Yn angeu'r Oen a laddwyd;
A dyma waith efengyl gref,
Adseinio'r llef, "Gorphenwyd!"

2 I'r gwàn gan Satan lawer gwaith
Colliadau'i daith edliwiwyd;
Ond caed diangfa lawer tro
Wrth gofio'r gair "Gorphenwyd!

3 Troes cysgod angeu'n foreu ddydd,
Ei 'stormydd a ostegwyd,
Wrth gofio, yn yr oriau blìn,
Am rîn y gair, "Gorphenwyd!"

4 Daw gweiniaid Seion uwch law poen
I ŵydd yr Oen a laddwyd ;
Ar ben eu taith cânt hwythau'n wir
Gydwaeddi'r gair, "Gorphenwyd !" D. JS.

## 103 (225) *Digonolrwydd aberth Crist.*

M. S.—Cemmaes. Dyfroedd Siloah.

1 NA foed i'm henaid euog trist
Ond haeddiant Crist yn gyfran ;
Ei aberth Ef, llawn ddigon yw
I feddwl Duw Ei Hunan.

2 Os daw cydwybod lawn o dân,
Cyfiawnder glân, a'r gyfraith,
I'm gofyn mwy, fy atteb llawn
Yw'r Iawn a dalwyd unwaith.

3 Melldithied Ebal uwch pob bai,
Taraned Sinai danllyd ;
Yn nghysgod Crist, a'i Iawn, câf wledd,
Heb ofni cledd na drygfyd.

4 Pwy draetha'n llawn ddyfnderoedd gwerth
Yr aberth a'i fendithion ?
I ddyn caed heddwch nef yn ôl,
A Duw'n dragwyddol foddlon.

5 Rhyfeddir byth y geni'n dlawd,
Y byw dàn wawd a chroesau,
Y dioddef cosb heb unrhyw fai,
A'r ufuddhau heb rwymau.

6 Yr uchel gân fydd, "Iddo Ef !"
Trwy nef y nef yn seinio :
Yr ing, yr Iawn, a'r gwaedlyd chwŷs,
A felus gofir yno. R. O.

## 104 (211) *Enw grasol Iesu.*

M. S.—Morganwg. Persia.

1 MAE enw Crist i bawb o'r saint
Fel enaint tywalltedig,
Ac yn adfywiol iawn ei rîn
I'r enaid blîn lluddedig.

2 Pan fyddo f'enaid yn y llwch,
A th'w'llwch fel y fagddu,
Mae dawn a nerth i'm dwyn yn ôl
Yn enw grasol Iesu.

3 Gobeithiwch ynddo, bawb o'r saint,
Er cymmaint yw eich gofid,
Gan wybod fod eich Prïod gwiw
Yn ffyddlawn i'w addewid.

JS. H.

## 105 (222) *Crist yn bob peth.*

M. S.—Cemmaes. Dyfroedd Siloah.

1 SANCTEIDDRWYDD im' yw'r Oen di-nàm,
'Nghyfiawnder, a'm doethineb,
Fy mhrynedigaeth o bob plâ,
Fy Nuw i dragwyddoldeb.

2 'D all Satan, deddf, na gweddill bai,
Ddim damnio 'r rhai crediniol :
Mae gwaed yr Oen âg uchel lef
O fewn i'r nef yn eiriol.

3 O ! golch fi beunydd, golch fi'n lân,
Golch fi yn gyfan, Arglwydd ;
Fy nwylaw, calon, pen, a'm traed,
Golch fi â'th waed yn ebrwydd.

4 Bedyddia fi â'r Ysbryd Glân,
Fel tân pŵerus nerthol ;
Caiff ysbryd barn a llosgfa fod
Ar bechod yn wastadol.

5 Gwasgara weddill pechod câs,
Sêl fi â'th râs yn drigfan,
Yn berffaith hardd, yn deml wiw,
Adeilad Duw Ei Hunan.

6 O fewn i'r wlad tu draw i'r bedd
Câf weled gwedd Ei wyneb,
Ac yn Ei fynwes llechu câf,
Hyd eithaf tragwyddoldeb.

7 Fe gasgla'm llwch o'r bedd i'r làn,
Yn gyfan ac yn gryno ;
Câf gorph fel fy Anwylyd gwiw,
O hyfryd liw'n disgleirio.

W.

## 106 (214) *Archoffeiriad trugarog.*

M. S.—Morganwg. Persia.

1 COFFAWN yn llawen gyda pharch
Am râs ein Harchoffeiriad;
Un yw o galon dyner iawn,
A mynwes lawn o gariad.

2 Ni ddiffydd lîn f'o'n mygu byth,
Yn fflam fe'i chwyth yn hytrach:
Y gorsen ysig byth ni thŷr;
Y gwàn, fe'i gŷr yn gryfach.

3 Am hyny, yn Ei nerth a'i nawdd
Rho'wn ninnau'n hawdd ein hyder;
Cawn dderbyn gwaredigaeth gu,
Mewn awr o ddu gyfyngder. DR. W., *C.* D. J.

## 107 (221) *Brawd yn Brynwr.*

M. S.—Cemmaes. Dyfroedd Siloah.

1 DUW ymddangosodd yn y cnawd,
Fe gafwyd Brawd yn Brynwr;
Ni chollir neb, er gwaeled f'o,
A gredo i'r Gwaredwr.

2 Yr aberth mawr fu ar y groes,
A'r Iawn a ro'es yr Iesu,
Yw'm hunig obaith yn mhob man
Daw f'enaid gwàn i fyny. J. H.

## 108 (288) *Pob peth yn Nghrist.*

M. C.—Christchurch. Solomon.

1 TI, Iesu, ydwyt oll Dy Hun
Fy meddiant ar y llawr;
A Thi Dy Hunan fydd fy oll
O fewn i'r nefoedd fawr.

2 Mae 'nymuniadau maith eu hyd
Yn pwyntio oll yn un,
Dros bob gwrthrychau îs y sêr,
Ac atat Ti Dy Hun.

3 O! ffynnon trugareddau maith!
Diderfyn yw Dy râs,
I ro'i trysorau pena'r nef
I'r tlotaf un i maes.

4 Fy unig gysur dàn bob gwae
Dy fod Di imi'n Dduw ;
Ac yn Dy gysgod mi âf trwy
Gystuddiau o bob rhyw.

5 Anghyfnewidiol gair y nef,
Ond cyfnewidiol fi ;
Am hyn mi safaf, doed a ddêl,
Mae'r afael sicraf fry. W.

## 109 (296) *Nerth y Nef.*

M. C.—St. Stephan. French.

1 Y MAE trysorau dwyfol râs
O lawer uwch eu rhyw
Na dim, o'r nefoedd faith i'r byd,
Erioed a grëodd Duw.

2 Tra caffwyf yfed ar fy nhaith
O'r ffynnon loyw glir,
Nid ofnaf ronyn, er eu grym,
O ddrygau'r anial dir.

3 Er fod picellau tanllyd iawn
Yn 'hedeg yn eu grym ;
Yn erbyn cariad dwyfol pur
Nis gallant ddrygu dim.

4 Ac mi ymffrostia' yn nerth y nef—
Yn nerth y nef ei hun ;
Fe bwysa haeddiant dwyfol pur
Fwy na phechodau dyn. W.

## 110 (307) *Ffordd at yr orsedd.*

M. C.—Martyrdom. Bedford.

1 MAE pyrth y nef o lêd y pen,
Mi welaf fôr o waed,
Y gallaf fi'r ffieiddiaf ddyn,
Yn hollol gael iachâd.

2 Mae'r orsedd fawr yn awr yn rhydd,
Gwrandewir llais y gwàn ;
Wel, cyfod bellach, f'enaid prudd,
Anadla tua'r làn.

3 Wel, anfon eirchion aml rif,
I mewn i byrth y nef ;

Gwrandewir pob amddifad gri
  Yn union ganddo Ef.

4 Myfi anturia'n awr yn mlaen,
  Heb alwad îs y ne',
Ond fod perffeithrwydd mawr y groes
  Yn atteb yn fy lle.

5 Calfaria fryn yw'r unig sail
  Adeilaf arno mwy ;
A gwraidd fy nghysur fyth gaiff fod
  Mewn dwyfol farwol glwy'. W.

## 111 (308) *Y groes a'r eiriolaeth.*

M. C.—Martyrdom. Ballerma.

1 MI dafla' maich oddi ar fy ngwàr
  Wrth deimlo dwyfol loes ;
Euogrwydd fel mynyddau'r byd
  Dry'n ganu wrth Dy groes.

2 Os edrych wnaf i'r dwyrain draw,
  Os edrych wnaf i'r de,
Yn mhlith a fu, neu ynte ddaw,
  'D oes debyg iddo 'Fe.

3 Fe ro'dd Ei ddwylaw pur ar lêd,
  Fe wisgodd goron ddrain,
Er mwyn i'r brwnt gael bod yn wŷn
  Fel hyfryd lïan main.

4 Esgynodd fry i entrych nef
  I eiriol dros y gwàn ;
Fe sugna f'enaid innau'n lân
  I'w fynwes yn y màn.

5 Ac yna câf fod gydag Ef
  Pan êl y byd ar dân,
Ac edrych yn Ei hyfryd wedd,
  Gàn' harddach nag o'r blaen. W.

## 112 (321) *Dylanwad dwyfol glwyf.*

M. C.—Abergele. Engedi.

1 NIS gall angylion pur y nef,
  Â'u doniau aml hwy,
Fyth osod allan werthfawr brîs
  Anfeidrol, ddwyfol, glwy'.

2 Dioddefodd angeu, dygn boen,
A gofir tra b'o'r nef;
Fy nerth, fy nghyfoeth, a fy mraint,
A'm noddfa lawn yw Ef.

3 Fe'm denodd i, yn ddirgel iawn,
A distaw, ar Ei ôl;
Ac mewn afonydd dyfnion, llawn,
Cymmerodd fi'n Ei gôl.

4 Na foed fy mywyd bellach mwy
Yn eiddo i mi fy hun;
Ond treulier fy munydau i gyd
Yn glôd i'm Harglwydd cûn.

5 A gâd im' brofi'th nefol hedd
Yn mhob anadliad pur;
Ac felly myn'd o'r byd i'r bedd
Mewn hûn nefolaidd wir. W.

## 113 (322) *Iesu yn fwy na'r nef.*

M. C.—Abergele. Engedi.

1 NI feddaf ar y ddaear fawr,
Ni feddaf yn y ne',
Neb ag a bery'n anwyl im',
Yn unig ond Efe.

2 Mae ynddo'i Hunan drysor mwy
Nag fedd yr India lawn;
Fe brynodd imi fwy na'r byd
Ar groesbren un prydnawn.

3 Fe brynodd imi euraidd wisg,
Trwy ddioddef marwol glwy';
A'i angeu Ef a guddia'm gwarth
I dragwyddoldeb mwy.

4 O! na allwn rodio er Ei glôd,
Ac iddo bellach fyw,
A phob anadliad fyn'd i maes
I ganmol grâs fy Nuw. W.

## 114 (301) *Melusder a phurdeb cariad Crist.*

M. C.—Jerusalem. Tallis.

1 O DEFFRO 'n foreu, f'enaid gwàn,
Ar dòriad cynta'r dydd,

A llwyr gyssegra ddyddiau d'oes
I'r gwrthrych goreu sydd.

2 Câf yfed yma gariad pur,
Na phrofodd cnawd mo'i ryw,
Ac ymddifyru uwch y byd,
Ar bur bleserau'm Duw.

3 Uwch cyrhaedd pob serchiadau gwael
Yw'r cariad pur ei flâs
Ag sydd yn llifo'n loyw ffrŵd
O iachawdwriaeth grâs.

4 Dymunwn yma dreulio'm hoes,
O foreu hyd brydnawn ;
Lle cawn i wylo cariad pur
Yn ddagrau melus iawn. W.

## 115 (282) *Dyfnderoedd grâs.*

M. C.—St. Ann. Gloucester.

1 HYD yma, ni ddych'mygodd dyn,
Dan entrych awyr lâs,
Y fath ddyfnderoedd hyfryd sydd
Mewn gwaredigol râs.

2 Ni fu trugaredd faith, na grâs,
Na chariad îs y nef,
Yn mhlith angylion ucha'u gradd,
Cyffelyb sy ynddo Ef.

3 O! annherfynol fôr di-drai,
O haeddiant ac o râs,
'D all tragwyddoldeb, er ei hyd,
Ei ffeindio fyth i maes.

4 Ac yn Ei gariad dwfn a maith,
Mi nofiaf tua'r nef ;
Ac nid oes dymmestl fyth, na thòn,
Yn rhuo ynddo ef.

5 A châf, ar ol blinderau maith,
Yn hyfryd, lanio draw ;
Ac yfed gwleddoedd sanctaidd, pur,
Ryw ddedwydd ddydd a ddaw. W.

## 116 (285) *Ffyddlondeb Crist.*

M. C.—Christchurch. Solomon.

1 NI fethodd gweddi daer erioed
A chyrhaedd hyd y nef;
Ac mewn cyfyngder, f'enaid, rhêd
Yn union ato Ef.

2 Ac nid oes cyfaill mewn un màn,
Cyffelyb iddo'n bôd,
Pe baem yn chwilio'r ddaear faith,
A holl derfynau'r rhôd.

3 Yn mhob rhyw ddoniau mae yn fawr;
Anfeidrol yw Ei rym,
Ac nid oes pwysau ar Ei râs,
Na'i haeddiant dwyfol ddim.

4 Mae Ei ffyddlondeb fel y môr,
Heb fesur, ac heb drai;
A'i drugareddau hyfryd sy
'N dragywydd yn parhau.

W.

## 117 (324) RHAN II.

M. C.—St. Leonard. St. Peter.

1 ANTURIAF at Ei orsedd fwyn
Dan eithaf tywell nôs;
Ac mi orphwysaf, doed a ddêl,
Ar haeddiant gwaed Ei groes.

2 Mae ynddo drugareddau fil,
A chariad heb ddim trai,
A rhyw ffyddlondeb fel y môr
At Ei gystuddiol rai.

3 Mi ro'f ffarwèl i bob rhyw chwant—
Pob pleser îs y nen;
Ac 'r wy'n cymmeryd Iesu o'm bodd
Yn Brïod ac yn Ben.

4 Ni welaf wrthrych mewn un màn,
O'r ddaear lâs i'r ne',
A dâl ei garu tra f'wyf byw,
Yn unig ond Efe.

W.

## 118 (317) *Ymddifyru yn yr Iesu.*

M. C.—Abergele. Engedi.

1 IESU, difyrwch f'enaid drud
Yw edrych ar Dy wedd;
Ac mae llyth'renau D'enw pur
Yn fywyd ac yn hedd.

2 A thàn Dy aden dawel, bur,
'R wyf yn dymuno byw,
Heb ymbleseru fyth mewn dim
Ond cariad at fy Nuw.

3 O! cau fy llygaid, rhag im' wel'd
Pleserau gwâg y byd,
Ac imi ŵyro byth oddi ar
Dy lwybrau gwerthfawr drud.

4 'D oes genyf ond Dy allu mawr
I'm nerthu i fyn'd yn mlaen;
Dy iachawdwriaeth yw fy ngrym,
Fy nghoncwest, a fy nghân.

5 Melusach nag yw'r diliau mêl
Yw munyd o'th fwynhau;
Ac nid oes genyf bleser sydd
Ond hyny yn parhau.

6 A phan y syrthio sêr y nen,
Fel ffigys îr i'r llawr,
Bydd fy niddanwch, heb ddim trai,
Oll yn fy Arglwydd mawr. W.

## 119 (350) *Cariad a grâs yn Nghrist.*

M. C.—Culross. Burford.

1 FY meiau trymion, luoedd maith,
Waeddasant tua'r nen;
A thyna p'am 'r oedd rhaid i'm Duw
Ddïoddef ar y pren.

2 Hwy Dy fradychodd, anwyl Oen,
Hwy oedd y goron ddrain,
Hwy oedd y fflangell greulawn, gref,
Hwy oedd yr hoelion main.

3 Fy meiau oedd y waywffon
Drywanai 'i ystlys bur,

Fel rhedodd ffrwd o dàn Ei fron
O waed a dyfroedd clir.

4 O! gariad anorchfygol, maith,
Heb gymmar iddo'n bod;
Mae hwn i angel ac i sant,
O anghydmarol nôd.

5 O! maddeu 'mai, a chliria'n llwyr
F' euogrwydd oll i gyd;
Ac n' âd fi glwyfo'th fawredd mwy
Tra'n aros yn y byd. W.

## 120 (316) *Ffrwyth yr Ymgnawdoliad.*

M. C.—Belmont. Farrant.

1 YN mhlith holl ryfeddodau'r nef,
Hwn yw y mwyaf un,
Gwel'd yr anfeidrol Ddwyfol Fôd
Yn gwisgo natur dyn.

2 Ni chaiff fod eisieu byth, na thrai,
Tra seren yn y nef,
Ar neb o'r rhai a roddo'u pwys
Ar Ei gyfiawnder Ef.

3 Doed y trueiniaid yma 'nghyd,
Finteioedd heb ddim rhi';
Cânt eu diwallu oll yn llawn
O râs y nefoedd fry.

4 Fe ylch ein beiau i ffwrdd â'i waed,
Fe'n càna oll yn wỳn;
Fe'n dŵg o'r anial maith i maes,
I ganu ar Seion fryn. W.

## 121 (277) *Cariad a grâs yn Nghrist.*

M. C.—St. Ann. Gloucester.

1 WEL, dyma gyfoeth gwerthfawr, llawn,
Uwch holl drysorau'r llawr,
A ro'ed i'w gadw oll ynghyd
Yn haeddiant Iesu mawr.

2 Ei gariad lifodd ar y bryn,
Fel moroedd mawr di-drai;
Ac fe bwrcasodd yno hedd
Tragwyddol i barhau.

3 Ei gariad bery pan b'o'r byd
A'r haulwen fawr yn ddim ;
Ac nid oes gariad yn y byd
Cyffelyb idd ei rym.

4 Pan syrthio'r sêr fel ffigys îr,
Fe bery grâs fy Nuw :
A'i faith ffyddlondeb tra f'o nef,
Anghyfnewidiol yw. W.

## 122 (304) *Rhagoriaeth doniau Crist.*

M. C.—Tallis. Tiverton.

1 FFARWÈL, greaduriaid gwycha'u rhyw,
Pob enwau îs y ne' ;
Ni welaf wrthrych wrth fy modd
Yn unig ond Efe.

2 Mae'i ddoniau yn rhagori 'mhell
Ar holl frenhinoedd byd ;
A theimlo 'r wyf Ei fod Ei Hun
Yn hollol lanw 'mryd.

3 Mae'i eiriau fel y diliau mêl,
A'i holl orch'mynion sy
I gyd yn dangos rhinwedd maith
Sancteiddrwydd nefoedd fry.

4 Mae'i addewidion fel yr haul,
Yn sicr gadw'u lle ;
Ac nid ä'r sillaf leia' ar goll
O'i hyfryd eiriau E'.

5 A minnau'n hollol ro'f fy mhwys
Ar allu 'Mrenin mawr,
Yr Hwn a'm nertha i fyned trwy
Gystuddiau maith y llawr. W.

## 123 (276) *Y cyfan dan awdurdod Crist.*

M. C.—St. Ann. Gloucester.

1 'DÂ'I mofyn haeddiant byth, na nerth,
Na ffafr neb, na'i hedd,
Ond Hwnw'n unig gŵyd fy llwch
Yn fyw i'r làn o'r bedd.

2 Mae'n eistedd ar ddeheulaw'r Tad,
Ar orsedd fawr y nef ;

Ac y mae'r cyfan sydd mewn bôd
Dan Ei awdurdod Ef.

3 Y ddaear grŷn, ac uffern fawr
Wrth amnaid T'wysog nen ;
O ! fath ogoniant Hwnw fu
Yn dioddef ar y pren.

4 O Iesu ! cymmer fi i gyd,
Fel mŷnost gâd im' fôd,
Ond im' gael treulio pob yr awr
Yn hollol i Dy glôd. W.

## 124 (336) *Y cwbl yn Nghrist.*

M. C.—St. Agnes. Winchester Old.

1 MI âf yn mlaen yn nerth y nef
Tua'r paradwysaidd dir ;
Ac ni orphwysaf nes cael gwel'd
Fy etifeddiaeth bur.

2 Mae llais yn galw i maes o'r byd
A'i bleser o bob rhyw ;
Gwrandawaf finnau 'r hyfryd sŵn—
Llais fy Anwylyd yw.

3 'D wy'n gwel'd ar aswy nac ar dde,
'Mhlith holl wrthrychau'r byd,
Ddim dâl ymddiried yn ei nerth,
Na rhoddi arno 'mryd.

4 Iesu yw tegwch mawr y byd,
A thegwch pena'r nef ;
Ac y mae'r cwbl sydd o werth
Yn trigo ynddo Ef.

5 A boed fy mhleser bellach byth
O dàn Ei aden wiw ;
Na foed difyrwch genyf mwy
Mewn dim ond yn fy Nuw. W.

## 125 (287) *Coroni Iesu yn ben.*

M. C.—Christchurch. Solomon.

1 DYRCHAFER enw Iesu cu
Gan seintiau îs y nen ;
A holl aneirif luoedd nef,
Coronwch Ef yn Ben.

2 Angylion glân, sy'n gwylio'n gylch
O ddeutu Ei orsedd wèn,
Gosgorddion Ei lywodraeth Ef,
Coronwch Ef yn Ben.

3 Hardd lu'r merthyri, sydd uwch law
Erlyniaeth, braw, na sèn,
Â llafar glôd ac uchel lef,
Coronwch Ef yn Ben.

4 Yr holl brophwydi'n awr sy'n gwel'd
Y Meichiau mawr heb lèn,
A'i apostolion yn gyd-lef,
Coronwch Ef yn Ben.

5 Pob perchen anadl, yn mhob màn,
Dàn gwmpas haul y nen,
Ar fôr a thir, mewn gwlad a thref,
Coronwch Ef yn Ben.

6 Na enwer enw neb ond Hwn
Fu farw ar y pren,
Drwy'r ddaear faith, nac yn y nef:
Coronwch Ef yn Ben. PERRONETT, *C. E. E.*

## 126 (303) *Moliant i'r Oen.*

M. C.—Tallis. Jerusalem.

1 CYDUNWN â'r angylion fry,
Ein tannau yn gyttûn;
"Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un."

2 Os ydyw'r Oen fu farw'n sail
Eu holl ganiadau hwy,
Mae'n haeddu, am farw drosom ni,
Ein mawl fil miloedd mwy.

3 Ac Ef yn unig bïau'r mawl,
Drwy ddwyfol hawl ddi-lŷth,
A chlôd uwch law a allwn ni
Ei roddi iddo byth.

4 Cyduned pob creadur byw,
Uwch law ac îs y nen,
I roddi ynghyd, can's teilwng yw,
Y goron ar Ei ben.

5 Doed y greadigaeth ëang oll,
Âg un soniarus lef,
I ogoneddu'r addfwyn Oen,
A thraethu Ei foliant Ef. DR. W., *c.* E. E.

## 127 (315) *Enw Crist.*

M. C.—Farrant. Belmont.

1 MOR beraidd i'r credadyn gwàn
Yw hyfryd enw Crist:
Mae'n llaesu ei boen, yn gwella'i glwy',
Yn lladd ei ofnau trist.

2 I'r ysbryd clwyfus rhŷdd iachâd,
Hedd i'r drallodus fron;
Mae'n fanna i'r newynog ddyn,
I'r blin, gorphwysfa lon.

3 Hoff enw! fy Ymguddfa mwy,
Fy Nghraig a'm Tarian yw;
Trysorfa ddìball yw o râs
I mi y gwaela'n fyw.

4 Fy Iesu, 'Mhrophwyd, a fy Mhen,
F' Offeiriad mawr, a'm Brawd,
Fy mywyd i, fy ffordd, fy nôd,
Derbyn fy moliant tlawd. NEWTON, *c.* D. CS.

## 128 (292) *Iachawdwriaeth, a'i chyflawnder*

M. C.—St. George. St. Saviour.

1 MAE'r iachawdwriaeth râd mor fawr
Mae'n achub, mae'n glanhau,
Troseddwyr duaf daear lawr;
Gwnawn ynddi lawenhau.

2 Cael derbyn o'i chyflawnder cûn
A wna y trist yn llon;
Gogoniant Duw, dedwyddwch dyn,
Sydd yn gyttûn yn hon.

3 Mae Iesu Grist yn drysor mwy
Na holl drysorau'r byd:
Daeth hedd a bywyd ini trwy
Ei ryfedd angeu drud. J. H.

## 129 (295) *Golwg ar groes Crist.*

M. C.—French. St. Stephan.

1 'DOES neb ond Ef, fy Iesu hardd,
A ddichon lanw 'mryd;
Fy holl gysuron byth a dardd
O'i ddirfawr angeu drud.

2 'D oes dim yn gwir ddifyru f'oes
Helbulus yn y byd,
Ond golwg mynych ar y groes,
Lle talwyd Iawn mewn pryd.

3 Mi welaf le mewn marwol glwy'
I'r euog guddio'i ben;
Ac yma llechaf nes myn'd trwy
Bob aflwydd îs y nen. W. E.

4 Yr Iawn a dalwyd ar y groes
Yw sylfaen f'enaid gwàn;
Wrth bwyso arno ddydd a nôs
'R wy'n disgwyl d'od i'r làn. W. J.

## 130 (281) *Coronwch Ef.*

M. C.—St. Ann. Gloucester.

1 CLODFORWCH enw Mab Duw Iôn,
Angylion gwỳnion gwawr;
O! deuwch a choronwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr.

2 Seraphiaid nef, pob un â'i dant,
Dan ganu moliant mawr,
O! deuwch a choronwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr.

3 Ei chwerwaf angeu, byth na b'o
I'w saint anghofio'r awr;
O! deuwch a choronwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr.

4 Pob llwyth ac iaith, hil Adda i gyd,
Trwy'r holl gwmpasfyd mawr,
O! deuwch a choronwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr. *Efel.* JS. H.

## 131 (290) *Cadarn i iachau.*

M. C.—St. Bernard. St. George.

1 OS ydwyf wael fy llun a'm lliw,
Os nad yw 'mriw'n gwellhau,
Âf at y Meddyg mawr Ei fri,
Sy'n gadarn i iachau.

2 O'm pen i'm traed, 'r wy'n glwyfus oll,
Pob archoll yn dyfnhau:
Neb ond y Meddyg da i mi,
Sy'n gadarn i iachau.

3 Os wyf heb rym i ddim sydd dda,
Dàn bwys fy mhlâ 'n llesgau,
Rhŷdd Iesu gryfder i'r di-rym;
Mae'n gadarn i iachau.

4 O ddydd i ddydd, câf nerth i ddàl;
Mae'i râs yn amlhâu:
Am hyn, nid anobeithiaf ddim,
Mae'n gadarn i iachau. E. T.

## 132 (286) *Crist, pen yr Eglwys.*

M. C.—Christchurch. Solomon.

1 PAN sycho'r moroedd dyfnion, maith
Pan syrthio sêr y nen,
Yr Hwn fu farw, ac sydd fyw,
Ar Seion fydd yn Ben.

2 Ei enw bery tra b'o haul,
Yn glodfawr byth y bydd;
Ac ni bydd diwedd ar Ei glôd
I dragwyddoldeb ddydd.

3 Bendithion rif y tywod mân,
A gwlith y ddaear lawr,
Yn nghadw i'r ffyddloniaid sydd
Byth yn eu Harglwydd mawr.

4 Aed enwau'r byd i gyd yn ddim,
Dyrchafer Brenin nef;
Mae pob cyflawnder, grâs, a nerth,
Yn trigo ynddo Ef. M. R.

## 133 (361) *Canmawl cariad Crist.*

2. 8.—Aberdeen. Llangors.

1 CLOD, clôd
I'r Oen a laddwyd cyn fy môd ;
Y parch a'r mawl i'w enw boed,
Am iddo erioed, o'i gariad rhâd,
Ro'i'i serch ar wael syrthiedig ddyn ;
Mawr iawn yw rhîn Ei werthfawr waed.

2 Daw dydd
I'r carcharorion fyn'd yn rhydd,
O'u holl gadwynau tỳnion sydd ;
Mor felus fydd eu caniad hwy ;
Am ddïoddefaint addfwyn Oen,
Bydd hyfryd sôn, heb ddiwedd mwy.

3 Daw, daw
Yr hyfryd foreu, mae ger llaw,
Bydd pawb â'i delyn yn ei law,
Heb ofn na braw, yn nghwmni'r Oen ;
Yn canu i dragwyddoldeb maith,
Ar ben y daith, heb friw na phoen. G. 1.

## 134 (360) *Iachawdwriaeth trwy yr Aberth.*

2. 8.—Aberdeen.

1 YN rhâd
'R wy'n disgwyl rywbryd cael iachâd,
Er mwyn yr Aberth mawr a gaed ;
Dyrchafu'r gwaed a fydd fy ngwaith,
I oesoedd dirifedi'r gwlith,
Os dôf fi byth i ben fy nhaith. *Cas.* DE.

2 Yr Oen
Aeth dàn fy mhenyd i a'm poen,
Ni thawaf byth am dano a sôn ;
Ei gariad tirion fydd fy nghân
Am achub un mor wael ei lun,
A'm tỳnu Ei Hun o'r gynneu dân. D. J.

## 135 (374) *Mawl i'r Ceidwad.*

7. 8.—Hosannah. Triumphant.

1 HOSANNA, Haleluwia,
I'r Oen fu ar Galfaria ;

Gorphenwyd iachawdwriaeth dyn,
Efe Ei Hun yw'r noddfa :
Tragwyddol ddiolch iddo
Am faddeu a thosturio :
Anfeidrol fraint i lwch y llawr
Fod croeso'n awr 'dd'od ato.

2 Mae'n achub hyd yr eitha'
Y pechaduriaid mwya' ;
Fe drefnwyd ffordd i gadw dyn
Gan Dri yn un Iehofah ;
Anturiwn ninnau arno,
Mae'r Iesu'n achub eto,
A chroeso i bechaduriaid mawr
Bob munyd awr dd'od ato.

3 Mae'r ddyled wedi ei thalu,
Ac uffern wedi ei maeddu,
Gobeithiol garcharorion sy
Yn d'od yn llu i fyny :
Mae'r pyrth yn llawn agored
Doed Israel o'r caethiwed ;
Pob llesg a gwàn, fyth ger Ei fron,
Ei wyneb llon gânt weled. M. R.

## 136 (418) *Mawl am drefn iachawdwriaeth.*

7. 6. D.—Ewing. Angels' Story.

1 FY Nuw, fy Nhad, fy Iesu,
Boed clôd i'th enw byth ;
Doed dynion i Dy foli
Fel rhif y boreu wlith ;
O ! na b'ai gwellt y ddaear
Oll yn delynau aur,
I ganu i'r Hwn a anwyd
Yn Methle'm gynt o Fair.

2 O Iesu ! pwy all beidio
Dy ganmol ddydd a nôs ?
A phwy all beidio cofio
Dy farwol, ddwyfol loes ?
A phwy all beidió canu
Am iachawdwriaeth râd,

Ag sydd yn teimlo gronyn
  O rinwedd pur Dy waed?

3 O Arglwydd! rho i mi dafod
  Nas tawo ddydd na nôs;
Ond d'we'yd wrth bob creadur
  Am rinwedd gwaed y groes;
Na ddelo gair o'm genau,
  Yn ddirgel nac ar g'oedd,
Ond am fod Iesu anwyl
  Yn wastad wrth fy modd. W.—TH.

## 137 (396) "*Haeddiant mawr yr aberth.*"

7. 6.—Meirionydd. Rhyddid.

1 PA le dechreuaf ganu,
  Am ddwyfol farwol loes,
A haeddiant mawr yr aberth
  Fu'n hongian ar y groes?
Anfeidrol bwysau pechod
  A wasgwyd arno Ef,
A'r prîs anfeidrol dalwyd
  I groesi llyfrau'r nef.

2 Mi ganaf tra f'o anadl
  O fewn i'r ffroenau hyn,
Am gariad yn dïoddef
  Ar ben Calfaria fryn;
Am goron ddrain blethedig,
  Am hoelion garwa'u rhyw—
I gànu'm henaid euog
  Fel eira gwŷna'i liw.

3 Fe rwygwyd muriau cedyrn,
  Fe dòrwyd dôrau prês,
Oedd rhyngom ni a'r bywyd—
  Mae'r bywyd heddyw'n nês;
Palmantwyd yr holl lwybrau,
  Mae'r pyrth o lêd y pen,
O ddyfnder dinas distryw
  I eitha'r nefoedd wèn.

4 Fe bery trugareddau
  'R cyfammod gwerthfawr drud,

Pan ddarffo'r grëadigaeth
Ddiderfyn oll i gyd;
Ni bydd ond dechreu gweled
Daioni mawr y ne'
Pan gollo haul a lleuad
A'r holl blanedau'u lle. W.

## 138 (432) *Yr arfaeth a'r prynedigaeth.*

7. 6. D.—Abertawe.

1 FYTH, fyth, rhyfedda'i 'r cariad
Yn nhragwyddoldeb pell,
A drefnodd yn yr arfaeth
Im' etifeddiaeth well
Na'r ddaear a'i thrysorau,
A'i brau bleserau 'nghyd:
Fy nghyfoeth mawr diderfyn
Yw Iesu, Brynwr byd.

2 Ar noswaith oer fe chwŷsai
Y gwaed yn ddafnau i lawr,
Ac Ef mewn ymdrech meddwl
Yn talu'n dyled fawr;
Fe yfai'r cwpan chwerw
Wrth farw ar y pren;
Palmantodd ffordd i'r bywyd
O'r ddaear hyd y nen.

3 Tragwyddol glôd i'r cyfiawn
Fu farw dros fy mai;
Fe adgyfododd eilwaith
O'r bedd i'm cyfiawnhau;
Ar orsedd Ei drugaredd
Mae'n dadleu yn y ne',
Ei fywyd a'i farwolaeth
Anfeidrol yn fy lle.

4 Ni cheisia'i 'n wyneb Moses
Ond Iesu i ddadleu 'nghŵyn,
Y Cyfiawn tros'r annghyfiawn
Fu farw er fy mwyn;
Yn ymchwydd yr Iorddonen,
Ac yn y farn a ddaw,

Dïangol yn y diwedd
  A fyddaf yn Ei law! M. R.

## 139 (411) *Brawd a aned erbyn caledi.*

7. 6. D.—Talyllyn. Pearsall.

1 HOSANNA, Haleluwia,
  Fe anwyd Brawd i ni;
Fe dalodd ein holl ddyled
  Ar fynydd Calfari;
Hosanna, Haleluwia,
  Brawd ffyddlawn, di-wahân;
Brawd erbyn dydd caledi,
  Brawd yw mewn dŵr a thân.

2 Brawd anwyl sy'n ein cofio
  Mewn oriau cyfyng caeth;
Brawd llawn o gydymdeimlad—
  Ni chlywÿd am Ei fath;
Brawd cadarn yn y frwydr,
  Fe geidw'i frodyr gwàn;
Yn dirion dàn Ei aden
  Fe ddaw â'r llesg i'r làn. D. W.

## 140 (402) *Addasrwydd anfeidrol y Gwaredwr.*

7. 6. D.—Syria. Rutherford.

1 O! AM gael ffydd i edrych,
  Gyda'r angylion fry,
I fôr yr iachawdwriaeth,
  Dirgelwch ynddi sy;
Dwy natur mewn un Person
  Yn gysson yno gaed;
Anfeidrol a thragwyddol
  Yw rhinwedd dwyfol waed.

2 O f'enaid! gwel addasrwydd
  Y Person dwyfol Hwn;
Anturia iddo'th fywyd,
  A bwrw arno'th bŵn:
Mae'n ddyn i gydymdeimlo
  Â'th holl wendidau i gyd;
Mae'n Dduw i fynu'r orsedd
  Ar ddiafol, cnawd, a byd. A. G.

## 141 (384) *Rhyddid a maddeuant trwy Grist.*

7. 6. D.—Adela. Bremen.

1 AGORODD ddrws i'r caethion
  I dd'od o'r cystudd mawr;
Â'i werthfawr waed fe dalodd
  Eu dyled oll i lawr:
Nid oes dim damnedigaeth
  I neb o'r duwiol hâd;
Y gwaredigion canant
  Am rinwedd mawr Ei waed.

2 Wel, dyma'r Un sy'n maddeu
  Pechodau rif y gwlith;
'D oes mesur ar Ei gariad,
  Na therfyn iddo byth;
Mae'n 'mofyn lle i dosturio,
  Mae'n hoffi trugarhau;
Trugaredd i'r amddifaid
  Sydd ynddo i barhau.

3 Teilwng yw'r Oen a laddwyd
  O'r holl ogoniant mawr,
Trwy ganol nef y nefoedd,
  Ac yma ar y llawr;
Pan elo'r holl greadigaeth
  Yn ulw gan y tân,
Teilyngdod Iesu drosof
  Fydd fy nhragwyddol gân. M. R.

4 Fe gênir, ac fe gênir
  Yn nhragwyddoldeb maith,
Os gwelir un pererin
  Mor lesg ar ben ei daith;
A gurwyd mewn tymhestloedd,
  A olchwyd yn y gwaed
A gànwyd, ac a gadwyd
  Trwy'r iachawdwriaeth râd. D. M.

## 142 (431) *Iachawdwriaeth trwy Grist.*

7. 6. D.—Abertawe.

1 DAETH ini iachawdwriaeth
  Trwy eithaf chwŷs a gwaed;

Mae'n c'odi pechaduriaid
  O'r dyfnder ar eu traed ;
'D ä'i byth i 'mofyn haeddiant,
  Trwy'r nef na'r ddaear lawr,
Ond haeddiant pen Calfaria—
  Rhinweddau'r aberth mawr.

2 Pan oedd euogrwydd creulon
  Yn llosgi fel y tân,
A Satan yntau'n rhifo
  Fy meiau, fawr a mân ;
Anfeidrol haeddiant Iesu
  A wnaeth i'r glorian droi,
A'i nefol ymddangosiad
  Wnaeth i'm gelynion ffoi. G. 2.

## 143 (412) *Y Mab mewn agwedd gwâs.*

7. 6. D.—Talyllyn.

1 TAD oesoedd tragwyddoldeb
  A ddaeth mewn agwedd gwâs ;
Cymmerodd ein gwendidau ;
  Wel, dyma fôr o râs :
Gan iddo dd'od mor isel,
  Fe gyfyd fyrdd i'r làn,
Yn dystion o'i drugaredd
  I'r bywyd yn y màn. AN.

## 144 (387) *Crist fel Pren afalau.*

7. 6. D.—Missionary. Lymington.

1 PWY welaf fel f' Anwylyd,
  Yn hyfryd ac yn hardd,
Fel ffrwythlawn bren afalau
  'N rhagori ar brenau'r ardd ?
Ce's eistedd dàn Ei gysgod
  Ar lawer cawod flîn ;
A'i ffrwyth oedd fil o weithiau
  I mi yn well na'r gwîn. J. TS.

## 145 (403) *Harddwch y Gwaredwr.*

7. 6. D.—Rutherford. Syria.

1 MAE myrddiwn o rinweddau
  Yn eistedd ar Ei wedd,

A ennyn fythol gariad,
A ennyn fythol hedd;
A phan ddarfyddo'r gorchudd,
Fe'i gwel yr eglwys fawr,
A'r olwg arno a'i sugna
Yn llwyr oddi ar y llawr. AN.

## 146 (419) *Diolch am Gyfryngwr.*

7. 6. D.—Ewing. Angels' Story.

1 PA le, pa fodd dechreuaf
Foliannu'r Iesu mawr?
Olrheinio'i râs ni fedraf;
Mae'n llenwi nef a llawr:
Anfeidrol ydyw'r Ceidwad,
A'i holl drysorau'n llawn;
Diderfyn yw Ei gariad,
Difesur yw Ei ddawn.

2 Trugaredd a gwirionedd
Yn Nghrist sy'n awr yn un,
Cyfiawnder a thangnefedd
Ynghyd am gadw dyn:
Am Grist a'i ddioddefiadau—
Rhinweddau marwol glwy'
Y seinir pêr ganiadau
I dragwyddoldeb mwy.

3 O! diolch am Gyfryngwr—
Gwaredwr cryf i'r gwàn;
O! am gael Ei adnabod—
Fy Mhrïod a fy Rhan;
Fy ngwisgo â'i gyfiawnder
Yn hardd ger bron y Tad;
A derbyn o'i gyflawnder
Wrth deithio'r anial wlad. R. E.

## 147 (446) *Un aberth.*

7. 6. D.—Talybont. Caerllyngoed.

1 UN waith am byth oedd ddigon
I wisgo'r goron ddrain;
Un waith am byth oedd ddigon
I ddiodde'r bicell fain;

Un aberth mawr gwirfoddol
  A ddofodd ddwyfol lîd ;
Un Iesu croeshoeliedig
  Sy'n Feddyg trwy'r holl fyd. TR. (1806, 1855).

## 148 (422) *Yr Iesu yn fwy na'i roddion.*

7. 6. D.—Ewing. Angels' Story.

1 MAE'r Iesu yn fwy na'i roddion,
  Mae Ef yn fwy na'i râs ;
Yn fwy na'i holl weithredoedd,
  O fewn ac o'r tu maes ;
Pob ffydd a dawn a phurdeb,—
  Mi lefa' am danynt hwy,—
Ond arno Ei Hun yn wastad
  Edrycha'i 'n llawer mwy.

2 Gwel'd wyneb fy Anwylyd
  Wna i'm henaid lawenhau,
Trwy'r cwbl ge's i eto,
  Neu gâf fi fyth fwynhau ;
Pan elont hwy yn eisieu,
  P'am byddaf fi yn drist
Tra caffwyf weled wyneb
  Siriolaf Iesu Grist ? W.—G. D. C.

## 149 (457) *Trefn cadw.*

M. B.—St. Michael.

1 TOSTURI dwyfol fawr
  At lwch y llawr sy'n bôd,
Pan gymmerth Duw achubiaeth dyn,
  A'i glymu'n un â'i glôd.

2 Pan ddaeth y Mab o'i fodd
  I farw yn ein lle,
Agorodd ffordd i'n dwyn at Dduw ;
  Ein Ceidwad yw Efe.

3 Mae Iesu'n fawr Ei fri,
  A'i glôd yn llenwi'r nef ;
A holl hyfrydwch pur y plant
  Yw Ei ogoniant Ef. E. PR.

## 150 (453) *Cariad ac Iawn Crist.*

M. B.—Tytherton. Vesper Hymn.

1 CYDUNED Seion lân
Mewn cân bereiddia'i blâs,
O fawl am drugareddau'r Iôn,
Ei roddion Ef a'i râs.

2 P'le gwelir cariad fel
Ei ryfedd gariad Ef?
P'le bu cyffelyb iddo erioed?
Rhyfeddod nef y nef!

3 Fe'n carodd cyn ein bôd,
A'i brïod Fab a ro'es,
Yn ol ammodau hên y llŵ,
I farw ar y groes.

4 Gwnaeth Iesu berffaith Iawn
Brydnawn ar Galfari;
Yn Ei gyfiawnder pur di-lŷth
Mae noddfa byth i ni.

5 Anfeidrol ydyw gwerth,
A rhîn Ei aberth mawr,
I achub rhyw aneirif lu
O deulu gwael y llawr.

6 Y rhai, yn berffaith lân,
A beraidd gân i gyd,
I'r bendigedig unig Oen
Yn iach o boen y byd. JS. H.

## 151 (461) *Yr aberth digonol.*

M. B.—St. Bride. Shawmut.

1 NIS gallai gwaed yr holl
Aberthau i gyd o'r bron
Ro'i heddwch i'r gydwybod ddu,
Na golchi brynti hon.

2 Ond Crist, y nefol Oen,
A ddŷg bechodau'r byd;
Ei aberth Ef, a'i waed, sydd fwy
Na phwysau 'rhai'n i gyd.

3 Âf ato fel yr wyf
I 'mofyn am iachâd;

A'm holl bechodau addef wnaf
Yn isel wrth Ei draed.

4 Mae gobaith f'enaid gwàn,
Fy hyder, a fy ffydd,
Yn gwir ymorphwys ar Ei waed
Am lwyr lanhâd ryw ddydd.

5 Gwnaeth Iesu gymmod llawn,
Dioddefodd angeu loes;
Y clôd di-drai, y mawl di-lŷth,
F'o byth am waed y groes. DR. W., *c.* D. TS.

## 152 (452) *Iachawdwriaeth râd.*

M. B.—Tytherton. Colchester.

1 MAE 'r iachawdwriaeth râd
Yn ddigon i bob rhai:
Agorwyd ffynnon er glanhâd
Pob pechod câs a bai.

2 Daw tyrfa rif y gwlith
Yn iach trwy rîn y gwaed:
Pwy ŵyr na byddaf yn eu plith,
Yn lân o'm pen i'm traed?

3 Er lleted yw fy mhlâ,
Er dyfned yw fy mriw,
Y balm o Gilead a'm hiachâ—
Mae Crist yn Feddyg gwiw.

4 Dàn bwys euogrwydd du,
Edrychaf tua'r groes,
Lle llifodd gwaed fy Mhrïod cu;
Anfeidrol Iawn a roes. P. J.

## 153 (459) *Y gofyn uwchlaw gallu dyn.*

M. B.—St. Michael.

1 WEL, mi ddarfyddaf mwy
Yn lân â haeddiant dyn;
Ni chym'rir Iawn o flaen fy Nhad
Ond dwyfol waed ei hun.

2 Gofynion nef sydd fwy
A'u taliad hwy mor ddrud,
Nas tâl mynyddau 'r ddaear hon
Pe'n berlau o'r bron i gyd.

3 O'r afon loyw hon
Tardd cysur o bob rhyw;
Mil o rasusau hyfryd, pur,
Fel blodau clir eu lliw.

4 'Rhai sydd â ffiaidd friw,
Uwch meddyg i'w hiachau,
Sy'n cael wrth brofi'r bywiol ddŵr,
Eu gwella a'u glanhau.

5 Y ddwyfol, nefol, loes,
Cystuddiau'r groes a'i briw,
A'm nertha i fyn'd o'r byd a'i wae
I'r màn lle mae fy Nuw. W.

**154** (456) *Haeddiant y groes yn fwy na grym euogrwydd.*

M. B.—Tytherton. Colchester.

1 TI, Iesu, Frenin nef,
F' Anwylyd, a fy Nuw!
Yn eithaf pell o dŷ fy Nhad,
Mewn anial wlad, 'r wy'n byw.

2 Mewn ofnau 'r wyf, a braw,
'Bob llaw gelynion sydd;
O addfwyn Iesu! sâf o'm rhan,
A thỳn y gwàn yn rhydd.

3 Mae rhinwedd yn Dy waed
I faddeu beiau mwy
Nag y gall angel fyth, na dyn,
I rifo mo'nynt hwy.

4 Mae ffynnon ar y bryn
A ylch yn wỳn a glân,
Bechodau o'r ffieiddia' erioed
Rifedi 'r tywod mân.

5 'D oes diwedd fyth, na thrai,
Ar gariad angeu loes;
Uwch prîs o'r gwerthfawrocaf gaed
Yw haeddiant gwaed y groes.

6 Fe gâna'r Negro du
Fe gàna'r Indiad draw;

Fe faddeu i'r aflan oes y sydd,
Fe faddeu i'r oes a ddaw. W.

## 155 (473) *Henffych i'r Messiah.*

M. B. D.—Bonar. Amana.

1 BLANT ffyddlon Seion, de'wch,
A llawenhewch i gyd ;
Yn mlaen â chwi fel milwyr da,
Yn llon er gwaetha'r llid :
O ! hyfryd ddedwydd awr,
Messiah mawr a gaed ;
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth râd.

2 Er ini golli'r hedd,
Oedd yn mharadwys wiw,
A bod yn fŷr o gadw'r fraint,
Myn'd dàn ddigofaint Duw ;
Ni gawsom Hâd y wraig
Yn gadarn graig i'n traed :
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth râd.

3 Addewid gafwyd, do,
'N ol ini syrthio 'mhell ;
Arfaethol râs, hawl ini a ro'ed,
Gaed ar gyfammod gwell :
Mae'r sylfaen yn ddi-grŷn,
Ni chollir un o'r hâd ;
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth râd.

4 Er gwaethaf Satan, sydd
Yn temtio ddydd a nôs,
Mae genym hawl i'r trysor da
Sy'n para o oes i oes :
Ffordd newydd gafwyd, do,
I deithio at y Tad ;
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth râd.

5 Drachefn, llawenhewch,
Chwi etholedig lu,

Mae'r oruchafiaeth wedi d'od
  Trwy Grist ein Prïod ni:
Er cyfeiliorni'n hir,
  Cawn dd'od i dir ein gwlad;
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
  Yr iachawdwriaeth râd. W.

## 156 (465) *Y cwbl trwy'r gwaed.*

M. B. D.—Aberdar. Eden.

1 DY glwyfau yw fy rhan,
  Fy nhirion Iesu da;
Y rhai'n yw nerth fy enaid gwàn,
  Y rhai'n a'm llwyr iachâ:
Er saled yw fy nrych,
  Er tloted wyf yn awr,
Fy llenwi gâf â llawnder Duw,
  A'm gweled fel y wawr.

2 Mi brofais Dduw yn dda,
  Fy nhirion raslawn Dad,
Yn maddeu im' fy meiau mawr
  Yn rhwydd o'i gariad rhâd:
Fe'm seliodd i mewn hedd;
  On'd rhyfedd yw Ei râs?
Fe'm bwydodd i â'r manna pur
  Mewn gwledd o hyfryd flâs.

3 Mi ẁn i Grist, mi ẁn,
  Fy ngharu cyn bod byd;
Parhau i'm caru gẁn y gwna,
  Heb drai, yr un o hyd:
Efe yw'm Tywysog hardd,
  Efe yw'm Meddyg mawr,
Efe yw'm Harchoffeiriad gwych,
  Sydd droswy'n pledio'n awr. W.

## 157 (466) *Gwaed yn puro y gydwybod.*

M. B. D.—Aberdar.

1 MI gana' am waed yr Oen,
  Er maint yw 'mhoen a 'mhlâ;
'D oes geny'n wyneb calon ddu
  Ond Iesu'r Meddyg da;

Fy mlino ge's gan hon,
A'i throion chwerwon chwith ;
Fy unig sail i am y wlad
Yw'r cariad bery byth. G. 1.

## 158 (468) *Adnabod Crist.*

M. B. D.—Aberdar. Eden.

1 WEL, dyma'r Ceidwad mawr
A ddaeth i lawr o'r nef,
I achub gwaeledd, llwch y llawr ;
Gogoniant iddo Ef :
Bu farw yn ein lle
Ni, bechaduriaid gwael ;
Mae pob cyflawnder ynddo 'Fe
Sydd arnom eisieu gael.

2 Ei 'nabod Ef yn iawn
Yw'r bywyd llawn o hedd,
A gwel'd Ei iachawdwriaeth lawn
Sydd yn dragwyddol wledd :
Cael teimlo gwaed y groes
Yn dofi'r loes a'r cur,
A wnaeth i filoedd o bob oes
I seinio'r anthem bur. J. T.

## 159 (485) *Ffynnon i bechod ac aflendid.*

6. 6. 8.—Abberton. Eilian.

1 AM iachawdwriaeth lawn,
Foreuddydd a phrydnawn,
Moliannu gawn yr Iesu gwiw ;
Dioddefodd angeu loes
Yn ddiddig ar y groes,
A'i ddoniau rho'es i ddynol-ryw.

2 Gorphenwyd talu'n llawn,
Ar groesbren un prydnawn ;
O ddedwydd Iawn ! ni gawn yn llu
Faddeuant yn Ei waed,
A hollol wir iachâd ;
A Duw yn Dad mewn cariad cu.

3 Y ffynnon loyw hon,
Yn ôl y waywffon

Aeth dàn Ei fron—daeth ini fraint!
A ylch y brwnt yn lân;
Hosanna, f'enaid cân:
Can's dyma sylfaen yr holl saint. G. 1.

**160 (487)** *Bendithion iachawdwriaeth.*

6. 6. 8.—Ascalon. Abberton.

1 O IACHAWDWRIAETH fawr!
A lifodd im' i lawr,
Yn ffrydiau pur, grisialaidd, byw;
Maddeuant imi gaed,
A heddwch yn y gwaed,
O gariad rhâd ein Tad a'n Duw.

2 'D oes unrhyw drysor drud
Fel Ef o fewn y byd;
Mae'n gwneyd fy ysbryd llesg yn llon:
Mwy'n llawen byddaf byw
Yn noddfa bur fy Nuw,
Dàn holl gystuddiau'r ddaear hon.

3 Mi dreuliaf oriau f'oes
Yn dawel dàn y groes,
Dim ond cael edrych ar Dy wedd:
Perffeithrwydd pleser yw
Y wledd o gariad Duw,
Fy holl ddiddanwch a fy hedd. G. 1.

**161 (521)** *Rhosyn Saron.*

6. 8.—Waterstock. Wesley.

1 O! Rosyn Saron hardd!
O! 'r Lili gwŷn ei liw!
Nid oes o'r ddae'r a dardd
Flaguryn fel fy Nuw:
Yn mhlith y coed rhyw gangen lawn
O sypiau grawn f'Anwylyd yw.

2 Pan oeddwn i yn wàn,
Yn mron llewygu'n wir,
Fe'm c'ododd i i'r làn
I mewn i'w wîndy pur:
Ce's yfed gwîn, hyd heddyw mae
Fyth yn parhau ei nefol rîn. W.

## 162 (509) *Enw yr Iesu.*

6. 8.—Alun. Ramoth.

1 O! ENW anwyl iawn,
Anwylaf un yn bôd ;
Ni chlywodd engyl nef
Gyffelyb iddo erioed :
Rho'f arno 'mhwys, doed dydd, doed nôs,
Fe'm deil i'r làn dàn bob rhyw groes.

2 Cryf yw Ei ddeheu law,
Anfeidrol yw Ei rym,
Ac nid oes byth a saif
O flaen Ei wyneb ddim :
Rho'is iddo f' hun, f' amddiffyn gwna
Rhag dyfais uffern faith a'i phlâ. W.

## 163 (520) *Gogoniant y Groes.*

6. 8.—Beverley. Hollybourne.

1 MAE enw Calfari,
Fu gynt yn w'radwydd mawr,
Yn ngolwg f' enaid cu
Yn fwy na'r nef yn awr :
O ! ddedwydd fryn, sancteiddiaf le,
Dderbyniodd ddwyfol waed y ne' !

2 'R wy'n caru 'r hyfryd awr,
Mi gara'r hyfryd le,
Mi garaf bren y groes
'Gorweddodd arno 'fe :
Fy enaid, dyma'm Duw a'm Pen,
Ac oll a feddaf, ar y pren !

3 Ffarwèl deganau byd,
Mae 'ch tegwch hyfryd iawn
Oll yn diflanu 'nghyd
Ar Galfari brydnawn :
Mae da, a dyn, er maint eu grym,
Yn ngŵydd y groes yn myn'd yn ddim. W.

## 164 (508) *Gwaed y groes yn erbyn ofn.*

6. 8.—Alun. Ramoth.

1 MAE dafn bach o waed
Yn drymach yn y nef

Na'r pechod mwyaf gaed,
A'i holl euogrwydd ef:
Gwrandewir llais y dwyfol glwy'
O flaen eu damniol floeddiad hwy.

2 Ni chollwyd gwaed y groes
Erioed am ddim i'r llawr;
'Ddioddefwyd angeu loes
Heb ryw ddibenion mawr;
A dyma oedd Ei amcan Ef—
Fy nwyn o'r byd i deyrnas nef.

3 N'âd imi garu mwy
Y pechod drwg ei ryw—
Y pechod roddodd glwy'
I 'Mhrynwr, O fy Nuw!
N'âd imi garu dim ond Ti
O'r ddae'r i eitha'r nefoedd fry. W.

## 165 (497) *Cariad Crist yn drech na'r gelynion.*

6. 8.—Gwladys. St. Swithin.

1 ENNYNAIST ynof dân—
Perffeithiaf dân y nef,
Nis gall y moroedd mawr
I ddiffodd mo'no ef;
Mae'th lais, mae'th wedd, mae gwel'd Dy waed,
Yn troi 'ngelynion dàn fy nhraed.

2 Mae caru 'Mhrynwr mawr,
Mae edrych ar Ei wedd,
Y pleser mwya'n awr
Sy' i'w gael tu yma i'r bedd:
O gariad rhâd! O gariad drud!
Sydd fil o weithiau'n fwy na'r byd.

3 Wel, dyma'r gwrthrych cûn,
A dyma'r awr a'r lle,
Cyssegraf fi fy hun
Yn gyfan iddo 'Fe;
Ffarwèl, ffarwèl, bob eilun mwy,
Mae cariad Iesu'n drech na hwy. W.

## 166 (500) *Buddugoliaeth y groes.*

6. 8.—Gwladys. St. Swithin.

1 CÂN etifeddion grâs
Yn beraidd maes o law,
Wrth weled boddi'r Aipht,
A hwythau'r ochr draw:
Fy enaid, hêd i ben y bryn,
I wel'd y goncwest ryfedd hyn.

2 Yn uchel fry ar fryn,
Rhwng daear gron a nef,
Holl rwysg Gehenna fawr,
A'i grym, orchfygodd Ef:
Dàn hoelion dur goddefodd glwy ;
Pa sut ymffrostia uffern mwy?

3 Wel dacw'r ffordd yn rhydd;
Agorwyd o bob tu,
O ddyfnder daear lâs
I uchder nefoedd fry:
O dring! O dring! fy enaid mwy,
Mae nerth i'w gael mewn dwyfol glwy'.

4 Wel deuwn yn y blaen,
Fe gwympodd ofnau mawr.
Ar y gelynion hyf
Oedd am ein cael i lawr:
Fe gaed y dydd, mi glywa'r nen
Yn canu concwest, ar y pren. W.

## 167 (502) *Iesu, ffynnon dedwyddwch.*

6. 8.—Normandy. Croft.

1 FY Iesu yw fy Nuw,
Fy noddfa gadarn gref;
Ni fedd fy enaid gwàn
Ddim arall dàn y nef;
Mae Ef Ei Hun, a'i angeu drud,
Yn fwy na'r nef, yn fwy na'r byd.

2 O! ffynnon fawr ei rhîn
O ddwyfol wîn a llaeth,
Sydd yn Ei haeddiant Ef;
'D oes yn y nef o'i bath:

De'wch, bawb ynghyd i wel'd y fraint
A ga'dd y lleiaf un o'r saint.

3 Anfeidrol wyt, fy Nuw,
Anfeidrol yw Dy râs ;
A thyma'r màn y mae
'M dedwyddwch mwya'i maes :
Anghyfnewidiol yw Efe,
Am hyn fe'm dŵg i deyrnas ne'.

4 Fy nymuniadau i gyd
Sy'n cael attebiad llawn,
Câ'm holl serchiadau 'nghyd
Hyfrydwch nefol iawn,
Pan byddwy'n gwel'd, wrth oleu'r wawr,
Mai eiddo im' yw f' Arglwydd mawr. W.

**168** (492) *Ei enw Ef.*

6. 8.—Dudley. Gopsal.

1 O NEFOL addfwyn Oen !
Sy'n llawer gwell na'r byd,
A lluoedd maith y nef
Yn rhedeg arno'u bryd ;
Mae'th ddawn, a'th râs, a'th gariad drud,
Yn llanw'r nef, yn llanw'r byd.

2 Noddfa pechadur trist,
Dàn bob drylliedig friw,
A phwys euogrwydd llym,
Yn unig yw fy Nuw ;
'D oes enw i'w gael o dàn y nef
Yn unig ond Ei enw Ef.

3 Ymgrymed pawb i lawr
I enw'r addfwyn Oen ;
Yr enw mwyaf mawr
Erioed a glywŷd sôn :
Y clôd, y mawl, y parch, a'r bri,
F'o byth i enw'n Harglwydd ni. W.

**169** (495) *Ymgnawdoliad Crist.*

6. 8.—Dudley. Gopsal.

1 DAETH Llywydd nef a llawr
I wisgo dynol gnawd ;

Wel, henffych, Arglwydd mawr,
A henffych, dirion Frawd;
Henffych i'n Duw a'n Ceidwad hael
A welwyd yn y preseb gwael.

2 Pa dafod, neu pa ddawn,
A fedd angylaidd lu,
A ddywed byth yn llawn
Am râs ein Ceidwad cu?
Ei waed fe ro'dd, o'i gariad gwiw,
I gànu'r lleiddiaid dua'u lliw.

3 Mae cariad yn Ei wedd
At wael, golledig, fyd;
Cyfiawnder llym a hedd
Yn ymgusanu 'nghyd;
Trugaredd a gwirionedd pur
Yn ymddisgleirio yn Ei gur. T. J.

## 170 (511) *Adgyfodiad Crist.*

6. 8.—Beverley. Darwell.

1 CYFODODD Brenin hedd,
Iachawdwr dynol-ryw,
Mewn gogoneddus wedd,
O'r marwol fedd yn fyw:
Ein bywiol Ben esgynodd fry,
Goruwch pob llu, tu draw i'r llèn.

2 Daw'r saint o lwch y bedd
Ar wedd eu Prïod cu,
I lawn dragwyddol wledd,
Mewn gwir orfoledd fry;
Dyrchafant draw o'r dyfnder cudd,
Cânt dd'od yn rhydd, mae'r dydd ger llaw.

3 Pan losgo'r ddaear lawr,
A'i mawredd o bob rhyw,
Fe gênir am yr awr
Daeth Ef o'i fedd yn fyw:
Bydd côf am hon gan ddisglaer lu
Aneirif fry, byth ger Ei fron. R. W.

## 171 (518) *Yr un testyn.*

6. 8.—Beverley. Hollybourne.

1 'NOL marw Brenin hedd,
A'i eiddo i gyd yn brudd,
A'i ro'i mewn newydd fedd,
Cyfodai'r trydydd dydd ;
Boed hyn mewn côf gan Israel Duw,
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw.

2 Y Meichiau aeth yn rhydd
'N ol rhoddi taliad llawn,
A Duw'n cyhoeddi sydd,
"Yn Hwn mi gefais Iawn" :
Gwnaeth ffordd yn rhydd i fyn'd at Dduw :
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw.

3 Galarwyr Seion, sydd
A'ch taith trwy ddŵr a thân,
Paham y byddwch brudd ?
Eich galar droir yn gân :
O cenwch ! etholedig ryw,
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw. J. T.

## 172 (536) *"Tangnefedd i bell ac i agos."*

6. 4. 8. 7.—Noddfa. Bow Street.

1 TEG wawriodd arnom ddydd
A welwyd gynt trwy ffydd,
Gan rai sy'n awr
O'u cystudd mawr yn rhydd ;
Ac os oedd dyled arnynt hwy
Foliannu'r Oen a'i farwol glwy',
Mae'n dyled ni, genhedloedd,
Fil miloedd foli mwy. E. PR.

2 Trwy Grist a'i werthfawr waed
Y daeth maddeuant rhâd,
I ddynol-ryw
Iachawdwr gwiw a gaed ;
Ei fywyd pur a'i angeu loes,
A'i ddïoddefaint ar y groes,
A ddygo fy serchiadau
Tra par'o dyddiau f'oes.

3 Yn nyfnder pob rhyw loes,
A gorthrymderau f'oes,
Fy noddfa a'm nerth
Yw aberth mawr y groes :
Rhinweddol haeddiant marwol glwy'
Yw'm cysur yn y byd tra b'wy',
A'm hunig ddigonoldeb
I dragwyddoldeb mwy.

S. M.

## 173 (548) *"Iddo Ef."*

6. 6. 4.—Malvern. Moscow.

1 'DOES destyn gwiw i'm cân,
Ond cariad f' Arglwydd glân,
A'i farwol glwy' !
Griddfanau Calfari,
Ac angeu Iesu cu,
Yw 'nghân a 'mywyd i—
Hosanna mwy !

2 Caniadau 'r nefol gôr
Sydd oll i'm Harglwydd Iôr,
A'i ddwyfol glwy' :—
Y brwydrau wedi troi,
Gelynion wedi ffoi,
Sy'n gwneyd i'r dyrfa ro'i
Hosanna mwy !

J. B.

## 174 (549) RHAN II.

6. 6. 4.—Malvern. Moscow.

1 O ! FAINT Ei gariad Ef !
Nis gall holl ddoniau 'r nef
Ei dreiddio trwy :
Mae hyn i mi 'n beth sỳn,
I riddfan pen y bryn,
Droi 'n gân i mi fel hyn—
Hosanna mwy !

2 Pan ddelo 'r plant ynghyd,
O bedwar cŵr y byd,
I'w mangre hwy ;
Gobeithiaf yn ddi-lŷth,
Gael telyn yn eu plith,

I ganu, heb gwŷno byth,
Hosanna mwy ! J. B.

175 (554) *Y gan newydd.*

6. 6. 4.—Harlan. Moreb.

1 AR aur delynau 'r nef,
Bydd seinio uchel lef,
Heb ball, na phoen ;
Yr anthem felus, faith,
Fydd am achubol daith,
A phur rinweddol waith
Y nefol Oen !

2 Pan ddelo'r saint ynghyd,
Uwch poen a maglau 'r byd,
Yn groew eu cân,
Caniadau am Ei loes,
A rhinwedd llawn Ei groes,
Fydd hyd dragwyddol oes,
Yn Salem lân !

3 I'r nefol byrth ni ddaw
Na phechod, poen, na braw,
I roddi clwy' ;
Pwy na hiraethai 'n wir
Am rodio 'r sanctaidd dir,
A chanu 'r anthem glir,
Heb dewi mwy ! T. J.

176 (560) *"O! ryfedd râs."*

6. 4. 6. 4.—St. Nicholas. Builth.

1 DAETH ffrydiau melus iawn
Yn llawn fel lli',
O ffrwyth yr arfaeth fawr
Yn awr i ni ;
Hen iachawdwriaeth glir
Aeth dros y crindir crâs ;
Bendithion ammod hedd—
O! ryfedd râs !

2 Fe gymmerth Iesu pur
Ein natur ni ;
Ennillodd Ef i'w saint
Bob braint a bri :

Gadawai'r nef o'i fodd,
Fe gym'rodd agwedd gwâs ;
Ffrwyth y cyfammod hedd—
O ! ryfedd râs !

3 Llonyddodd Iesu'r dîg,
Do, ddîg Ei Dad ;
I'r gyfraith ar y groes,
Y rho'es fawrhâd ;
Cyhoedder drwy bob màn
O'r lydan ddaear lâs,
Fod Duw yn awr mewn hedd—
O ! ryfedd râs !

4 Fe gymmerth Iesu blaid
Trueiniaid trist ;
Ysigodd ben y ddraig ;
Ein craig yw Crist :
Cawn ninnau fod yn bur
Uwch cur a phechod câs,
Yn berffaith ar Ei wedd—
O ! ryfedd râs ! P. J.

## 177 (561, 536) RHAN II.

6. 4. 6. 4.—St. Nicholas. Builth.

1 BOED clôd i'n Prynwr rhâd—
Ein Ceidwad cu ;
Fe dorodd rŷm yr hên
Iorddonen ddu :
Gorchfygodd angeu cryf,
Er awch ei gleddyf glâs,
A drylliodd rwymau'r bedd—
O ! ryfedd râs !

2 Wrth orphwys ar yr Iawn,
Ni gawn i gyd,
Felusion ffrwythau'r groes
Drwy'n hoes o hyd ;
Mae yma hyfryd wîn,
I flîn, o beraidd flâs,
Maddeuant pur a hedd—
O ! ryfedd râs !

3 Yn rawnwin, ar y groes,
Fe droes y drain;
Caed balm o archoll ddofn
Y bicell fain;
Dechreuwn fawl cyn hir
Na flinir ar ei flâs,
Am Iesu'r aberth hedd—
O! ryfedd râs. P. J.

## 178 (565) *Marwolaeth Crist.*

6. 4. 6. 4.—Siloah. Fatherland.

1 RHYFEDDA hyd a lled,
Fy enaid trist,
Uchder a dyfnder maith
Marwolaeth Crist;
Pan gym'rodd agwedd gwâs,
A phechod câs ei ryw,
Bu farw yn ddi-gŵyn
I'n dwyn at Dduw.

2 'N ol rhoddi'n Harglwydd hael,
Yn wael Ei wedd—
Rhyfeddod fwya' erioed,
Yn ngwaelod bedd;
Ond ar y trydydd dydd
Yn rhydd yr aeth Efe;
Palmantodd lwybr gwych
I entrych ne'.

3 'N ol gorphen ar Ei waith,
I'r nef 'r aeth Ef,
Lle mae Ef yr awr hon
Yn gwrando'n llef,
Yn eiriol drosom draw;
Ar fŷr daw i'n rhyddhau;
Mae'r amser, ddydd a nôs,
Yn agoshau. W.

## 179 (576) *Clodforedd am waredigaeth.*

8au. 4ll.—Llantrisant. Antwerp.

1 CANED pechaduriaid mawrion,
Fe gaed noddfa i lofruddion:

Noddfa glŷd rhag llîd dïalydd,
Noddfa râd yn ngwlad y cystudd.

2 Canwn mwy am waredigaeth
Heb ei hail i blant marwolaeth ;
Talodd Iesu ein dyledion,
A gorchfygodd ein gelynion.

3 Caned nef a daearolion
Sain Hosanna i Frenin Seion ;
Llawn tosturi yw E'n wastad,
Nid oes diwedd ar Ei gariad. J. PA.

## 180 (584) *Caru a chanmol Iesu.*

8au. 4ll.—Dresden. Weber.

1 O! NA allwn garu'r Iesu,
Yn fwy ffyddlon, a'i was'naethu ;
D'weyd yn dda mewn gair am dano,
Rho'i fy hun yn gwbl iddo. *Cas.* M. D. 1.

## 181 (578) *Iesu yn rhagori ar bob peth.*

8au. 4ll.—Llantrisant. Antwerp.

1 NID yw hardd wrthrychau daear
Oll ond dim wrth Iesu hawddgar ;
Nid yw'r nefoedd i'w chydbwyso,
Pe b'ai nefoedd i'w chael hebddo.

2 Iesu Ei Hunan yw fy nefoedd
Dros fy oes ac yn oes oesoedd ;
Nef y nefoedd fydd Ei garu,
Ei fwynhau, a'i bur foliannu. T. J.

## 182 (577, 585) *Tywysog bywyd.*

8au. 4ll.—Llantrisant. Antwerp.

1 O! NA chawn i olwg hyfryd
Ar Ei wedd, Dywysog bywyd !
Tegwch byd, a'i holl bleserau,
Yn Ei ŵydd a lwyr ddiflannai.

2 Melus odiaeth yw Ei heddwch,
Anghydmarol Ei brydferthwch :
Ynddo 'n rhyfedd cydlewyrcha
Dwyfol fawredd a mwyneidd-dra.

3 Uchelderau mawr Ei Dduwdod,
A dyfnderoedd Ei ufudd-dod,
Sy'n creu sŷnu fyth ar sŷnu
Yn nhrigolion gwlad goleuni. D. C.

## 183 (605) *Trysorau y groes.*

8. 7. D.—Dismission. Dismissal.

1 IESU Ei Hunan yw fy mywyd—
Iesu'n marw ar y groes,
Y trysorau mwyaf feddaf
Yw Ei chwerw angeu loes;
Gwagder annherfynol ydyw
Meddu daear, da, na dyn;
Colled, ennill pob peth arall
Os na ennillir Di Dy Hun.

2 Dyma ddyfnder o drysorau,
Dyma ryw anfeidrol rodd,
Dyma wrthrych ge's o'r diwedd
Ag sy'n hollol wrth fy modd;
Nid oes syched arnaf mwyach
Am drysorau gwâg y byd;
Pob peth gwerthfawr a drysorwyd
Yn fy Mhrynwr mawr ynghyd.

3 Mi orphwysa' f'enaid bellach
Ar yr annherfynol stôr,
Ac mi ganaf yn y dymmestl
Ar y graig sydd yn y môr;
Dyna'r màn na feiddia Satan,
Uffern ddofn, fawr, a'r bedd,
Er eu dyfais faith, a'u rhuad,
I derfysgu dim o'm hedd.

4 Do, mi ddringais uwch y gwyntoedd,
Wedi bod mewn stormydd mawr;
Dinas noddfa ge's o'r diwedd
Mewn ardaloedd uwch y llawr;
Gobaith cadarn patriarchiaid—
Craig yr oesoedd gynt a fu,
Wnaeth yr arfaeth faith ddiddechreu—
Sydd yn fywyd 'n awr i mi. W.

## 184 (612) *Hawddgarwch a gogoniant Crist.*

8. 7. D.—Ledforth. Gaerwen.

1 NID yw'r haul, a'i faith fendithion,
Bywyd hardd y ddaear lâs,
Sydd yn llonni pob creadur,
Yn enwedig llysiau'r maes;
'D yw ei harddwch a'i oleuni,
A'i effeithiau ar y llawr,
Onid dim, wrth eu cydmaru
Â rhinweddau Iesu mawr.

2 Bynag peth sydd mewn creadur,
Fry, neu yma îs y rhôd,
Neu beth bynag a ddych'mygwyd
Mewn creaduriaid enwog fôd;
Saint, merthyron, a phrophwydi,
Draw o ddechreu i ddiwedd byd;
Càn' mil mwy o bethau'n rhagor
Sydd yn Iesu mawr ynghyd.

3 Holl angylion nef gwmpasog,
Sydd o nifer gwlith y wawr,
Pe b'ai'u tegwch a'u rhinweddau
Oll mewn un rhyw angel mawr;
T'w'llai'i harddwch mewn munydyn,
Toddai'i ddoniau maith yn un,
Wrth ymddangos i'w gydmaru
Â'r Hwn wisgodd natur dyn.

4 O distawa ! 'nghalon ynfyd,
Na chais wrthrych arall mwy ;
Digon, mwy na digon, ydyw,
A ddioddefodd farwol glwy' ;
Ffàrwel, ddaear, a'i gwrthrychau
Nid wyt ond y twyll i gyd ;
Uwch y wybren mae'r Blaguryn
Dâl ro'i arno'm serch a'm bryd. W.

## 185 (608) "*Iesu, llawnder mawr y nefoedd.*"

8. 7. D.—Dusseldorf. Innocence.

1 IESU, llawnder mawr y nefoedd,
Gwrando lef un eiddil, gwàn,

Sydd yn gorwedd wrth Dy orsedd,
  Ac yn c'odi ei lef i'r làn ;
Mae 'ngelynion heb rifedi
  Yn fy nghuro o bob tu,
Ac nid oes a all fy achub
  Is y nefoedd ond Tydi.

2 Yn Dy haeddiant 'r wyf yn gyfiawn,
  Yn D'oleuni gwela'n glîr,
Yn Dy wisgoedd dwyfol, disglaer,
  Bydda'i 'n ogoneddus bur ;
Yn Dy iachawdwriaeth gyflawn,
  Er mor wàned wyf yn awr,
Ceir fy ngweled, ryw ddiwrnod,
  Yn disgleirio fel y wawr.

3 D'wêd y gair, fy addfwyn Iesu,
  Yna f'enaid lawenhâ—
Gair o addewid câf fy mhuro
  O bob pechod, o bob plâ ;
Gwrendy f'enaid, mewn distawrwydd,
  Ar Dy adlais distaw, main,
Ac fe neidia o orfoledd
  Pan y clywo'th nefol sain.

4 Mae Dy lais yn rho'i distawrwydd
  Ar holl ddwndwr gwâg y byd,
Yn gostegu pob rhyw derfysg
  Fago nwydau croes ynghyd ;
Y mae'r gwynt yn troi i'r deheu,
  Ac mae'r hîn yn dawel iawn,
Pan b'o'm Duw'n cyhoeddi heddwch,
  Er mor arw fu'r prydnawn. W.

## 186 (648) *Iesu, ffynnon bywyd.*

8. 7. D.—Chrysostom. Vienna.

1 IESU, Ti wyt ffynnon bywyd,
  Bywyd dedwydd i barhau ;
Pob cysuron îs y nefoedd,
  Ynot Ti Dy Hun y mae :
Nis gall croes, na gwae, na chystudd,
  Wneuthur niwed iddynt hwy

Gafodd nerth i wneyd eu noddfa
Yn Dy ddwyfol farwol glwy'.

2 Dyna'r màn na ddaw euogrwydd,
Dyfais Satan fyth, na chwant;
Awel nef sydd yno'n cadw
Pob rhyw ddrygau oll i bant:
Nid oes rhuad môr, na'i dònau,
Na thymhestloedd o un rhyw,
Ond rhyw bur dangnefedd hyfryd
Yn archollion f'anwyl Dduw.

3 Dring, fy enaid, i'th orphwysfa,
Uwch y gwynt tymhestlog, oer;
'Maes o sŵn rhuadau'r llewod,
'Maes o gyrhaedd tònau'r môr;
Mi gâf yno, dàn bob blinder,
Hyfryd dreulio'm dyddiau i maes,
Heb gael briw, na chlais, nac archoll,
Gan ryw neb gelynion câs. W.

## 187 (601) *Gras a dedwyddwch yn Nghrist.*

8. 7. D.—Moriah.

1 NID fy nef yw ar y ddaear,
Pe'r màn goreu dàn yr haul:
Nef yw tawel bresennoldeb
Wyneb siriol Adda'r ail:
Gwêna arnaf, Arglwydd grasol,
Gwaeddaf allan, Digon yw;
Yna 'nghanol cyfyngderau
Byth yn llawen byddaf byw.

2 Môr sydd ynot o fendithion
Heb waelodion iddo'n bôd;
Mae yn llanw 'mlaen bob munyd,
Nid oes diwedd ar Dy glôd;
D'enw beunydd sy'n helaethu—
Beunydd yn ymdaenu i maes;
Bydd telynau'n canu iddo
Fel rhifedi gwellt y maes.

3 Yn Dy glwyfau y mae bywyd,
Tyllau'r hoelion yw fy nyth;

'D ofnaf fyd, na chnawd, na phechod,
Nac euogrwydd yno byth :
Gwaed fy Mhrïod wedi ei golli,
Archoll fawr y wayw-ffon,
Yw fy nghraig a'm dinas noddfa
Sicr ar y ddaear hon.

4 Yno boed fy mwyd a'm dïod,
Dàn ganghenau gwych y pren
Sydd â'i wreiddyn ar y ddaear,
Ei frigau yn y nefoedd wèn ;
Dyn â'r Duwdod ynddo'n trigo,
Ffrwythau arno'n tyfu'n llawn ;
Cysgod dano i'r ffyddloniaid
O foreuddydd hyd brydnawn. W.

## 188 (646) "*Mae dy eiriau fel y gwin.*"

8. 7. D.—Chrysostom. Vienna.

1 O LLEFARA ! addfwyn Iesu,
Mae Dy eiriau fel y gwîn,
Oll yn dwyn i mewn dangnefedd
Ag sydd o anfeidrol rîn ;
Mae holl leisiau'r greadigaeth,
Holl ddeniadau cnawd a byd,
Wrth Dy lais hyfrydaf, tawel,
Yn distewi a myn'd yn fud.

2 Nis gall holl hyfrydwch natur,
A'i melusdra pena'i maes,
Fyth gydmaru â lleferydd
Hyfryd pur maddeuol râs :
Gâd im' glywed sŵn Dy eiriau—
Awdurdodol eiriau'r nef,
Oddi mewn yn creu hyfrydwch
Nad oes mo'i gyffelyb ef.

3 D'wêd Dy fod yn eiddo imi,
Mewn llyth'renau eglur, clir ;
Tòr amheuaeth sydd ddigysur,
Tywyll, dyrys, cyn b'o hîr ;
'R wy'n hiraethu am gael clywed
Un o eiriau pur y ne',

Nes b'o ofn du a thristwch
  Yn tragwyddol golli eu lle. W.

**189** (602) *Dyfnderoedd a doethineb grâs.*

8. 7. D.—Moriah.

1 NID oes angel, nid oes seraph,
  Yn y nefoedd fawr a gaed,
All'sai ffeindio allan foddion
  I fy enaid gael iachâd;
Mae yma ddyfnder o ddirgelion,
  Maith, goruchel iawn eu rhyw,
A ddyfeisiwyd cyn bod amser
  Gan ddoethineb bur fy Nuw.

2 Mae priodoliaethau'r Duwdod
  Yma'n cael eu cyflawn le—
Ei gyfiawnder, a'i wirionedd,
  A'i sancteiddrwydd perffaith E';
Y mae cariad, a thrugaredd,
  A doethineb, yma ynghyd,
Yn cael perffaith ymhyfrydu
  Yn achubiaeth f'enaid drud.

3 Mae'm cydwybod, oedd mewn terfysg,
  Ac yn ofni'n arw iawn,
Heddyw'n dechreu ymlonyddu,
  Wel'd y Meichiau'n talu'n llawn;
Taliad holl ofynion Duwdod
  Ag sydd o anfeidrol fri;
Taliad holl ofynion cyfraith,
  Taliad sicr iawn i mi. W.

**190** (603) RHAN II.

8. 7. D.—Moriah.

1 O DDYFNDEROEDD! O ddoethineb!
  O ddyfnderoedd maith o râs!
O ddirgelion anchwiliadwy,
  Fythol uwch eu chwilio i maes!
Mae seraphiaid nef yn edrych,
  Gyda syndod bob yr un,
Ar ddyfnderoedd cariad dwyfol—
  Duw yn marw dros y dyn!

2 Fyth i'r Tad y b'o'r gogoniant,
Ro'i a derbyn y fath rodd ;
Fyth i'r Mab y b'o'r un moliant,
Ddisgyn yma i lawr o'i fodd :
Fyth i'r Ysbryd b'o'r anrhydedd,
Am ddadguddio'r ddyfais râd,
Ac am selio, a rho'i ernes
Fod Eiriolwr gyda'r Tad. W.

## 191 (613) *Mawl i Grist.*

8. 7. D.—Ledforth. Gaerwen.

1 HENFFYCH, Iesu, 'r Duw tragwyddol,
Gwir a sanctaidd berffaith ddyn !
Dwy ryw natur mewn un Person—
Syndod nefoedd fawr ei hun !
A phob natur a phriodoledd
Eto'n hollol gadw'i lle,
Dyndod heb gymmysgu â Duwdod—
Prïod f'enaid byth yw E'.

2 Ti yn unig ydwy'n addef
Yn llawn deilwng o fy mryd ;
Ti yn unig ydyw gwrthrych
Fy serchiadau oll i gyd ;
Dàn Dy aden rasol, dyner,
Trwy Dy ddioddefiadau maith,
'R wyf yn disgwyl yn ddïangol
Hyfryd gyrhaedd pen fy nhaith. W.

## 192 (600) *Gair Crist, Ei bresennoldeb, a'i enw.*

8 7. D.—Moriah.

1 GOLEU a nerthol yw Dy eiriau,
Melus fel y diliau mêl,
Cadarn fel y bryniau pwysig ;
Angeu'm Iesu yw eu sêl ;
'Rhai'n a nertha'm henaid gerdded
Dyrys, anial, ffordd yn mlaen ;
'Rhai'n a gynnal f'enaid egwan
Yn y dŵr ac yn y tân.

2 Holl bleserau maith y ddaear,
'Rhai a gais brenhinoedd byd,

Cyfoeth, rhwysg, gogoniant, mawredd,
  A rhyw fyrdd o bethau 'nghyd,
Fyth ni cheisiaf, tra f'o bywyd,
  Ddim ond edrych ar Dy wedd—
Teimlo arwyddion hyfryd gariad
  Nes disgynwyf 'lawr i'm bedd.

3 Gwedd Dy wyneb sy'n rhagori
  Ar drysorau'r India draw ;
Mae awelon pur Dy gariad
  Yn dwyn gwobr yn eu llaw ;
Perffaith bleser heb ddim diwedd,
  Perffaith gysur heb ddim trai,
Yn y stormydd mawr, cynddeiriog,
  Yw yn unig Dy fwynhau.

4 Tyred gyda mi trwy'r fyddin,
  Gyda mi yn erbyn llu ;
Yn Dy enw mi goncweraf
  Bawb sy'n sathru D'enw cu ;
D'enw Di a faeddodd angeu,
  Faeddodd uffern fawr ei grym,
Ni wyneba cnawd a phechod
  Bellach mo Dy enw ddim. W.

## 193 (653) *Crist y trysor goreu.*

8. 7. D.—Joseph. Corinth.

1 CLYWAF lais gan bob rhyw raddau
  O'r creaduriaid mân i gyd,
'Môd i wedi aros gormod,
  Hepian llawer yn y byd ;
Gwisg dy aden, medd pob tafod
  Glywaf dàn yr awyr lâs ;
Gormod hepian ; mae'n ddiweddar
  Cyn it' ddechreu taro i maes.

2 Nerth, os câf, mi frysiaf mwyach
  Fyny tua'm gwlad fy hun,
Lle mae'm Duw yn gwisgo'n gysson,
  Mewn gogoniant, natur dyn ;
Na enwer imi'n gartref bellach
  Fan-gre arall ond y ne',

Neb yn Dad, na neb yn Brïod,
  Neb yn Arglwydd, ond Efe.

3 Gwêna arnaf, D'wysog bywyd,
  Yna gwged arna'i 'r byd;
Ynot f'enaid sy'n ymddiried
  Uwch law meibion Adda i gyd;
Rho addewid byddi gydaf',
  Unrhyw rwystr îs y nef,
Doed o'r ddae'r neu uffern gadarn,
  'D ofnaf ddim o hono ef.

4 Ti yw gwrthrych mawr fy ofnau,
  Gwrthrych fy llawenydd gwir;
Atat mae fy nymuniadau,
  Atat mae fy ngobaith pur;
Pob peth eto welodd llygad
  A ddiflanodd arna'i 'n lân,
Aeth eu bôd, ac aeth eu henwau,
  Oll yn ddiddim o fy mlaen. W.

## 194 (650) *Iesu 'n werthfawr.*

8. 7. D.—Chrysostom. Vienna.

1 TI yw 'mywyd, Ti yw 'ngobaith,
  Ti yw 'nghysur, Iesu! i gyd:
Ac i Ti 'r wyf am ddadguddio
  Fy nirgelion pena' 'nghyd;
Arnat Ti 'r wy'n rho'i fy ngofal,
  Trefna 'm llwybrau oll yn lân,
Rho i mi gerdded wrth Dy ochr
  Mewn llifeiriant mawr a thân! W.

## 195 (599) *Crist yn bob peth.*

8. 7. D.—Moriah.

1 O FY Arglwydd! O fy Mhrynwr!
  O fy Ngheidwad! O fy Nuw!
Ti, fy Iesu, yw fy nghwbl,
  Ar Dy haeddiant 'r wyf yn byw;
Ffrwyth Dy boen, a gwerth Dy aberth,
  Rhinwedd iawnol dwyfol waed,
Dyma wraidd fy holl orfoledd,
  Dyma'r graig sydd dàn fy nhraed.

2 Ti fy Mugail! Ti fy Mrenin!
Ti fy Mhrïod! Ti fy Mrawd!
Ti fy Archoffeiriad grasol!
Ti ymwisgaist yn fy nghnawd;
Ti sy'n byw i eiriol drosof,
Ti fy unig noddfa yw;
Dyma sail fy iachawdwriaeth,
Duw yn ddyn a dyn yn Dduw. D. H.

## 196 (619) *Dirgelwch duwioldeb.*

8. 7. D.—Esther.

1 DYMA Babell y cyfarfod,
Dyma gymmod yn y gwaed,
Dyma Noddfa i lofruddion,
Dyma i gleifion Feddyg rhâd;
Dyma fàn yn ymyl Duwdod
I bechadur wneyd ei nyth,
A chyfiawnder pur y nefoedd
Yn siriol wênu arno byth.

2 Ffordd a drefnwyd cyn bod amser
I gael dïangfa o ddrygau'r ddraig;
Mewn addewid gynt yn Eden,
Fe gyhoeddwyd Hâd y wraig;
Ffordd i gyfiawnhau'r annuwiol,
Ffordd i g'odi'r marw'n fyw;
Ffordd gyfreithlawn i droseddwr
I hedd a ffafr gyda Duw.

3 O! ddyfnderoedd iachawdwriaeth!
Dirgelwch mawr duwioldeb yw,
Duw y duwiau wedi ymddangos
Yn nghnawd a natur dynol-ryw!
Dyma'r Person a ddioddefodd
Yn ein lle ddigofaint llawn
Nes i gyfiawnder waeddi "Gollwng
Ef yn rhydd, mi gefais Iawn."

4 Dyma Frawd a anwyd ini
Erbyn c'ledi a phob clwy';
Ffyddlawn ydyw, llawn tosturi,
Haeddai gael Ei foli'n fwy:

Rhyddhäwr caethion, Meddyg cleifion,
  Ffordd i Seion union yw ;
Ffynnon loyw, Bywyd meirw,
  Arch i gadw dyn yw Duw. A. G.

## 197 (620) *Haeddiant Crist yn ddigon i bechadur.*

8. 7. D.—Esther.

1 PECHADUR aflan yw fy enw,
  O ba rai y pena'n fyw ;
Rhyfeddaf byth, fe drefnwyd pabell
  Im' gael yn dawel gwrdd â Duw :
Yno y mae yn llon'd Ei gyfraith
  I'r troseddwr i gael gwledd ;
Duw a dyn yn gwaeddi, Digon,
  Yn yr Iesu, yr aberth hedd.

2 Anturiaf ato yn hyderus,
  Teyrnwialen aur sydd yn Ei law ;
Estyniad hon sydd at bechadur,
  Ni wrthodir neb a ddaw ;
Af yn mlaen dàn waeddi, Pechais ;
  Af, a chwympaf wrth Ei draed,
Am faddeuant, am fy ngolchi,
  Am fy nghànu yn y gwaed.

3 Nid all y moroedd mawrion, llydain,
  Guddio pechod o un rhyw ;
Ac nis gallodd diluw cadarn
  Ei foddi'n wir, mae'n awr yn fyw ;
Ond gwaed yr Oen fu ar Galfaria,
  Haeddiant Iesu a'i farwol glwy',
Ydyw'r môr lle caiff ei guddio,
  Byth ni welir mo'no mwy.

4 Ffrydiau tawel, byw, rhedegog,
  O dàn riniog tŷ fy Nuw,
Sydd yn llanw, ac yn llifo
  O fendithion o bob rhyw :
Dyfroedd gloyw fel y grisial,
  I olchi'r euog, nerthu'r gwàn,
Ac a gàna'r Ethiop duaf
  Fel yr eira yn y màn. A. G.

## 198 (617) *Duw yn y cnawd.*

8. 7. D.—Esther.

1 RHYFEDD, rhyfedd gan angylion,
Syndod mawr yn ngolwg ffydd,
Rhoddwr bôd, Cynhaliwr helaeth,
A Rheolwr pob peth sydd,
Yn y preseb mewn cadachau,
Ac heb le i ro'i 'i ben i lawr,
Eto disglaer lu'r gogoniant
Yn Ei addoli Ef yn awr.

2 Diolch byth, a chanmil diolch,
Diolch tra b'o ynof chwyth,
Am fod gwrthrych i'w addoli,
A thestyn cân, i bara byth,
Yn fy natur wedi Ei demtio
Fel y gwaela' o ddynolryw,
Dyn wedi Ei amgylchu â gwendid,
Ac anfeidrol fywiol Dduw.

3 Pan f'o Sinai i gyd yn mygu,
Sain yr udgorn uchaf radd,
Câf fyn'd i wledda dros y terfyn,
Yn ngrym yr aberth, heb fy lladd;
Mae ynddo'n trigo bob cyflawnder—
Llon'd gwagle colledigaeth dyn;
Yn yr adwy rhwng y ddwyblaid
Gwnaeth gymmod trwy offrymu Ei Hun. A. G.

## 199 (614) *Esgyniad Crist.*

8. 7. D.—Ledforth. Gaerwen.

1 PAN esgynodd 'r Hwn ddisgynodd,
Wedi gorphen yma 'i waith,
Pyrth oedd yn drychafu eu penau—
Gorfoleddent yn eu hiaith:
Dorau 'n agor, côr yn plygu,
I Dduw mewn cnawd yr ochr draw;
Y Tad yn siriol a'i gwahoddai
I eistedd ar Ei ddeheu law! A. G.

## 200 (733) *Cyflawnder Crist.*

8. 7. 4.—Litany. Edlingham.

1 IESU, nid oes terfyn arnat,
Mae cyflawnder maith Dy râs
Yn fwy helaeth, yn fwy dwfn,
Ganwaith nag yw 'mhechod câs:
Fyth yn anwyl
Meibion dynion mwy a'th gâr.

2 Mae angylion yn cael bywyd
Yn Dy ddwyfol nefol hedd,
Ac yn sugno'u holl bleserau
Oddi wrth olwg ar Dy wedd;
Byd o heddwch
Yw cael aros yn Dy ŵydd.

3 Ti faddeuaist fil o feiau
I'r pechadur gwaetha'i ryw;
Arglwydd, maddeu eto i minnau—
Ar faddeuant 'r wyf yn byw:
Dy unig haeddiant
Yw 'ngorfoledd a fy ngrym.

4 Heddyw 'r wyf yn frwnt o newydd,
Rhaid fy ngolchi heddyw'n wŷn
Yn yr afon wna yr aflan
Fel yr eira ar y bryn;
Dim nis càna
Ond Dy ddwyfol nefol waed.

5 Nid oes ddofa fy nghydwybod
Ond cyfiawnder mawr y nef,
Ac ni thâl rho'i aberth arall
Is y nefoedd iddo ef:
Maddeu, f'Arglwydd;
Gwrando'r griddfan ar y groes. W.

## 201 (723) *Rhinweddau Ei enw.*

8. 7. 4.—Havilah. Triumph.

1 NID oes pleser, nid oes tegan,
Nid oes enw mewn un màn,
Er ei fri a'i holl ogoniant,
Fyth a lesia'm henaid gwàn,

Ond fy Iesu :
Ef Ei Hunan yw fy Nuw.

2 Mae deng myrddiwn o rinweddau
Dwyfol yn Ei enw pur ;
Yn Ei wedd mae tegwch ragor
Nag a welodd môr na thir :
Mo'i gyffelyb
Erioed ni welodd nef y nef.

3 Mae yn maddeu beiau mawrion,
Ac yn caru yn ddidrai,
A lle caro, mae Ei gariad
Yn dragwyddol yn parhau :
Nid oes terfyn
I'w amynedd Ef a'i râs.

4 Ynddo mae afonydd mawrion
O ffyddlondeb ac o hedd ;
Er fy mwyn dioddefodd angeu,
A gorweddodd yn y bedd,
Fel y gallwn
Fyn'd i mewn i'r ddinas bur. W.

## 202 (735) *Iesu Ei Hunan yn ddigon.*

8. 7. 4.—Eli. Lewes.

1 GWŶN a gwridog yw fy Arglwydd,
Gwŷn a gwridog yw Ei wedd ;
Brenin y brenhinoedd ydyw
Yma a thu draw i'r bedd ;
Mae Dy degwch
Wedi'm hennill ar Dy ol.

2 Càn' ffarwèl i bob peth arall,
'R wyt Ti'n ddigon mawr Dy Hun ;
Derfydd nefoedd, derfydd daear,
Derfydd tegwch wyneb dyn :
'Sawl Dy gaffo,
Gaiff y cwbl oll yn un.

3 'Sawl Dy gaffo gaiff bleserau,
Pleser yma îs y rhôd,
Ei ddyfnderoedd ni ddeallodd
Cnawd na rheswm eto erioed :

O! gâd imi,
Imi'n fuan Dy fwynhau.

4 Paid a'm gado yn yr anial
Dyrys, mawr, wrthyf fy hun;
'R wyt Ti'n adwaen aml ofnau,
A gwendidau natur dyn:
Dàl Dy afael;
Mae y gelyn mawr ger llaw.

5 Mae Dy wedd yn drech na byddin
O elynion mawr eu grym;
Nid oes yn y nef na'r ddaear
Saif o flaen Dy wyneb ddim:
Gair o'th enau
Wna y dywell nôs yn ddydd. W.

**203** (759) *Iesu yn ddigon.*

8. 7. 4.—Calfari. Blaencefn.

1 IESU, Iesu, 'r wyt Ti'n ddigon,
'R wyt Ti'n llawer mwy na'r byd;
Mwy trysorau sy yn Dy enw
Na thrysorau'r India i gyd:
Oll yn gyfan
Ddaeth i'm meddiant gyda'm Duw.

2 Y mae gwedd Dy wyneb grasol
Yn rhagori llawer iawn
Ar bob peth a welodd llygad
Ar hyd wyneb daear lawn:
Rhosyn Saron,
Ti yw tegwch nef y nef.

3 Tarian gadarn yw Dy enw;
Pan b'o'r gelyn yn nesau,
Angeu 'i hunan sydd yn ofni—
Angeu sydd yn llwfrhau;
Ti orchfygaist;
'D oes ond canu'n awr i mi.

4 Nis gall f'enaid, er ei gyrhaedd,
Fyth i geisio cyrhaedd mwy
Nag sydd wedi ei ro'i yn nghadw,
Yn y dwyfol, farwol glwy';

Cariad, cariad,
Nad oes dyfnder iddo'n bôd.

5 Dyma'r tlawd a gyfoethogwyd,
A'r carcharor wnaed yn rhydd,
Ddoe oedd yn y pydew obry,
Heddyw yma'n canu'n rhydd;
Nid oes genyf
Ddim ond diolch tra f'wy' byw. W.

## 204 (800) *Cydymdeimlad Crist.*

8. 7. 4.—Llanilar. Catharine.

1 IESU, gwyddost fy nghystuddiau,
'R wyt yn rhifo pob yr un;
Pob rhyw w'radwydd, pob rhyw groesau,
Fe'u dioddefaist hwynt Dy Hun;
Dàl fi i fyny,
Màn b'o 'meichiau'n fwyaf trwm.

2 Cofia'th boenau ar Galfaria,
Cofia i Ti gario'r groes,
Cofia gur yr hoelion llymion,
Cofia'th chwerw angeu loes;
Rho i mi heddwch,
Rho i mi nefoedd, er eu mwyn.

3 Er Dy fod Di heddyw'n eistedd
Yn ngogoniant nef y nef,
Mewn goleuni mor ddisgleiried
Na ellir nesu ato ef,
'R wyt yn edrych
Ar Dy anwylaf yn y byd.

4 Dyma'th gariad, dyma'th brïod,
Heddyw'n griddfan o Dy flaen;
Dros ein henaid y dioddefaist
Boenau megys uffern dân;
Ti yw'r cwbl
Heddyw feddwn yn y byd. W.

## 205 (801) *Rhinwedd gwaed Crist.*

8. 7. 4.—Llanilar. Catharine.

1 MAE fy meiau fel mynyddau,
Amlach hefyd yw eu rhi'

Nag yw gwlith y boreu wawr-ddydd,
Nag yw sêr y nefoedd fry:
Gwaed fy Arglwydd
Sydd yn abl golchi 'mai :—

2 Golchi'r ddu gydwybod aflan
Lawer gwŷnach eira mân;
Gwneyd y brwnt, gàn' waith ddifwynodd
Yn y domen, fel y gwlân:
Pwy all fesur
Llêd a dyfnder maith Dy râs?

3 Ei riddfanau ar y croesbren
Oedd yn pwyso beiau'r byd;
Poenau pechod oedd ofnadwy,
Poenau f' Arglwydd oedd fwy drud;
'N awr mae cariad
Yn concwerio'r dwyfol lîd. W.

**206** (722) *Gwerthfawrogrwydd gwaed y groes.*

8. 7. 4.—Havilah. Triumph.

1 NIS gall dysgedigion doethaf,
Er cyrhaeddyd fry i'r ne',
Chwilio troion sêr y wybr,
Gwel'd eu maint, a gwel'd eu lle,
Fyth i bwyso
Gwerthfawrogrwydd gwaed Dy groes.

2 Nis gall dysg, ac nis gall doniau,
Wel'd y pechod drwg ei ryw,
Bwyso'i haeddiant maith, a'i fesur,
O flaen gorsedd bur fy Nuw;
Ar Galfaria
Gwelaf e'n ei liw a'i lun.

3 Pechod yma, cariad acw,
Fu yno yn y glorian fawr;
Ac er trymed oedd y pechod,
Cariad bwysodd hyd y llawr:
'Gair "Gorphenwyd,"
Wnaeth i'r glorian bwysig droi.

4 Haeddiant Duwdod, o'i gymharu
'N erbyn uffern fawr o'r bron!

Dafn gwaed sy'n ganmil rhagor
Nag aflendid dudew hon;
Gw'radwyddiadau
Duw, rŷdd Iawn am feiau'r byd. W.

## 207 (743) *Cariad yn cario'r dydd.*

8. 7. 4.—Caio. Tamworth.

1 DACW gariad, dacw bechod,
Heddyw'n dau ar ben y bryn;
Hwn sydd gryf, hwn acw'n gadarn,
Pwy ennilla'r ymgyrch hyn?
Cariad, cariad
Wela'i 'n perffaith gario'r dydd.

2 Dringaf fyny i'r Olewydd,
I gael gweled maint fy mai;
Nid oes arall îs yr wybren,
Fàn i'w weled fel y mae;
Anwyl f'enaid
Yno'n chwysu dafnau gwaed.

3 Gwel'd yr Hwn fu'n prynu'm pardwn,
Prynu pardwn maith y byd,
Gwel'd Ei wallt, a gwel'd Ei wisgoedd,
Gwel'd Ei ruddiau'n waed i gyd!
'Fe, fy mhechod,
Yrodd allan ddwyfol waed.

4 Pechod grëodd ynddo'r poenau,
Pechod roddodd arno'r pŵn,
Pechod barodd iddo ochain;
F' unig haeddiant i oedd hwn:
O! na welwn
Foreu fyth na phechwn mwy.

5 Profed hwnw nad yw'n medru
Caru Prynwr mawr y byd,
Beth o'r dŵr a'r gwaed a lifodd
Gyda'r bicell fawr ei hyd;
Hwn sy'n magu
Fflamau o gariad heb ddim trai. W.

## 208 (744) *"Cyfaill publicanod a phechaduriaid."*

8. 7. 4.—Tamworth. Caio.

1 MI feddyliais cawn fy Arglwydd
Yn nghwmpeini mawrion byd :
Yn mhlith mwrddwyr, yn mhlith lladron,
Gwelais gynta'i wyneb-pryd ;
Ar y croesbren,
Nid yn llŷs brenhinoedd byd.

2 Dacw lofrudd ar Ei aswy
Dacw leidr ar Ei dde,
Draw fe'i hoeliwyd yn y canol—
Frenin daear, Frenin ne' :
Mi appeliaf
At yr orsedd ar y groes.

3 Ni raid esgyn fry i'r nefoedd,
Y mae'r nefoedd ar y pren ;
Fe ddaeth mynydd hên Galfaria
Er ys dyddiau'n un â'r nen :
Daeth Morïah
'N awr yn ysgol gref i'r nef.

4 Dring, fy enaid, i'th orphwysfa,
Y mae'r nefoedd wrth dy glun ;
'R Hwn a grëodd haul a lleuad
'N awr a wisgodd natur dyn ;
Edrych arno ;
Credu ydyw pen y daith. W.

## 209 (760) *Tragwyddoldeb i ryfeddu Crist a'i râs.*

8. 7. 4.—Blaencefn. Calfari.

1 HYN yw 'mhleser, hyn yw'm hymffrost,
Hyn yw 'nghysur yn y byd—
'Mod i'n caru'r addfwyn Iesu ;
Dyna 'm meddiant oll i gyd :
Mwy yw 'nhrysor
Nag a fedd y byd o'i fron.

2 Ac ni allaf fyth fynegu
Pe anturiwn, tra f'a'wn byw,
Pa mor hyfryd, pa mor felus,
Pa mor gryf, Ei gariad yw :

Fflam ddiderfyn
Ddaeth o ganol nef i lawr.

3 Yn y bywyd byth a bery,
Câf fi ddwfn chwilio i maes
Faith ddyfnderoedd cariad dwyfol,
A changhenau nefol râs;
Eangir f' enaid
I wel'd dadguddiadau'r nef.

4 Derfydd awyr, derfydd daear,
Derfydd grewyd îs y ne',
Derfydd haul, a sêr, a lleuad,
Daw tywyllwch yn eu lle;
Fyth ni dderfydd
Canu iachawdwriaeth grâs.

5 Bydd cerubiaid, a seraphiaid,
Ac angylion nef yn un,
Yn cymmysgu Haleluwia,
A Hosanna bur â dyn;
Anthem cariad
Fydd yr anthem tra f'o nef. W.

## 210 (769) *Lleferydd grâs a chariad.*

8. 7. 4.—Alma. Sicily.

1 CLYWCH leferydd grâs a chariad,
O Galfaria'n seinio sydd;
Wele'r cedyrn greigiau'n hollti,
Haul yn t'w'llu ganol dydd:
"Fe orphenwyd!"
Dwys ddolefa'r Meichiau mawr.

2 O! 'r trysorau anchwiliadwy
A gynhwysir yn y gair!
Môr diderfyn o fendithion,
I dylodion ynddo cair:
"Fe orphenwyd!"
Ni bydd eisieu aberth mwy.

3 Adgyweirier pob rhyw delyn
Drwy y ddaear faith a'r nef
Er cyd-daro'r anthem newydd
Heddyw a gyhoeddodd Ef:

"Fe orphenwyd!"
Dyma gân na dderfydd byth. JON. EVANS, *c.* E. E.

## 211 (731) *Y Graig.*

8. 7. 4.—Litany. Edlingham.

1 GWELAF graig a'm deil mewn stormydd
O gawodydd dŵr a thân;
'N wyneb uffern a'i rhuthriadau,
Holl breswylwyr hon a gân:
Cadarn sylfaen
A osodwyd gan y Tad. J. H.

## 212 (805) *Crist oll yn hawddgar.*

8. 7. 4.—Vesper. Tydfil.

1 WELE'n sefyll rhwng y myrtwydd
Wrthrych teilwng o fy mryd:
Er o'r braidd yr wy'n adnabod
Ei fod uwch law gwrthrychau'r byd:
Henffych foreu
Câf Ei weled heb un llen.

2 Rhosyn Saron yw Ei enw,
Gwŷn a gwridog, hardd Ei bryd;
Ar ddeng mil y mae'n rhagori
O wrthrychau pena'r byd:
Ffrynd pechadur,
Dyma'r llywydd ar y môr.

3 'Beth sydd imi mwy a wnelwyf
Âg eilunod gwael y llawr?
Tystio'r wyf nad yw eu cwmni
I'w gymharu â'm Iesu mawr:
O! am aros
Yn Ei gariad ddyddiau f'oes. A. G.

## 213 (806) *Genedigaeth y Ceidwad.*

8. 7. 4.—Vesper. Tydfil.

1 PERAIDD ganodd sêr y boreu
Pan y ganwyd Brenin nef;
Doethion a bugeiliaid hwythau
Ddaethant i'w addoli Ef:
Gwerthfawr drysor!
Yn y preseb Iesu a gaed.

2 Dyma Geidwad i'r colledig,
Meddyg i'r gwywedig rai;
Dyma un sy'n caru maddeu
I bechaduriaid mawr eu bai:
Diolch iddo
Byth am gofio llwch y llawr. M. R.

## 214 (775) *Pen Calfaria.*

8. 7. 4.—Hapus Dyrfa. St. Hildebert.

1 I GALFARIA tro'f fy wyneb—
Ar Galfaria gwŷn fy myd;
Y mae grâs ac anfarwoldeb
Yn diferu drosto i gyd:
"Pen Calfaria!"
Yno, f'enaid, gwna dy nyth.

2 Yno clywaf yn yr awel
Salmau'r nef yn d'od i lawr,
Ddysgwyd wrth afonydd Babel,
Gynt yn ngwlad y cystudd mawr:
"Pen Calfaria"
Gydia'r ddaear wrth y nef!

3 Dacw enaid lleidr aflan,
Wedi crino'n ngwrês y fflam,
O'i gadwynau'n dianc allan,
Ac i'r nef yn rhoddi llam:
"Pen Calfaria"
Fydd ei gân dragwyddol mwy! E. R.

## 215 (776) Rhan II.

8. 7. 4.—Hapus Dyrfa. St. Hildebert.

1 PAN yn nyffryn cysgod angeu,
Pan yn griddfan dàn fy mhŵn,
Mae Calfaria'n ddigymylau,
Dwyfol ddydd fedyddia hwn:
"Pen Calfaria"
Weddnewidiodd croes fy Nuw!

2 Bu ei ben dàn gwmwl unwaith—
Cwmwl o ddigofaint llawn;
Ond am byth diflanodd ymaith,
O flaen haul digonol Iawn!

"Pen Calfaria!"
Ni ddaw nôs i'w gopa mwy!

3 Dringo'r mynydd ar fy ngliniau
Geisiaf, heb ddiffygio byth;
Tremiaf trwy gawodydd dagrau
Ar y groes yn union syth:
"Pen Calfaria"
Dry fy nagrau'n ffrŵd o hedd! E. R.

## 216 (741) *Gwaredigaeth trwy y groes.*

8. 7. 4.—Verona. Russia.

1 FE agorodd ffordd i'r euog
Gael dyfodfa at y Tad;
I ymofyn am Ei heddwch,
Ac am lwyr faddeuant rhâd;
Ffordd gyfreithlawn
I'w dragwyddol gyfiawnhau.

2 Mae'r wahanlen wedi ei rhwygo
Rhyngom gynt a'r nefoedd gaed;
Mae y Barnwr yn ymddangos
Yn gymmodlawn yn y gwaed;
Goleu bellach
Yw y llwybr ato Ef.

3 Diluw y digofaint dwyfol,
Treio wnaeth er uched fu:
Cafodd gobaith le i roddi
'I droed i lawr ar Galfari.
Gweddi hefyd,
Le i ymbil wrth y fainc.

4 Dàn yr haeddfawr drugareddfa
Mae y gyfraith wrth ei bôdd;
Trwy ddïoddef ar Galfaria
Âg anfeidrol Iawn fe'i tôdd;
Iawn yn gysgod
Dros ei holl ofynion ro'ed. W. T.

## 217 (807) *Y Cyfaill goreu.*

8. 7. 7.—Vesper. Requiem.

1 Y MAE un, uwch law pawb eraill
Drwy'r greadigaeth faith i gyd,

Sydd yn haeddu Ei alw'n Gyfaill,
Ac a bery'r un o hyd :
Brawd a anwyd ini yw
Erbyn c'ledi o bob rhyw.

2 Nis gall meithder ffordd, nac amser,
Oeri dim o'i gariad Ef ;
Mae Ei fynwes byth yn dyner,
A'i gymdeithas byth yn gref ;
Nis gall dyfroedd angeu llym
Ddiffodd ei angerddol rym.

3 Yn mha le y ceir, er chwilio,
Neb yn caru fel Efe ?
P'le mae'r cyfaill, er ein hachub,
Ro'i ei fywyd yn ein lle !
Nid oes debyg iddo Ef
Drwy y ddaear faith a'r nef.

4 Pan f'o pawb yn cefnu arnom
Yn y dyffryn tywyll du ;
Pan f'o pob daearol undeb
Yn ymddattod o bob tu ;
Saif E'n ffyddlon y pryd hyn,
Ac a'n dŵg yn iach trwy'r glŷn.

5 A phan ymddangoso eilwaith,
Yn ngogoniant pur Ei Dad,
Gyda'i holl angylion sanctaidd,
Mewn anrhydedd a mawrhâd,
Fe geir gwel'd mai'r un fydd Ef,
Er myn'd heibio'r byd a'r nef. NEWTON, *Efel.* E. E.

## 218 (809) *Pwy fel Efe !*

8. 4.—Wynnstay. Upsal.

1 UN a gefais i mi 'n gyfaill,
Pwy fel Efe !
Hwn a gâr yn fwy nag eraill.
Pwy fel Efe !
Cyfnewidiol ydyw dynion,
A siomedig yw cyfeillion ;
Hwn a bery byth yn ffyddlon ;
Pwy fel Efe !

2 F'enaid glŷn wrth Grist mewn cyni:
Pwy fel Efe!
Ffyddlon yw yn mhob caledi;
Pwy fel Efe!
Os yw pechod yn dy dd'rysu,
Angrhediniaeth am dy lethu,
Hwn a ddichon dy waredu;
Pwy fel Efe!

3 Dy gamweddau a ddilëa;
Pwy fel Efe!
Dy elynion oll, fe'u maedda;
Pwy fel Efe!
Cei bob bendith i dy feddiant,
Hedd a chariad a'th ddilynant,
Crist a'th arwain i ogoniant;
Pwy fel Efe!

## 219 (810) RHAN II.

8. 4.—Wynnstay. Upsal.

1 CÂR yr Hwn sy'n llawn o gariad;
Pwy fel Efe!
Byth ni'th edy di'n amddifad;
Pwy fel Efe!
Bwrw arno dy holl ofal,
Dilyn Ef trwy'r dyrys anial,
Dàn dy feichiau Hwn a'th gynnal;
Pwy fel Efe!

2 Brawd yw Iesu mewn cyfyngder;
Pwy fel Efe!
Cyfaill yw a lŷn bob amser;
Pwy fel Efe!
Diogel fyddaf dàn Ei aden;
Ac wrth rydio 'r hên Iorddonen,
Yn Ei law âf drwyddi'n llawen;
Pwy fel Efe!

3 Yn y tywyll fedd fe'm cofia;
Pwy fel Efe!
Am fy llwch fe lwyr ofala;
Pwy fel Efe!

Egyr Ef Ei Hun fy ngharchar,
Mỳn fy nghorph o waelod daear,
Ar Ei wedd yn bur a hawddgar ;
Pwy fel Efe ! *Efel.* P. J.

## 220 (812) *Nerth Ei ddioddefiadau.*

8. 7. 3.—Moldavia. Wyddgrug.

1 MAE grasusau pen Calfaria,
Mae rhinweddau marwol glwy',
Uwch eu prisio, uwch eu deall,
Gan angylion o honynt hwy :
Bywyd byd sy yma i gyd
Wedi ei gasglu'n gryno 'nghyd.

2 Pan oedd uffern fawr yn berwi
Fflamau i maes i eitha'r byd,
Ac yn bygwth llosgi'n ulw
Ei drigolion oll i gyd :
F'Arglwydd glân ddaeth yn mlaen,
Ac a'm tynodd i o'r tân.

3 Rhaid oedd diodde'r chwerw boenau,
Rhaid oedd hefyd fyned trwy
Holl wasgfeuon caled angeu,
Er mor greulon oeddynt hwy :
Cariad Duw yn unig yw
Â trwy rwystrau gwaetha'u rhyw.

4 Rhaid oedd concro trwy ddïoddef,
Nid concwerio wrth Ei rym ;
Gallu'r Nefoedd fawr Ei Hunan
Heb ddïoddef, 'thal'sai ddim :
Talu'n llawn, ar brydnawn
Ar y croesbren gwnaeth E'n Iawn.

5 Diddig, diddig, fe'i gw'radwyddwyd,
Tàn Ei boenau fel yr oen ;
Ni bu neb cyffelyb iddo
Is yr wybr glyẅyd sôn ;
"Maddeu'n rhâd, dyma waed !"
Oedd Ei weddi ar Ei Dad. W.

## 221 (813) *Mawredd Crist.*

8. 7. 3.—Wyddgrug. Moldavia.

1 MAWR oedd Crist yn nhragwyddoldeb,
Mawr yn gwisgo natur dyn ;
Mawr yn marw ar Galfaria,
Mawr yn maeddu angeu 'i hun ;
Hynod fawr yw yn awr,
Brenin nef a daear lawr.

2 Mawr oedd Iesu yn yr arfaeth,
Mawr yn y cyfammod hedd ;
Mawr yn Methle'm a Chalfaria,
Mawr yn d'od i'r làn o'r bedd :
Mawr a fydd Ef ryw ddydd
Pan ddadguddir pethau cudd.

3 Mawr yw Iesu yn Ei Berson ;
Mawr fel Duw, a mawr fel dyn ;
Mawr Ei degwch a'i hawddgarwch,
Gwyn a gwridog, teg Ei lun :
Mawr yw Ef yn y nef,
Ar Ei orsedd gadarn gref. T. L.

## 222 (814, 815) *Y Messiah addawedig.*

8. 7. 3.—Wyddgrug. Groeswen.

1 WELE, cawsom 'y Messiah,
Cyfaill gwerthfawroca' erioed ;
Darfu Moses a'r prophwydi
Dd'weyd am dano cyn Ei dd'od :
Iesu yw, gwir Fab Duw,
Ffrynd a Phrynwr dynolryw.

2 Hwn yw'r Oen, ar ben Calfaria
Aeth i'r lladdfa yn ein lle ;
Swm ein dyled fawr fe'i talodd,
Ac a groesodd filiau'r ne' ;
Trwy Ei waed, ini caed
Bythol heddwch a rhyddhâd.

3 Dyma Gyfaill haeddai 'i garu,
A'i glodfori'n fwy nag un ;
Prynai'n bywyd, talai'n dyled,
A'n glanhâi â'i waed Ei Hun

Frodyr, de'wch, llawenhewch !
Diolchwch iddo, byth na thewch ! D. J.

## 223 (836) *Ffynnon wedi ei hagoryd.*

8. 7. 3.—Rheidol. Gwahoddiad.

1 DACW'r ffynnon wedi ei hagor
A ddisgwyliwyd amryw oes,
'N awr yn llifo fel y grisial
'Maes o'i ystlys ar y groes :
Dŵr a gwaed, rŷdd iachâd
I'r pechadur mwyaf gaed.

2 'N awr mi glywa'r gair "Gorphenwyd !"
Gorphen iachawdwriaeth wir ;
Ac mi wela'r gwaed yn hidlo
Dros Ei ruddiau sanctaidd, pur ;
Wele'r nef, gadarn, gref,
'N awr yn t'w'llu wrth Ei lef.

3 Dyma'r creigydd serth yn rhwygo,
Dyma'r meirw'n c'odi'n fyw ;
Pa greadur all ddïoddef
Griddfan chwerw f' Arglwydd Dduw !
Ochain mae, fe ga'dd wae,
Fel cawn innau fy rhyddhau.

4 Minnau, bellach, a obeithiaf ;
Gobaith a all estyn f' oes,
Gobaith wedi ei sylfaenu
Ar och'neidiau pur y groes :
Dyma wlad câf iachâd,
A châf gyflawn wir ryddhâd. W.

## 224 (817) *Haeddiant Crist yn anfeidrol.*

8. 7. 3.—Groeswen. Revel.

1 MAE cyflawnder maith o haeddiant
Annherfynol yn Dy waed ;
'Sawl a'i teimlodd sy'n rhyfeddu,
Ac yn caru'r ddyfais râd :
Cariad drud, dros y byd,
Ddaeth yn ge'nllif coch i gyd.

2 Bod Creawdwr nef yn diodde
'R'odd anfeidrol werth a rhîn

Yn mhob gwŷn, yn mhob ochenaid,
O ddioddefaint Mab y dyn :
Nid yw llîd euogrwydd byd
Ddim i bwyso'i haeddiant drud.

3 Yma tardd cyfiawnder allan,
Fel rhyw ddiluw mawr, di-drai ;
Ac er golchi miloedd ynddo,
Nid yw'r dyfroedd ronyn llai :
Gwaed fy Nuw, haeddiant yw,
Trech na'r beiau dua'u lliw.

4 Pe b'ai dengmil lawn o ddynion
A'u heuogrwydd oll yn un,
Dengmil eilwaith maith o fydoedd
Ffiaidd, euog, yn gyttûn ;
Yma cawn, un prydnawn,
Aberth berffaith dalai'r Iawn. W.

## 225 (811) *Crist yn sylfaen.*

8. 7. 3.—Wyddgrug. Moldavia.

1 N'ÂD fi adeiladu'n ysgafn
Ar un sylfaen îs y ne',
Na chymmeryd craig i orphwys
Tu yma i angeu yn Dy le :
Ti, fy Nuw, tra f'wyf byw,
Gaiff fod fy ngorphwysfa wiw.

2 Dyma'r maen sydd yn y gongl,
Dyma'r gareg werthfawr, bur,
Gloddiwyd allan yn y bryniau,
Bryniau tragwyddoldeb dir ;
Nid oes le, îs y ne',
I adeiladu ond Efe.

3 Byth ni dderfydd canu am dano,
Byth ni dderfydd am Ei glôd,
Tra f'o caru pery canu,
Caru sydd heb ddechreu'n bôd ;
Nefoedd fry, 'n gysson sy
Oll yn canu i'm Harglwydd cu.

4 Minnau'r gwaela' o bechaduriaid,
Yn y diwedd ro'f fy nhroed

Ar y graig sydd yn y moroedd,
  Craig gadarnaf fu erioed;
Ceidw hon, rhag pob tòn,
Ofnau i ffwrdd o dàn fy mron.

5 Nis gall hwnw sy'n D'adnabod
  Lai na dilyn ôl Dy droed;
Ac ni cha'dd a welodd D'wyneb
  Wel'd cyffelyb iddo erioed:
Tyr'd yn glau, Iesu, mae
F'enaid euog bron llesgau. W.

## 226 (943) *Y Seren Ddydd.*

8. 8. 7. 4. 8.

1 MOR ddisglaer ydyw'r Seren Ddydd!
  Per wreiddyn Jesse'n gyflawn sydd
  O râs a phur wirionedd.
Brenhinol hâd—y Gair yn Gnawd;
Fy Mhrïod ydyw, a fy Mrawd—
  Fy Nuw—fy llawn ddigonedd.
Hawddgar, hawddgar, heb Ei gymmar;
  Uchel, isel; Ei drysorau,
Moroedd ydynt, heb geulanau.

2 Tydi; goleuni'r nefoedd lawn,
Goleua'm calon dywell iawn,
  A gwna Dy allor yno;
Yn un â Thi, rho imi 'th hedd,
Dy gariad pur a'th ddwyfol wedd—
  Gorfoledd byth heb flino.
'R wy'n hiraethu, brysia, tyred;
  Am Dy weled 'r wy'n diffygio,
Mae fy nghalon yn llesmeirio.

3 Ond o'th wyneb-pryd, O fy Nuw!
Y ffrydia i lawr belydrau byw.
  O bleser pur, di-sorod;
O'th Air a'th Ysbryd câf fwynhâd,
Ymborthaf ar Dy gnawd a'th waed,
  Heb ofni trai na darfod;
Dyro, Arglwydd, o'th drugaredd,
  O'th orfoledd; 'r wyf yn galw;
Ti yn gyntaf ddaeth i'm cadw.

4 'R wy'n dawel gyda'm Harglwydd Dduw,
Y Diwedd a'r Dechreuad yw,
Y Cyntaf yw a'r Olaf;
Câf huno yma yn ddi-fraw,
Tydi a'm c'odi ddydd a ddaw,
I'r wlad heb boen nac anaf:
Amen, amen, Arglwydd, tyred,
Brysia i waered, i'n gwaredu,
Groesaw, groesaw, tyred, Iesu. *Efel.* I. G.

## 227 (953) *Iesu dyrchafedig.*

6. 6. 5. 6. 6. 5. 7. 8. 6.

1 IESU Dyrchafedig,
Geidwad bendigedig,
Mawl a'th erys Di;
Arglwydd llawn tosturi,
Edrych ar ein gweddi,
Iesu cymmorth ni;
Trugarhâ, O Arglwydd da,
Rho faddeuant, rho dangnefedd,
Dwg ni i'th orfoledd.

2 Ymaith ffol amheuon,
Heriaf bob treialon,
'R Arglwydd yw fy rhan;
Canaf yn mhob tywydd,
Os câf wênau 'm Harglwydd,
Gobaith f' enaid gwàn;
O fy Nuw, fy ngweddi clyw,
Os cyrhaeddaf nef y nefoedd,
Molaf Di 'n oes oesoedd. W. A.

## 228 (844) *Cyfiawnder Crist.*

7au. 4ll.—Cyprus. Melton.

1 EI gyfiawnder dwyfol Ef
Ydyw'm cadarn noddfa gref;
'Cholla'i 'ngafael arno ddim
Pan b'o 'mhechod yn ei rym.

2 Dàn Ei gysgod byddaf byw,
Uwch pob trysor gwaed fy Nuw;
Nis gall nerthoedd uffern faith
Ddim fy nrygu ar fy nhaith.

3 Ar Galfaria un prydnawn
Cawsom goncwest hyfryd iawn ;
Uffern faith a'i hanferth rym
Ddarostyngwyd lawr i ddim.

4 Fe achubodd Ef fy mlaen,
Ar y ffordd i uffern dân :
Yn ei allu de's yn ol,
'N awr wyf dawel yn ei gôl.

5 Nid yw orchest imi 'n awr
Garu fy Eiriolwr mawr ;
Nid oes genyf ond Efe,
Ar y ddaear, yn y ne'. W.

## 229 (845) *Esgyniad Crist.*

7au. 4ll.—Durham. Cyprus.

1 WELE angeu llym ei gledd,
Wele agoriadau 'r bedd,
Wele nef a daear lawr,
Dàn awdurdod Iesu mawr.

2 Fry esgynodd Prynwr dyn
Drwy Ei werthfawr waed Ei hun ;
Dwyn tystiolaeth wnaeth y nef
I fawr werth Ei aberth Ef.

3 Daeth angylion llon ger llaw,
Seinient drwy 'r uchelder draw,
" Agor, nef, dy byrth yn awr !
Daw i mewn y Brenin mawr ! "

4 Eistedd mae 'n Cyfryngwr mawr
Ar orseddfa 'r nef yn awr ;
Yno 'n dadleu 'i angeu drud—
Iawn digonol dros y byd.

5 Prynedigaeth dynol-ryw
A orphenodd Iesu gwiw :
Pob ymadrodd yn un iaith
Canent mwy Ei foliant maith. R. W.

## 230 (849) *Tegwch yr Iesu.*

7au. 4ll.—German Hymn. Elijah.

1 TEGWCH hardd Ei wyneb-pryd
Càn' hawddgarach yw na'r byd ;

Mae trysorau nefol ras
O Dy enau 'n d'od i maes.

2 Rhosyn Saron teca'i ddawn,
Seren foreu, ddisglaer iawn
Yw, oleua 'r llwybr maith
Tua'r wlad o fêl a llaeth.

3 Fe fu'n hongian ar y pren,
Fe ddiffoddodd lîd y nen;
Nid oes uwch y sêr, ond Ef
Gliria'r ffordd i ganol nef. W.

## 231 (852) *Mawl i'r Hwn a fu farw.*

7au. 6ll.—Dix. Newport.

1 'DOES gyffelyb iddo Ef
Ar y ddaear, yn y nef;
Trech Ei allu, trech Ei râs
Na dyfnderau calon gâs:
A'i ffyddlondeb sydd yn fwy
Nag angeuol ddwyfol glwy'.

2 Caned cenedlaethau'r byd,
Am Ei enw mawr ynghyd;
Aed i gyrau pella'r ne',
Aed i'r dwyrain, aed i'r de':
Bloeddied moroedd gyda thir
Ddyfnder iachawdwriaeth bur.

3 Na foed un-dyn îs y rhôd
Heb ddadseinio i maes Ei glôd;
Na foed neb îs awyr lâs
Heb gael prawf o'i nefol râs,
Doed y ddaear fawr yn gron,
Yfent ddŵr y ffynnon hon. W.

## 232 (850) *Cariad yn disgleirio ar y groes.*

7au. 6ll.—Berlin. Dix.

1 DACW cariad nefoedd wèn
Yn disgleirio ar y pren;
Dacw daledigaeth lawn
I ofynion trymion iawn:
Iesu gollodd ddwyfol waed,
Minnau gafodd wir iachâd.

2 Wele'r llwybr heddyw'n glir
Tua Chanaan hyfryd dir ;
Y mae'r faner fawr yn mlaen,
F' holl elynion cwympo wnan' ;
Rhêd yr oriau'u rhif i maes,
Câf fyn'd trwy'r Iorddonen lâs.

3 Wele'r Ganaan hyfryd wiw,
Dyma'r ardal câf fi fyw,
Gwlad heb ofid, gwlad heb wae,
Gwleddoedd hyfryd i barhau :
Dwyfol gariad, dwyfol hedd,
Gâf fwynhau tu draw i'r bedd.

4 Na ddoed gwael wrthrychau'r byd
I gartrefu yn fy mryd ;
Digon, f'enaid, digon yw
Myfyrdodau dwyfol friw :
Mae mwy pleser yn Dy glwy'
Na'u llawenydd penaf hwy.

5 Iesu gollodd ddwyfol waed,
Minnau gafodd wir iachâd ;
Darfu ymffrost mawr y byd,
Iesu bïau'r clôd i gyd ;
Wrth Ei draed dymunwn fyw,
Holl hapusrwydd f'enaid yw. W.

## 233 (853) *Gwaed a Gair Crist.*

7au. 6ll.—Newport. Dix.

1 DACW 'r ffynnon fawr a gaed,
Ffrydiau pur o ddŵr a gwaed,
Darddodd allan ar y bryn,
Ylch yr enaid dua'n wŷn :
Dyma nerth i fyn'd yn mlaen,
Dyma sylfaen bur fy nghân.

2 Gair o'i enau sanctaidd Ef
'N awr a'm dŵg i ganol nef ;
Yn Ei eiriau mae 'r fath rîn,
Dodant nef a dae'r yn un :
Gwrando 'i lais, a gwel'd Ei wedd,
Yw fy mywyd tu yma i'r bedd.

3 Ti Dy Hunan, Iesu mawr!
Yw fy noddfa ar y llawr;
Gâd im' gael Dy gwmni cu
Nes myn'd trwy 'r Iorddonen ddu;
Yna deuaf ger Dy fron,
Heb ddychrynu gan y dòn. W.

## 234 (856) *Craig yr Oesoedd.*

7au. 6ll.—Wells. Gethsemane.

1 GRAIG yr Oesoedd! cuddia fi,
Er fy mwyn yr holltwyd Di;
Boed i rîn y dŵr a'r gwaed,
O Dy ystlys friw a gaed,
Fy nglanhau o farwol rym
Ac euogrwydd pechod llym.

2 Nid fy holl weithredoedd i
All gyflawni'th gyfraith Di,
Pe b'ai 'm sêl yn dân di-lŷth,
A phe llifai 'm dagrau byth,
Iawn ni wnai yr oll yn un,—
Ti raid achub, Ti Dy Hun.

3 Dôf yn waglaw at Dy groes,
Glynaf wrthi trwy fy oes;
Noeth, am wisg dôf atat Ti;
Llesg, am râs dyrchafaf gri;
Brwnt, i'r ffynnon dôf â'm clwyf;
Golch fi Geidwad, marw 'r wyf.

4 Tra 'n anadlu'm heinioes frau,
Pan b'o'm llygaid llesg yn cau,
Pan b'wy'n hedfan uwch y llawr,
Pan yn ngŵydd Dy orsedd fawr,
Graig yr oesoedd! gâd i mi
Lwyr ymguddio ynot Ti. TOPLADY, *c.* O. G. O.

## 235 (860) *Iachawdwriaeth yn ngwaed Crist.*

7au. 8ll.—Presburg. Aberystwyth.

1 DEFFRO, f'enaid, edrych draw,
Gwel Galfaria bell, gerllaw;
Dacw'r hoel a'r bicell fain,
Dacw'r goron bigog ddrain

'N awr yn gorwedd ar Ei ben,
Cryned daear, dued nen!
'N awr o'i ing a'i ddwyfol waed
Ffrydia iachawdwriaeth râd.

2 Wele, f' Arglwydd sydd mewn poen,
Ffrynd troseddwyr, addfwyn Oen;
Dioddef mae yr hoelion dur
Trwy Ei gnawd ar groesbren îr!
Poen hyd angeu—poen at waed
Droes yn falm rŷdd im' iachâd:
Ti, Physygwr, perffaith Dduw,
Geidw f'enaid bach yn fyw.

3 O Dy glwyfau rhêd i maes
Afon ddwyfol, loyw, lâs,
Sydd yn achub, sy'n iachau
Myrddiwn o'r aflanaf rai;
Ac yn rhoddi cyflawn hedd
I rai tlota' 'rioed eu gwedd:
Bloeddia f'enaid, bloeddia mwy—
Iachawdwriaeth sy'n Ei glwy. W.—*ar.*

## 236 (846, 857) *Diogelwch yn Nghrist.*

7au. 8ll.—Tichfield. St. Mary Magdalene.

1 TI Dy Hunan, Iesu mawr,
Yw fy noddfa ar y llawr;
Ni ddaw fyth, ni fu erioed,
Dy gyffelyb îs y rhôd:
Nid oes neb all fy iachau,
Concro 'mhechod, maddeu 'mai,
Ond a roddodd gadarn lef
Rhwng y ddaear fawr a'r nef.

2 Wedi marw ar y pren,
A diffoddi llîd y nen,
Ti gei wneuthur f'o 'n Dy fryd,
'D oes a'th rwystra yn y byd;
Cadarn, cadarn, yw Dy law,
Gweithi yma, gweithi draw,
Daear oll a nefoedd fawr
Gwympant wrth Dy draed i lawr.

3 Iesu, gorphwys yn Dy glwy'
Wna fy enaid bellach mwy ;
Dyma 'm noddfa werthfawr lawn
O foreuddydd hyd brydnawn ;
Dyma 'nghysur oll i gyd,
Dyma 'm nerth o'r nefol fyd ;
Yn Dy allu âf yn mlaen,
Concraf ddŵr a choncraf dân. W.—*ar.*

## 237 (879) "*Y Bugail da.*"

7. 4.—Haverland. San Remo.

1 BUGAIL yw, fe ro'es Ei waed
Dros Ei ddefaid,
Ac fe'n prynodd ni yn rhâd
O'n caethiwed ;
Dygodd ni i brofi blâs
Dwyfol fanna ;
Bellach canwn am Ei râs,
Haleluwia.

2 Nid oes terfyn byth i'w gael
Ar Ei gariad ;
Mae'i drysorau mawrion, hael,
Uwch eu dirnad ;
Ynddo Ei Hunan mae yn llwyr
Oll ddymunaf ;
Minnau ganaf foreu a hwyr,
Haleluwia. W.

## 238 (881) "*Fy Anwylyd sydd wŷn a gwridog.*"

7. 4.—San Remo. Haverland.

1 GWŶN a gwridog, hawddgar iawn,
Yw f'Anwylyd ;
Doniau'r nef sydd ynddo'n llawn,
Peraidd, hyfryd :
Daear faith, ac uchder nef,
Byth ni ffeindia
Arall debyg iddo Ef—
Haleluwia.

2 Dygodd f'enaid ar Ei ôl
Yn dra rhyfedd ;

Mi orphwysaf yn Ei gôl
Hyd y diwedd :
Ffowch, greaduriaid o bob rhyw,
Mwy ni charaf
Wrthrych arall ond fy Nuw-
Haleluwia.

3 Ynddo'i Hunan mae yn llawn
Bob trysorau ;
Dwyfol, perffaith, gwerthfawr Iawn
Am fy meiau ;
Gwir ddoethineb, hedd, a grâs
Gwerthfawrocaf ;
Nerth i hollol gario'r maes—
Haleluwia.

4 Dyma sylfaen gadarn, gref,
Trwy fy mywyd ;
Credu, ac edrych arno Ef,
Yw fy ngwynfyd :
Ynddo bellach, trwy bob plâ,
Y gobeithiaf;
Ac mewn rhyfel canu wna',
Haleluwia. W.

## 239 (872) *Dim yn ddigonol ond aberth y groes.*

7. 4.—Aberafon. Llanfair.

1 NID oes aberth o un rhyw
Yn mhlith miloedd,
Dâl am drosedd lleia'i ryw,
Yn oes oesoedd ;
Dim ond aberth Dwyfol ddyn
Foddia Dduwdod ;
Angeu T'wysog nef Ei Hun
Bwysa 'mhechod.

2 Dyma'r aberth mae erioed
Sôn am dano ;
Ar y ddaear 'd oes yn bôd
Debyg iddo :
Mae seraphiaid pena'r nen
Yn rhyfeddu,

Gwel'd eu Brenin ar y pren
'N awr yn trengu. W.

## 240 (869) *Deddf a Chyfryngwr.*

7. 4.—Aberafon. Llanfair.

1 DACW'r deg gorchymyn pur
Ar Galfaria ;
Dacw'r Hwn wnaeth fôr a thir
Yn y ddalfa ;
Dacw'r ddeddf yn gofyn Iawn
Hyd yr eitha' ;
Dacw iddi daliad llawn :
Haleluwia. H. G.

## 241 (863) *Hedd a chariad.*

7. 4.—Dychweliad.

1 HEDD a chariad ar y groes
Darddodd allan ;
Iesu yn nyfnder angeu loes
Faeddodd Satan ;
Er Ei glwyfo dàn Ei fron,
Ef orchfygodd ;
Cenir am y frwydr hon
Yn oes oesoedd. *Cas.* R. E.

## 242 (880) *Iawn ac eiriolaeth Crist.*

7. 4.—San Remo. Haverland.

1 ANGEU ac eiriolaeth Crist
Yw 'ngorfoledd ;
Hyn a ddŵg i'm henaid trist
Lawn dangnefedd ;
Collai'r ddeddf ei damniol rym
Ar Galfaria ;
Dofwyd llîd cyfiawnder llym ;
Haleluwia.

2 Iesu yw difyrwch f'oes,
Yn fy mlinfyd ;
Ac ymffrostiaf yn Ei groes
Dros fy mywyd ;
Dàn Ei gysgod, nôs a dydd,
Gwnaf fy nhrigfa ;

Fy nhŵr cadarn byth a fydd,
Haleluwia.

3 Iesu, a'i gyfiawnder Ef,
Yw fy mywyd ;
Fe'm cymhwysa i deyrnas nef
Trwy Ei Ysbryd ;
Golchir fi o'm pen i'm traed
Fel yr eira,
Trwy rinweddau dwyfol waed :
Haleluwia.

4 Mae fy Mhrynwr heddyw'n fyw,
Ac yn eiriol ;
Sail eiriolaeth drosof yw
Iawn digonol :
Ei waith ynof yn y màn
A berffeithia ;
Gorfoleddaf yn fy rhan :
Haleluwia. P. J.

## 243 (884, 885) "*Llais hyfryd rhâd râs.*"

12. 11.—Rhâd râs. Hyfrydlais.

1 LLAIS hyfryd rhâd râs sy'n gwaeddi, Diangfa,
Yn nghlwyfau Mab Duw, bechadur, mae noddfa ;
I olchi aflendid a phechod yn hollol,
Fe redodd Ei waed yn ffrydiau iachusol :
Haleluwia i'r Oen bwrcasodd ein pardwn,
'N ol croesi'r Iorddonen drachefn ni a'i molwn.

2 Ar angeu ac uffern ca'dd lawn fuddugoliaeth,
Ysbeiliodd holl allu'r tywyllwch ar unwaith ;
Holl filwyr y groes gânt ynddo dangnefedd ;
Fe'u harwain hwy'n sicr i berffaith orfoledd :
Haleluwia i'r Oen bwrcasodd ein pardwn,
'N ol croesi'r Iorddonen drachefn ni a'i molwn.

3 'N ol tirio yn iach i'r tawel anneddau,
Ni, seiniwn Ei glôd ar euraidd delynau ;
Trwy'r nefol ardaloedd ni a'i molwn byth bythol,
Wrth rodio ar lènydd yr afon dragwyddol :
Haleluwia i'r Oen bwrcasodd ein pardwn,
'N ol croesi'r Iorddonen drachefn ni a'i molwn.

BURDSALL, *C.* D. C.

## 244 (888) *Canu am gariad Crist.*

11au.—Joanna. Wareham.

1 NI ganwn am gariad Creawdwr yn ddyn,
Ennynodd cyn oesoedd o fewn iddo'i Hun ;
Ni chwilia cerubiaid, seraphiaid, na saint,
Eangder, na dyfnder, nac uchder ei faint.

2 Rhyfeddod angylion yn nghanol y nef,
Rhyfeddod galluoedd a thronau yw ef ;
Diffygia'r ffurfafen a'r sêr o bob rhyw
Cyn blinwyf fi ganu am gariad fy Nuw.

3 Fy enaid, gwel gariad yn fyw ar y pren,
Ac uffern yn methu darostwng ei ben ;
Er marw fy Iesu, er hoelio fy Nuw,
Parhaodd Ei gariad trwy angeu yn fyw.

4 O ryfedd ddoethineb!—rhyfeddod ei hun!
A ffeindiai'r fath foddion i brynu'r fath un ;
Fy Iesu yn marw—fy Iesu oedd Dduw,
Yn marw ar groesbren, i minnau gael byw. w.

## 245 (889) *Calfaria a'i fendithion.*

11au.—Joanna. Wareham.

1 YR afon a lifodd rhwng nefoedd a llawr,
Yw gwraidd fy ngorfoledd, a'm cysur yn awr ;
Calfaria ro'es haeddiant, Calfaria ro'es hedd,
Calfaria sy'n cadw agoriad y bedd.

2 Mae angeu ei hunan, ei ofnau a'i loes,
Mewn cadwyn gadarnaf yn rhwym wrth Dy groes ;
Allweddau hên uffern ddychrynllyd i gyd
Sy'n hongian wrth wregys Iachawdwr y byd.

3 'D oes dim at ostegu pob terfysg a loes,
Cydwybod a'i dychryn, ond angeu Dy groes ;
Càn' miloedd o ofnau oedd ynwy'n gyttûn
Nes clywed fod Crëwr y ddaear yn ddyn.

4 Wel, bellach, boed imi ro'i ffàrwel i'r byd,
A ffàrwel i'w gyfoeth a'i bleser ynghyd ;
Un gorchwyl sydd genyf fyth mwyach i gyd,
Sef caru a chanu i Iachawdwr y byd. w.

## 246 (895) *Rhinwedd marwolaeth yr Oen.*

11au.—Schubert. Gorton.

1 O GARIAD! O gariad! anfeidrol ei faint,
Fod llwch mor annheilwng yn cael y fath fraint;
Cael heddwch cydwybod, a'i chlirio trwy'r gwaed,
A chorph y farwolaeth, sef pechod, dàn draed.

2 Nis gallai'r holl foroedd byth olchi fy mriw,
Na gwaed y creaduriaid er amled eu rhyw;
Ond gwaed y Messïah a'i gwella'n ddi-boen!
Rhyfeddol yw rhinwedd marwolaeth yr Oen!

3 Cydganed y ddaear a'r nefoedd ynghyd
Ogoniant tragwyddol i Brynwr y byd;
Molianned pob enaid fy Arglwydd ar gân,
Am achub anhydyn bentewyn o'r tân.

4 Mae'r Jubil dragwyddol yn awr wrth y drws,
Fe g'ododd yr haulwen, ni gawsom y tlws;
Daw gogledd a dwyrain, gorllewin a de,
Yn lluoedd i foli Tywysog y ne'. M. R.

## 247 (900) *Rhyfeddodau grâs.*

11au.—Schubert. Gorton.

1 RHYFEDDOD, rhyfeddod i Brynwr y byd,
Ro'i 'i enaid yn aberth, yn daliad mor ddrud,
I g'odi pechadur o ddyfnder ei wae,
A'i ddwyn i ogoniant byth, byth, i barhau.

2 O bellder tragwyddol y gwelodd Efe
Nad oedd gynnorthwywr i ddyn îs y ne';
Addawodd Ei einioes, fe'i rhoddodd i lawr,
I gadw pechadur; Ei gariad oedd fawr.

3 Ei râs a'i cymhellodd yn wyneb y groes;
Ei fraich a'i hachubodd yn nyfnder Ei loes,
Ca'dd lawn fuddugoliaeth ar Galfari fryn,
Mewn gwendid gorchfygodd, ni ganwn am hyn.

T. Y. 1.

## 248 (896) *Y Ffrynd goreu.*

11au.—Schubert. Gorton.

1 MI ge's y Ffrynd goreu fyth, fyth, all'sai fod;
Yr addewid a roddodd ni thòrodd erioed:

Er byw'n Ei ogoniant yn nghanol y nef,
Mewn awr o gyfyngder fe wrendy fy llef. W.

## 249 (908) *Gwaredigaeth trwy Grist.*

9. 8.—Bethel. Capel Newydd.

1 O! AGOR fy llygaid i weled
Dirgelwch Dy arfaeth a'th air;
Mae'n well i mi gyfraith Dy enau
Na miloedd o arian ac aur:
Y ddaear ä'n dân, a'i thrysorau,
Ond geiriau fy Nuw fydd yr un;
Y bywyd tragwyddol yw 'nabod,
Fy Mhrynwr yn Dduw ac yn ddyn.

2 Rhyfeddod a bery'n ddiddarfod
Yw'r ffordd a gymmerodd Efe
I achub pechadur colledig,
Trwy farw Ei Hun yn ei le:
Fe safodd fy Mrenin Ei Hunan,
Gorchfygodd awdurdod y ddraig;
Ein Samson galluog ni ydyw:
O! caned preswylwyr y graig.

3 Daeth blwyddyn y caethion i ganu;
Doed meibion y gaethglud ynghyd;
Ni 'seiniwn drwy'r nefoedd a'r ddaear,
Ogoniant i Brynwr y byd:
Mae Brenin y nef yn y fyddin,
Gwae Satan a'i filwyr yn awr;
Trugaredd a hedd sy'n teyrnasu
Gogoniant trwy'r nefoedd a'r llawr.

4 Y llew o lwyth Judah orchfygodd;
Pa elyn all sefyll o'i flaen?
Mae Seion yn teithio tuag adref
Mewn cerbyd dychrynllyd o dân:
Bydd miloedd o saint ac angylion,
Yn dorf ogoneddus ynghyd,
Yn canu rhyw anthem dragwyddol
O foliant i Brynwr y byd. M. R.

## 250 (916) *Meddyliau trugaredd a grâs.*

8au. 8ll.—Salome.

1 DADGUDDIWYD dirgelion i maes,
Dirgelion cuddiedig i'r byd,
Meddyliau trugaredd a grâs
I'r penaf bechadur i gyd,
A glöed mewn addewid sydd gref,
Na welir fyth fythoedd ei hail,
O ddyfnder y ddaear i'r nef,
Mor gywir, mor sicr ei sail.

2 Fe'm boddwyd mewn syndod yn lân
Wrth chwilio eu natur i maes ;
'D oes angel na seraph a gân
Am ddyfnder anorphen Ei râs :
Pwy bwysa'i ddioddefaint ar bren ?
Pwy bwysa lawn haeddiant Ei loes ?
Tra tafod yn chwareu'n fy mhen
Mi ganaf am goncwest Ei groes.

3 'R anrhydedd, a'r gallu, a'r clôd,
Y moliant a'r parch yn gyttûn,
O'r nefoedd i'r ddaear gaiff fôd
Yn gyfan i'm Harglwydd Ei Hun ;
Aed sŵn Dy farwolaeth i maes,
O'r dwyrain lïosog i'r de ;
Helaethed terfynau Dy râs
Mor bell ag y cyrhaedd y ne'.

4 Aed ein Haleluwia i'r làn,
Trwy'r awyr anfeidrol ei maint ;
Cymmysged caniadau rhai gwàn
Â thyrfa lïosog o saint :
Ni gawsom gàn' cymmaint a'r byd,
Càn' cymmaint drachefn a hyn,
Càn' cymmaint a'r nefoedd i gyd—
Brydnawngwaith ar Galfari fryn. W.

## 251 (920) *Prynwr byw.*

8au. 8ll.—Cleveland. Arabia.

1 MI ŵn fod fy Mhrynwr yn fyw,
A'm prynodd â thaliad mor ddrud ;

Fe saif ar y ddaear, gwir yw,
Yn niwedd holl oesoedd y byd :
Er ised, er gwaeled fy ngwedd,
Teyrnasu mae 'Mhrynwr a 'Mrawd ;
Ac er fy malurio'n y bedd,
Ca'i weled Ef eto'n fy nghnawd.

2 Wel, arno b'o'm golwg bob dydd,
A'i daliad anfeidrol o werth ;
Gwir Awdwr, Perffeithydd ein ffydd,
Fe'm cynnal ar lwybrau blîn, serth :
Fy enaid, ymestyn yn mlaen,
Na orphwys nes cyrhaedd y tir,
Y Ganaan dragwyddol ei chân,
Y Sabbath hyfrydol yn wir. T. J.

## 252 (913) *Pwy yw Hwn yn dyfod o Edom?*

8au. 8ll.—Salome.

1 PWY welaf o Edom yn d'od,
Mil harddach na thoriad y wawr,
Yn sathru dàn wadn Ei droed
Elynion yn lluoedd i'r llawr ;
Ei wisg wedi ei lliwio gan waed,
Ei saethau a'i gleddyf yn llym ;
Ei harddwch yn llanw'r holl wlad,
Yn ymdaith yn amlder Ei rym ?

2 Myfi, 'r Hwn wyf Alpha cyn byd,
Wyf gadarn i ladd ac iachau ;
Fy ngeiriau a safant i gyd
Pan ballo ffyddlondeb pob rhai.
Ond p'am mae Dy wisgoedd yn waed,
A'th gleddyf mor goched ei fin,
Fel un a f'ai'n sathru dàn draed
Y gwinwrŷf yn ngwinllan y gwîn ?

3 Wrth weled y fyddin mor fawr,
Dàn arfau, yn llawnion o lîd,
Yn llanw holl wyneb y llawr,
Y bobl giliasant i gyd ;
Gadawyd Fi'n unig, heb ail,
I sefyll yn ngwyneb Fy nghâs,

Gelynion mor amled a'r dail
  Yn llanw holl gŷrau y maes.

4 Mi godais i fyny Fy llaw,
  Ymleddais, ennillais y dydd ;
Fy holl waredigion a ddaw,
  A'm caethion a roddir yn rhydd ;
Ennillais fath goncwest trwy waed,
  Mae genyf lywodraeth mor fawr,
Hyd eithaf trigfanau Fy Nhad,
  Mae'n cyrhaedd o'r nefoedd i'r llawr. J. W.

## 253 (914) *Cariad angerddol.*

8au. 8ll.—Salome.

1 PA feddwl, pa 'madrodd, pa ddawn,
  Pa dafod all osod i maes,
Mor felus, mor helaeth, mor llawn,
  Mor gryfed Ei gariad a'i râs ?
Afonydd sy'n rhedeg mor gryf,
  Nas dichon i bechod na bai
Wrthsefyll yn erbyn eu llif,
  A'u llanw ardderchog di-drai.

2 Fel fflamau angerddol o dân
  Yw cariad f'Anwylyd o hyd ;
Fe losgodd bob rhwystrau o'i flaen,
  Fe yfodd o'r afon i gyd :
Ymaflodd mewn dyn ar y llawr,
  Fe'i dygodd â'r Duwdod yn un ;
Y pellder oedd rhyngddynt oedd fawr,
  Fe'i llanwodd â'i haeddiant Ei Hun. J. W.

## 254 (929) *Rhyfeddodau cariad Crist.*

8au. 8ll.—Trewen. Rhyl.

1 O GARIAD ! O gariad mor rhâd !
  O ! foroedd o gariad mor fawr !
Mab unig-anedig y Tad
  Ddisgynodd o'r nefoedd i'r llawr :
Cymmerodd Ei wneuthur yn gnawd,—
  Dynoliaeth â Duwdod yn un ;
Bu farw ar groesbren dàn wawd
  Yn lle Ei elynion Ei Hun !

2 Pob archoll ro'i dynion i'w gnawd
Ddylifai yn gariad drwy 'r clwy' ;
Pan fwyaf Ei ddirmyg a'i wawd,
Gwnai cariad dd'od allan fwy-fwy ;
Trwy 'r clwyfau, yn rhedeg ar frŷs,
Gwir ffrydiau o gariad a gaed ;
Llifeiriai yn gariad drwy 'r chwŷs,
A chariad a lifai drwy 'r gwaed ! D. JS.

## 255 (935) *Mawl i gariad Crist.*

5. 5. 6. 5.—Cysur. Darlington.

1 YR Iesu'n ddi-lai
A'm gwared o'm gwae ;
Achubodd fy mywyd,
Maddeuodd fy mai ;
Fe'm golchodd yn rhâd,
Do'n wir, yn Ei waed,
Gan selio fy mhardwn
Rho'es imi ryddhâd.

2 Fy enaid i sydd
Yn awr, nôs a dydd,
Am ganmol fy Iesu
A'm rhoddodd yn rhydd :
Ffarwèl f'o i'r byd,
A'i bleser ynghyd ;
Ar drysor y nefoedd
Fe redodd fy mryd.

3 'R wy'n gweled bob dydd
Mai gwerthfawr yw ffydd ;
Pan elwy' i borth angeu
Fy angor a fydd :
Mwy gwerthfawr im' yw
Na chyfoeth Peru ;
Mwy diogel i'm cynnal
Ddydd dïal ein Duw. MORG. D.

## 256 (936) "*Trysorau uwch gwybod y byd.*"

5. 5. 6. 5.—Cysur. Darlington.

1 Y CYSUR i gyd
Sy'n llanw fy mryd,

Fod genyf drysorau
Uwch gwybod y byd ;
Ac er bod hwy 'nghudd,
Nas gwel hwynt ond ffydd,
Ceir eglur ddadguddiad
O honynt ryw ddydd.

2 Anfeidrol oedd llîd
Creawdwr y byd
Yn erbyn y pechod
Sy'n damnio o hyd :
Ond Tywysog a gaed,
A gollodd Ei waed,
Fe brynodd faddeuant
A heddwch y Tad.

3 Ffordd wnaethpwyd yn llyn
Ar Galfari fryn,
I sicrach paradwys
Nag goll'som cyn hyn :
Ac yno ni gawn
Oll yfed yn llawn
O wleddoedd y bywyd,
Heb foreu na nawn. W.

## 257 (949) *Crist a'i aberth.*

5. 5. 8. 7. 7. 9.—Intercession.

1 A WELSOCH chwi Ef?
A welsoch chwi Ef?
Iesu, fy Mhrynwr a'm Duw !
Dros droseddwyr fel myfi,
Rho'es Ei Hun ar Galfari,—
Trwy gyfiawnder fy Meichiau câf fyw.

2 Hoeliwyd yr Aberth,
Hoeliwyd yr Aberth,
Iesu, 'r addfwynaf, oedd fud !
'R Hwn sy'n taenu'r nef fel llèn,
A ogwyddodd yno 'i ben,
I wneyd Cymmod dros bechod y byd.

3 Heddyw yn eiriol,
Heddyw yn eiriol,

Eiriol dros wael ddynol-ryw,
Gan ddywedyd, "O! fy Nhad!
Gwêl fy nwylaw a fy nhraed!
Mi a'u prynais, O! gâd iddynt fyw."

4 "Cânt os dychwelant,
Cânt os dychwelant,
Anwylaf Fab! er Dy fwyn;
Os wynebant ataf Fi,
Ac os credant ynot Ti,
I dragwyddol fwynhâd cânt eu dwyn." *C.* D. CS.

## 258 (939) *Ceidwad digonol.*

5. 5. 8.—Hungerford. Ystwyth.

1 POB seraph, pob sant,
Henafgwyr a phlant,
Gogoniant a ddodant i Dduw.
Fel tyrfa gyttûn,
Yn beraidd bob un,
Am Geidwad o forwyn yn fyw.

2 Efe yw fy hedd,
Fy aberth a'm gwledd,
A'm sail am drugaredd i gyd;
Ein cysgod, a'n cân,
Mewn dŵr, ac mewn tân,
Gwnaed uffern ei hamcan o hyd.

3 Yn babell y bydd
Rhag poethder y dydd,
A chedyrn lifogydd y fall;
Mewn cysgod mor dda,
Holl uffern a'i phlâ,
Er chwennych, ein difa nid all. E. J.

## 259 (940) *Trysorau yr Iawn.*

5. 5. 8.—Hungerford. Ystwyth.

1 TRYSORAU mor glir
Ni welwn yn wir,
I randir yr India pe'r awn;
Pur aur o Peru
Cyffelyb nid yw
I heddwch fy Nuw yn yr Iawn.

2 Caed Person mor llawn
O gyfoeth a dawn,
A dalodd yn gyflawn y gwerth;
Trwy'r ddyfais fawr hon
Gwneir Seion yn llon,
Fe wisg Ei anwylion â nerth.

3 Dim trysor nis cair
Mewn perlau nac aur,
Er chwilio hyd derfyn ein dydd,
A bwysa Dy hedd
Tu ŷma i'r bedd,
Heb goffa'r llawenydd a fydd. E. E.

---

## AM YR YSBRYD GLAN.

### 260 (115) *O anadl, tyred!*

M. H.—Spires. Brynteg.

1 BYWYD y meirw! tyr'd i'n plith,
A thrwy Dy Ysbryd arnom chwŷth;
Anadla 'n rymus ar y glỳn,
Fel byddo byw yr esgyrn hyn!

2 Dy Ysbryd sanctaidd, oddi fry,
Ddisgyno 'n helaeth arnom ni;
Gwnaed ein calonau ni, bob un,
Yn demlau sanctaidd iddo 'i Hun. J. H.

### 261 (94) *Diddanwch yr Ysbryd.*

M. H.—Staincliffe. Gibraltar.

1 O! DDEDWYDD, ddedwydd, deulu Duw!
Yr Ysbryd eu Diddanydd yw!
Gweinyddu cysur cryf y mae,
I lòni 'r gwàn mewn ing a gwae.

2 O Ysbryd Glân! tyr'd i'n bywhau,
A'n rho'i mewn hedd i lawenhau;
Diddyma bob rhyw ddeddfol ofn,
A chynnal yn yr afon ddofn.

3 Diddanwch gwir yr Ysbryd Glân
A ddeil ei rym mewn dŵr a thân;
A chael Ei ymweliadau rhâd
Sydd flaenbrawf hoff o'r nefol wlâd.

4 O Ysbryd Duw! rho Dy fwynhau,
Ac na foed imi Dy dristau;
Yn Dy ddiddanwch gâd im' fyw—
Yr ernes o baradwys yw. R. E.

## 262 (104) *Bendith Jacob.*

M. H.—Babilon. Menai.

1 'RY'M yn Dy erfyn, Arglwydd mawr,
Disgyn o entrych nef i lawr,
'R hyd ysgol faith Jehofah'n ddyn,
'Ro'i bendith Jacob i bob un.

2 Gâd ini dd'od i'r mynydd fry,
I'r cwmwl goleu atat Ti,
Fel y disgleirio 'n hwyneb-pryd,
Nes sŷnu Israel oll i gyd. W.

## 263 (105) *Halen y ddaear.*

M. H.—Babilon. Menai.

1 GWNA ni fel halen â Dy râs,
Yn wŷn, yn beraidd iawn ei flâs,
Yn foddion yn Dy law o hyd
I dynu'r adflas sy ar y byd.

2 Gwna fod D'ogoniant pur, di-lŷth,
Yn nôd a diben ini byth;
Dy fywyd hardd, a'th eiriau gwir,
Yn wastad ini'n rheol bur.

3 O! dena'n serch oddi yma i gyd,
Fel gwir ddïeithriaid yn y byd,
O fàn i fàn i deithio'n hy',
Bob pryd ar ol D'orch'mynion Di.

4 Doed gogledd, de, a dwyrain bell,
I glywed y newyddion gwell;
Aed sŵn D'efengyl, Iesu, i maes
Yn gylch o ddeutu'r ddaear lâs. W.

## 264 (256) *Yr Ysbryd Glân a'i ddoniau.*

M. S.—Arenig. Saxony.

1 TYR'D, Ysbryd Glân, i'n c'lonau ni,
A dôd D'oleuni nefol;
Tydi wyt Ysbryd Crist; Dy ddawn
Sydd fawr iawn a rhagorol.

2 Llawenydd, bywyd, cariad pur,—
Y rhai'n yw'th eglur ddoniau;
Dôd eli i'n llygaid, fel i'th saint,
Ac enaint i'n gwynebau.

3 Gwasgara Di'n gelynion trwch,
A heddwch dyro ini;
Os T'wysog ini fydd Duw Nêr
Pob peth fydd er daioni.

4 Dysg in' adnabod y Duw Dad,
Y gwir Fab rhâd a Thithau,
Yn un tragwyddol Dduw i fôd
Yn hynod Dri Phersonau;

5 Fel y molianner, yn mhob oes,
Y Duw a ro'es drugaredd,
Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân,
Da dadgan Ei anrhydedd. C. R. F.

## 265 (264) *Goleuni yr Ysbryd.*

M. S.—Dymuniad. Adelaide.

1 TYR'D, Ysbryd Glân, tragwyddol Dduw,
Yr unrhyw â'r Tad nefol,
Yr unrhyw hefyd â'r Mab rhâd;
Duw cariad tangnefeddol.

2 Llewyrcha i'n c'lonau ni â'th râs,
Fel byddo gâs in' bechu,
Ac ini, mewn sancteiddrwydd rhydd,
Bob dydd Dy wasanaethu.

3 Tydi addewaist ddysgu, Iôn,
Dy weision i lefaru,
Fel yn mhob màn y caffo'n rhwydd
Yr Arglwydd Ei foliannu.

4 O! Ysbryd Glân, i'n c'lonau ni,
Y gwir oleuni danfon;

A hefyd sêl, tra f'om ni byw,
I garu Duw yn ffyddlon.

5 Dôd fesur mawr o'th râs yn rhwydd,
O Arglwydd Dduw Goruchaf!
Diddanwch ini felly bydd
Yn y brawd ddydd diweddaf. C. R. F.

## 266 (273) *Nerth i draethu a derbyn y Gair.*

M. S.—Eidduned. Gorphwysfa.

1 RHO ddawn a goleu, Arglwydd Iôr,
I draethu'r cyngor dwyfol;
Ac agor Di y galon gau
I dderbyn D'eiriau nefol.

2 Perffeithia, Iôr, Dy nerth sydd fawr,
Yn ngwyneb dirfawr wendid,
Rho i'r newynog, tlawd, a chaeth,
Ysbrydol faeth a rhyddid. T. J.

## 267 (266) *Deffro fraich yr Arglwydd.*

M. S.—Dymuniad. Adelaide.

1 O! DEFFRO, deffro, gwisg Dy nerth,
O! brydferth fraich yr Arglwydd;
Fel yn y dyddiau gynt a fu,
Amlyga'th alluogrwydd.

2 I ennyn ynom nefol dân,
Duw, anfon Dy Lân Ysbryd;
Aed gyda'th eiriau sanctaidd Di
Nerth, a goleuni hefyd.

3 O Arglwydd! dyro ini'n glau
Y tywalltiadau nerthol,
O weithrediadau'r Ysbryd Glân,
A'u grym fel tân angerddol. J. H.

## 268 (274) *Nerth o'r uchelder.*

M. S.—Eidduned. Padarn.

1 O! ARGLWYDD Dduw, bydd ini'n borth,
Dôd gymmorth o'th drugaredd,
I draethu ac i wrando'n iawn
Dy eiriau llawn o sylwedd.

2 Dy weinidogion gwisg â nerth,
Yn brydferth o'r uchelder;

A doed Dy Ysbryd Sanctaidd Di
  I argyhoeddi llawer. J. H.

## 269 (275) *Disgwyl wrth Dduw.*

M. S.—Eiddunied. Padarn.

1 O! ARGLWYDD Dduw, 'r Hwn bïau'r gwaith,
  Arddel Dy faith wirionedd,
Fel byddo i bechod o bob rhyw
  Gael marwol friw o'r diwedd. *Cas.* M. D.

2 Disgwyliaf wrthyt uwch law neb,
  Na thro Dy wyneb ymaith ;
Bydd imi'n Dduw, yn Dad, yn Frawd,
  Yn dirion iachawdwriaeth. R. H.

## 270 (354) *Arweiniad yr Ysbryd.*

M. C.—Claudius Ptolemeus. Gwrecsam.

1 O! TYRED, Ysbryd sanctaidd, pur,
  Nertha'm blinedig draed ;
A rho i mi olwg oleu, glir,
  Ar hyfryd dir fy ngwlad.

2 Gâd imi ado'r anial maith,
  Gwlad galar, a gwlad gwae ;
A myned rhagof tua'r tir
  Sy â'i bleser yn parhau.

3 'R wyf fel y gwyliwr ar y mur,
  Yn disgwyl, bob yr awr,
Am wel'd yn gwawrio Jubil fwyn
  Fy muddugoliaeth fawr.

4 Pleserau'r ddaear wedi ffoi,
  Pob chwantau i gyd yn un,
Heb un difyrwch îs y rhôd
  Ond Iesu mawr Ei Hun.

5 A meddwl am gwmpeini'r nef,
  A meddwl am y gwaith
Fydd genyf yno'n treulio i maes
  Holl dragwyddoldeb maith.

6 Yn mhlith cwmpeini rif y sêr,
  Llawn ddisglaer uwch y nen,
Yn cymmysg cariad ato Ef
  Fu farw ar y pren. W.

## 275 (706) *Tyred, Ysbryd Sancteiddiolaf.*

8. 7. D.—Eifionydd. Llanidloes.

1 N'ÂD y cenllysg i fy nghuro—
Grym fy mhleser, a fy chwant,
Ac i yru D' Ysbryd Sanctaidd,
A'i awelon pur i bant:
Gwna 'nghydwybod ynwy'n danllwyth,
Na ddioddefwyf ddim o'r bai,
Ag sy'n gwneuthur oriau 'mywyd
Fel rhyw oes o edifarhau.

2 Tyred, Ysbryd Sancteiddiolaf,
A glanhâ Dy dŷ Dy Hun,
Lladd y beiau yn fy natur
O'r boreuddydd sydd ynglŷn;
Dŵg Dy eiddo i maes o'r pydew,
Minnau, ond cael myn'd yn rhydd,
A'th foliannaf tra f'o anadl
Am fy ngwaredigol ddydd. W.

## 276 (691) *Gweddi am yr Ysbryd.*

8. 7. D.—Jersey. Hebron.

1 YSBRYD byw y deffroadau
Disgyn yn Dy nerth i lawr,
Rhwyga'r awyr â'th daranau,
Crëa'r cyffroadau mawr,
Chwŷth drachefn y gwyntoedd cryfion
Ddeffry'r meirw yn y glŷn,
Dyro anadliadau bywyd
Yn y lladdedigion hyn.

2 Yspryd yr Eneiniad dwyfol,
Rho y tywalltiadau glân,
Moes y fflam oddiar yr allor,
Ennyn ynom sanctaidd dân;
Difa lygredd ein calonau,
Tỳn ein chwantau dàn ein traed,
Dyro ini wisg ddisglaerwen
Wedi 'i chànu yn y gwaed. R. R. M.

## 277 (717) *Y gwlaw graslawn.*

8. 7. D.—Bodawen. Engedi.

1 O! FY Nuw, a'm tirion Arglwydd!
Rho 'r cawodydd pur i lawr,
I ireiddio f' eiddil ysbryd,
Sydd yn sychlyd iawn yn awr:
Dyro 'r dylanwadau nefol,
Ennyn bob rhyw ddwyfol ddawn;
Rho Dy gariad a'th ymgeledd,
Difa 'r llygredd sy' ynwy'n llawn. W. J.

## 278 (689) *Hiraeth am ymweliad.*

8. 7. D.—Diniweidrwydd.

1 O! NA b'ai fy mhen yn ddyfroedd
Fel yr wylwn ddyddiau maith,
Dros ferch Seion, sydd yn cysgu
Yn yr anial ar ei thaith;
O! na ddeuai 'r hen bŵerau,
Welwyd yn y dyddiau gynt!
Wrth brophwydo uwchben yr esgyrn
O! na chlywem sŵn y gwynt! AN.

## 279 (686) *Gweddi am argyhoeddi.*

8. 7. D.—Diniweidrwydd.

1 'RHWN sy'n gỳru'r mellt i hedeg,
Ac yn rhodio brig y dòn,
Anfon saethau arg'oeddiadau
I galonau'r odfa hon;
Agor ddorau hên garcharau,
Achub bentewynion tân;
C'od yr eiddil gwàn i fyny,
Dysg i'r mudan seinio cân. D. S.

## 280 (767) *Cymmorth i bregethu.*

8. 7. 4.—Llandinam. Islwyn.

1 ARGLWYDD grasol, dyro gymmorth
I gyhoeddi eto i maes
Ddyfnder calon dyn truenus,
Ac anfeidrol olud grâs;
Fel b'o dyfnder
Byth am ddyfnder yn cael sôn. D. M.

## 281 (746) *Gweddi am sancteiddrwydd.*

8. 7. 4.—Tamworth. Caio.

1 O! SANCTEIDDIA f'enaid, Arglwydd,
Yn mhob nwyd, ac yn mhob dawn;
Rho egwyddor bur y nefoedd
Yn fy ysbryd llesg yn llawn:
N'âd fi grwydro,
Draw nac yma o fy lle.

2 Ti Dy Hunan all fy nghadw,
Rhag im' ŵyro ar y dde,
Rhedeg eilwaith ar yr aswy,
Methu cadw llwybrau'r ne'
O! tosturia;
Mewn anialwch 'r wyf yn byw.

3 Plana'r egwyddorion hyny
Yn fy enaid bob yr un,
Ag sydd megys peraroglau
Yn Dy natur Di Dy Hun:
Blodau hyfryd,
F'o'n disgleirio dae'r a nef.

4 Fel na chaffo pechod atgas,
Mŵg a tharth y pydew mawr,
I fy nallu ar y llwybr,
Na fy nhaflu fyth i lawr;
Gwna i mi gerdded
Union ffordd wrth oleu dydd. W.

## 282 (738) *Gwaith yr Ysbryd ar y galon.*

8. 7. 4.—Verona. Russia.

1 NERTHOEDD y tragwyddol Ysbryd,
Yn haeddiannau'r dwyfol Iawn,
Wna i'r fynwes ddiffaeth, galed,
I ffrwythloni'n hyfryd lawn
O rasusau,
Per blanhigion nefol wlad.

2 Creigiau tanllyd Salem waedlyd,
Rhai fu'n bloeddio âg un llef,
Am Dywysog mawr y bywyd,
"Ymaith! O! croeshoelier Ef!"

Gwnaeth i'r rhei'ny
Wylo edifeirwch pur.

3 Os disgyni, addfwyn Ysbryd,
I ryw fynwes fel rhai hyn,
A'i haddurno â phur ddelw
'R Hwn fu farw ar y bryn,
Mawl a seinia
Trwy'r holl nefoedd fawr am hyn. D. C.

## 283 (757) *Arweiniad yr Ysbryd.*

8. 7. 4.—Bridport. Abbeycombe.

1 MAE Dy Ysbryd Di yn fywyd,
Mae Dy Ysbryd Di yn dân ;
'Fe sy'n dwyn yr holl fforddolion
Cywir, sanctaidd, pur, yn mlaen ;
Cyfarwyddwr
Pererinion, arwain fi. W.

## 284 (829) *Gair o enau Duw.*

8. 7. 3.—Priscilla. Dolfor.

1 GOLWG, Arglwydd, ar Dy wyneb
Sydd yn c'odi'r marw o'r bedd ;
Mae agoriad nef ac uffern
Yna i'w deimlo ar Dy wedd ;
Gair Dy râs, pur ei flâs,
'N awr a ddetgly 'nghalon gâs.

2 Arglwydd, danfon Dy leferydd,
Heddyw, yn ei rwysg a'i rym ;
Dangos fod Dy lais yn gryfach
Nag all dyn wrthsefyll ddim ;
Cerdd yn mlaen, nefol dân,
Cymmer yma feddiant glân. W.

# YR EFENGYL A'I HORDINHADAU.

## 1.—*AM AIR DUW.*

### 285 (39) *Crist yn y gair.*

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 NID yw hyfrydwch cnawd a byd
Ond pethau gweigion oll i gyd ;
Wrth chwilio gair yr Arglwydd cawn
Hyfrydwch gwell o lawer iawn.

2 Mae rhyfeddodau rif y dail
Yn Mherson hynod Adda'r Ail ;
Difyrwch penaf nef y nef
Yw edrych ar Ei degwch Ef. J. H.

### 286 (247) SALM CXIX. 9—14, 17, 18, 29, 30, 33, 34.

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 PA fodd, O Dduw ! y ceidw llanc
Sydd ieuanc ei holl lwybrau ?
Wrth lwyr ymgadw yn ol Dy air,
Pob llwybr a geir yn olau.

2 I'm calon cuddiais Dy air Di,
Rhag imi bechu yn D' erbyn ;
Bendigaid, Arglwydd, ydwyt Ti,
O ! dysg i mi D' orchymyn.

3 Dy gyfiawn farn, a'r gwir air Tau,
Â mawl gwefusau traethais ;
A'th dystiolaethau Di i gyd,
Uwch holl dda 'r byd a hoffais.

4 Bydd dda i'th wâs, a byw a wna,
A'th air a gadwa'n berffaith ;
A'm llygaid agor Di ar lêd
I weled rhîn Dy gyfraith.

5 O'th nawdd, oddi wrthyf tŷn ffordd gau,
A dysg im' ddeddfau crefydd ;
Dewisais ffordd gwirionedd :—hon
Sydd ger fy mron i beunydd.

6 Duw! ffordd Dy ddeddfau dysg i mi,
Dros f' einioes hi a gadwaf;
O! pâr im' ddeall y ddeddf hon—
O'm calon fe'i cyflawnaf. E. P.

## 287 (231) Salm cxix. 97, 102, 106, 111, 145, 146, 169, 170.

M. S.—Glanceri. Dominus regit me.

1 MOR gu, O Arglwydd! genyf fi,
Dy ddeddf Di, a'th gyfammod;
Ac ar y rhai'n, o ddydd i ddydd,
Y bydd fy holl fyfyrdod.

2 Ni chiliais rhag Dy farnau Di,
Can's Ti a'm dysgaist ynddynt.
Mor beraidd genyf D' eiriau iach—
Na'r mêl melusach ydynt.

3 Dy air i'm traed i lusern yw,
A llewyrch gwiw i'm llwybrau;
Mi dyngais, a chyflawni wnaf,
Y cadwaf Dy lân ddeddfau.

4 Llewyrcha 'th wyneb ar Dy wâs—
Dysg imi flâs Dy ddeddfau;
O'm llygaid dagrau llifo wnant,
Na's cadwant Dy gyfreithiau.

5 O'th flaen Di, Arglwydd! doed fy nghri,
Dysg imi ddeall D' eiriau;
A gwared fi 'n ol D'eiriau rhâd,
Dêl atad fy ngweddïau. E. P.

## 288 (270) *Ysgrifenu y gyfraith ar y galon.*

M. S.—Eidduned. Gorphwysfa.

1 O ARGLWYDD! wrthym trugarha,
A gwna in' gadw'th ddeddfau;
Ac ysgrifena Di'r ddeddf hon
Yn eigion ein calonau. E. P.

## 289 (238) *Gair Duw yn lloches a tharian.*

M. S.—Gwilym. Paradwys.

1 FY lloches glŷd, a'm tarian gref,
Yw'r Arglwydd nef a'i gysgod;

Gobeithiaf yn Ei air er neb,
Yn ngwyneb pob rhyw drallod.

2 Dy air sy'n dwyn rhyw newydd da
A lawenhâ y galon,
Fod nerth tragwyddol oddi fry
I sathru y gelynion.

3 Fod Brawd a Chyfaill wedi Ei gael
I'r tlawd a'r gwael, na chilia;
Yn nyfnder profedigaeth gref
Efe a gydymdeimla.

4 Fod modd i'r euog gael rhyddhâd,
A gwir iachâd i'r clwyfus;
Trwy nerth Ei air, fe rodia'n llon
Y cloffion a'r anafus.

5 Gobeithia f'enaid yn Ei air,
Efe a bair orfoledd;
Pob loes a galar, tristwch try
Yn ganu yn y diwedd. R. J.

## 290 (201) *Cysuron y gair.*

M. S.—Silesia. Mary.

1 DY nerthol air, Iôn, oddi fry,
A bery yn oes oesoedd;
Tydi wyt wedi cadarnhau
Dy eiriau yn y nefoedd.

2 Mor werthfawr yw Dy air a'i rîn
Mewn cystudd blîn a chroesau;
Fe droir wylofain trist yn gân
Ar lwybr glân Dy ddeddfau.

3 Gobeithiaf yn y gair o hyd
Yn nghanol byd o ddychryn;
Mae'n gysgod rhag y gwynt a'r gwrês,
Mae'n lloches rhag y gelyn. R. J.

## 291 (325) *Nerth trwy'r gair.*

M. C.—St. Leonard. St. Peter.

1 GOLEUNI ac anfeidrol rym
Yw hyfryd eiriau'r nen;
Pob sill erioed a dd'wedodd Ef
Sydd siwr o dd'od i ben.

2 Fe barodd imi dori'r fraich,
A thynu'r llygad de;
Câf finnau allu, mewn iawn bryd,
I wneyd a barodd Ef.

3 'R wy'n penderfynu myn'd yn gloff
I mewn i deyrnas nef,
Yn well na chadw'm melus chwant,
A cholli Ei gwmni Ef.

4 Mi ymddiriedaf yn Ei air,
Er cymmaint yw fy mai;
Ac fe derfynwyd dydd ac awr
Pan gaffwy'm gwir ryddhau.

5 Mi orfoleddaf draw o bell,
Wrth feddwl am y dydd
Pan ddêl addewid fawr ei grym
A'm henaid gwàn yn rhydd. W.

## 292 (398) *Y gwaed yn sylfaen yr addewidion.*

7. 6.—Meirionydd. Rhyddid.

1 MAE mil o addewidion
O fewn y Llyfr mawr,
Oll yn diferu manna,
A hyfryd fyrr i lawr;
Y maent hwy'n perthyn iti,
Y maent hwy oll yn rhâd;
Eu sylfaen a'u cyflawniad
Sydd yn y Dwyfol waed. W.—TH.

## 293 (479) *Y Beibl.*

M. B. D.—Leominster. Kingscroft.

1 O FEWN i gloriau hwn
Mae dwfn feddwl Duw;
Pob iot o hono bery'n hwy
Na'r nef—gwirionedd yw:
Y llŵon yw ei sail,
Gwaed Adda'r Ail yw'r sêl;
Mwy gwerthfawr yw nag aur Peru,
Llawn yw o laeth a mêl.

2 Rhyw drysor mawr ei werth
Yw holl wirionedd Duw;

Tystiolaeth eglur ynddo geir
  Am gyflwr dynolryw ;
Ei greu mewn cyflwr da,
  A syrthio o hono 'i hun ;
O blegid hyn, gelyniaeth sydd
  Rhwng Brenin nef a dyn.

3 Ac ynddo hefyd ceir
  Rhyw newydd braf ei sain,
Fod iachawdwriaeth berffaith râd,
  I'r gwaelaf un o'r rhai'n ;
Mae'r heddwch wedi ei wneyd
  Yn Mherson Mab y dyn,
Ac yn y Babell ddiddos hon
  Mae Duw mewn hedd â dyn.

4 Trysordy deddfau Duw,
  Maith yw Dy eiriau prîd ;
Pob sill o'i fewn sydd fwy ei werth
  Na'r ddaear faith i gyd ;
O fewn ei gloriau gwiw
  Mae arfdy Duw, fy Iôr ;
Myfyriaf ynddo yn ddi-baid,
  Tra fyddo tir neu fôr. D. M.

## 294 (631) *Nerth gair Duw.*

8. 7. D.—Llangan. Tanycastell.

1 DYN nid wyt sy'n edifaru ;
  'R gair a dd'wedost ddaw i ben ;
Seliwyd D'arfaeth, seliwyd D'eiriau,
  Pan fuost farw ar y pren ;
Nid oes sillaf o'th fygythion,
  Nid oes sillaf bach o'th râs,
Pan y delo'r dydd i fyny,
  Nas caiff hwnw 'i wneyd i maes.

2 Ar Dy air, yn mhob tymhestloedd,
  Y gorphwysa'i f' hun i lawr,
Ac mi gredaf fod Dy eiriau
  Lawer trech na'r storom fawr ;
'R unig sylfaen 'n awr sydd geny'
  I bwyso ar D'addewid ddrud

Yw, bod ynot Ti gyflawnder,
A 'mod innau'n eisieu i gyd.

3 O! gâd imi brofi a welaf;
'R wyf yn gwel'd rhyw wledydd draw
Y dymunwn fil o weithiau
Brofi eu ffrwythau maes o law;
Grym Dy eiriau wyf am deimlo,
Mae Dy eiriau'n drech na'r byd;
Cleddyf tanllyd o Dy enau
Goncra uffern faith i gyd. W.

## 295 (816) *Melusder y gair.*

8. 7. 3.—Revel. Groeswen.

1 MAE Dy air yn abl fy arwain
Trwy'r anialwch mawr yn mlaen;
Mae yn golofn oleu, eglur,
Weithiau o niwl, ac weithiau o dân;
Mae'n ddi-ble ynddo 'fe,
Fwy na'r ddaear, fwy na'r ne'.

2 'R wyf yn meddwl am yr oriau
Caffwyf funyd o'th fwynhau;
Ac mae adsain pell Dy eiriau
'N peri imi lawenhau:
O! 'r fath wledd, draw i'r bedd,
Fydd cael edrych ar Dy wedd.

3 Dyna'r pryd 'r wy'n dechreu 'mywyd,
Pan y caffwyf wel'd yn glir
Im' gael prawf, ac y câf ragor,
O rawnsypiau'r Ganaan bur:
Dyma'm gwledd, dyma'm hedd,
Dyma'm concwest ar y bedd.

4 O! gâd imi 'n fuan, Arglwydd,
Glywed geiriau distaw'r ne',
Rhag im' redeg, heb im' wybod,
Ar ryw law i maes o'm lle;
Yn Dy law, heb ddim braw,
Cerdda'i 'n union yma a thraw. W.

## 296 (58) *Boreu oes i Grist.*

M. H.—Melcombe. Eisenach.

1 CYSSEGRWN flaenffrwyth dyddiau 'n hoes
I garu 'r Hwn fu ar y groes ;
Mae mwy o bleser yn Ei waith
Na dim a fedd y ddaear faith.

2 Cael bod yn foreu dàn yr iau
Sydd ganmil gwell na phleser gau ;
Mae ffyrdd doethineb oll i gyd
Yn gysur ac yn hedd o hyd.

3 Y plant a wasanaethont Grist
Cânt ddianc byth rhag uffern drist ;
Mae myrdd o ie'nctyd yn y nef
Yn berlau yn Ei goron Ef.

4 O ! na threuliaswn yn ddi-gôll
O dàn iau Crist fy mebyd oll ;
Mae 'r Hwn a'm prynodd ar y groes
Yn deilwng o bob awr o'm hoes. P. J.

## 297 (46) *Cofio tragwyddoldeb.*

M. H.—Samson. Luther's Chant.

1 O DOWCH ! ieuenctyd hoff, yn awr,
I arddel enw Iesu mawr !
Mae Duw yn galw ar eich hôl—
Fod tragwyddoldeb maith yn ôl.

2 Nid yw pleserau pena'r byd
Ond twyll a gwagedd oll i gyd :
Mor fyr yw mwyniant pechod ffol,
Wrth dragwyddoldeb maith, sy'n ôl !

3 Pa beth i chwi, heb Dduw a'i hedd,
Fydd harddwch corph, na thegwch gwedd,
Pan ddelo 'r alwad ddwys i'ch nôl,
I'r tragwyddoldeb maith, sy'n ôl ?

4 Cyssegrwch heddyw flodau 'ch oes
I'r Hwn fu farw ar y groes,
A chwi gewch orphwys yn Ei gôl
Yn nhragwyddoldeb maith, sy'n ôl. E. E.

## 298 (235) *Goleuni a hyfrydwch y gair.*

M. S.—Gwilym. Paradwys.

1 MAE yn y gair oleuni glân,
O f' enaid! cân am dano!
I'r euog yn yr anial fyd,
Wel'd noddfa glŷd i ymguddio.

2 Gwna imi gerdded mwy bob cam,
Gan feddwl am D' orch'mynion;
Boed ynddynt hwy fy serch a'm blŷs,
O wir ewyllys calon.

3 Tangnefedd Duw, fel afon gref
O orsedd nef yn llifo,
A fydd i'r sawl a garo 'r gwir,
Gan rodio 'n gywir ynddo. R. J.

## 299 (212) *Addysg foreuol.*

M. S.—Morganwg. Persia.

1 GWYN fyd y plant sy'n derbyn dysg
Ac addysg yn y boreu;
Nid ânt i ffyrdd troseddwyr ffol,
Nac i annuwiol lwybrau.

2 Y duwiol ostyngedig blant
A barchant eu rhieni,
Cânt ar y ddaear fyw yn hir,
A'u dwyn i dir goleuni. DR. W., *c.* D. J.

## 300 (330) *Arglwydd Iesu! gwrando ni!*

M. C.—St. Agnes. Winchester Old.

1 FE elai plant at Iesu Grist,
Pan rodiai 'r ddaear lawr;
Awn ninnau 'n wylaidd ato Ef
O flaen Ei orsedd fawr.

2 Pan blygent hwy eu gliniau bach,
Gan ledu 'u dwylaw cu,
Dywedai, "Na waherddwch hwynt
I ddyfod ataf Fi!"

3 Mae 'r Arglwydd Iesu Grist yn awr,
Oddi ar Ei orsedd fry,
Yn galw 'n uchel, "Deuwch, blant,
Yn lluoedd ataf Fi!"

4 Mae plant, fyrddiynau maith diri',
O'i amgylch yn y nef,
Yn chwareu eu telynau aur
Dan ganu, "IDDO EF!" T. LE.

## 301 (379) *Gwaredigaeth.*

7. 8.—St. Andrew. Triumphant.

1 PA gynnwrf, a pha riddfan,
Sydd trwy holl feusydd Soan?
Pa dorf yw hon sy'n myn'd i maes,
Heb ynddi neb yn egwan?
Duw Abra'm sydd yn gwared
Ei blant o'u blinfyd caled;
A'u dwyn y mae, gan ddryllio 'r Aipht,
O'u haiarn bair gaethiwed!

2 Pwy rwyga iddi 'r dyfroedd—
Balmanta 'r gorddyfnderoedd—
A'i harwain drwy 'r anialwch maith,
Gan borthi ei haml filoedd?
Ei chymmorth llawn digonol
Yw 'r YDWYF mawr, tragwyddol;
I'r Ganaan wiw ei harwain wna
Trwy wyrthiau tra rhyfeddol!

3 Pa ham y ciliwch, ddyfroedd?
Y neidiwch chwi, fynyddoedd?
Yr wylwch chwithau, greigiau hyll,
Yr anial dir yn llŷnoedd?
Onid gweddus ini barchu
Ein Crëwr, mewn mawrhydi,
Yn rhodio o flaen Ei braidd yn hardd,
Drwy 'r anial dir i fyny!

4 I bwy, y bryniau oesol,
Y plygwch chwi yn drefnol?
A thi, Iorddonen, gyflawn, gref,
Y rhedi yn dy wrthol?
I'r Hwn sy'n pwyso 'r bryniau,
Fel mân-lwch mewn clorianau!
Ac yn Ei law mae 'r moroedd mawr,
A'u 'nysoedd megys brychau! D. C.

## 302 (397) *Chwilio y gair.*

7. 6.—Meirionydd. Rhyddid.

1 O ARGLWYDD! dysg im' chwilio
I wirioneddau 'r Gair,
Nes d'od o hyd i'r Ceidwad
Fu gynt ar liniau Mair;
Mae Ef yn Dduw galluog,
Mae 'n gadarn i iachau;
Er cymmaint yw fy llygredd,
Mae 'n ffynnon i'm glanhau. G. 2.

## 303 (428) *Myfyrdod yn y gair.*

7. 6.—Abertawe.

1 O ARGLWYDD da! argraffa
Dy wirioneddau gwiw,
Yn rymus ar fy meddwl,
I aros tra f'wyf byw:
Mwy parchus boed Dy ddeddfau,
Mwy anwyl nag erioed—
Yn gysur i fy nghalon,
Yn llusern i fy nhroed.

2 Myfyrdod am Gyfryngwr,
A phethau dwyfol drud,
F'o 'n llanw 'nghalon wammal
Yn felus iawn o hyd;
A bydded prawf maddeuant—
Yr heddwch sydd trwy 'r Iawn—
Gartrefol yn fy mynwes,
O foreu hyd brydnawn. D. CS.

## 304 (460) *Arglwydd! dyma fi!*

M. B.—Sarah. Silchester.

1 MI glywa'th dyner lais
Yn galw arnaf fi,
I dd'od a golchi 'meiau 'gyd
Yn afon Calfari.

2 Yr Iesu sy'n fy ngwa'dd
I dderbyn gyda'i saint,
Ffydd, gobaith, cariad pur, a hedd,
A phob rhyw nefol fraint.

3 Yr Iesu sy'n cryfhau
O'm mewn Ei waith trwy râs ;
Mae 'n rhoddi nerth i'm henaid gwàn
I faeddu 'mhechod câs.

4 Gogoniant byth am drefn
Y cymmod a'r glanhâd ;
Derbyniaf Iesu fel yr wyf,
A chanaf am y gwaed ! *cyf.* I. G.

## 305 (476) *Appeliad at rieni.*

M. B. D.—Bonar. Amana.

1 OS wyt yn caru 'th blant
Â thyner galon tad,
Os ewyllysi ar i Dduw
Barhau yn Dduw dy hâd,
O ! gwrandaw ar y llais
Sy'n galw yn ddi-daw—
Yn foreu tyr'd i'r Ysgol Sul,
Â'r Beibl yn dy law !

2 Os wyt yn caru dyn,
Os wyt yn teimlo sêl
Dros addysg a oleua 'r ffordd
Yn mlaen i'r byd a ddêl—
Os credaist fod y bedd
Yn ddôr i fywyd draw,
Yn foreu tyr'd i'r Ysgol Sul,
Â'r Beibl yn dy law !

3 Os wyt yn caru Duw,
A'i achos yn y byd ;
Os hoffet weled dynol-ryw
Dàn faner Crist ynghyd ;
A gweled goleu wawr
Trwy wŷll y byd a ddaw,
Yn foreu tyr'd i'r Ysgol Sul,
Â'r Beibl yn dy law ! J. C. H.

## 306 (589) *Crist yn derbyn Plant.*

8. 7.—Beaminster. Bugail Israel.

1 BUGAIL Israel sydd ofalus
Am Ei dyner anwyl ŵyn ;

Mae 'n eu galw yn groesawus,
Ac yn eu cofleidio 'n fwyn.

2 "Gadewch iddynt ddyfod ataf,
Ac na rwystrwch hwynt," medd Ef;
"Etifeddiaeth lân hyfrydaf
I'r fath rai yw teyrnas nef."

3 Deuwn, Arglwydd! â'n rhai bychain,
A chyflwynwn hwynt i Ti;
Eiddot mwyach ni ein hunain,
A'n hiliogaeth gyda ni.

4 De'wch, blant bychain, de'wch at Iesu!
Ceisiwch wyneb Brenin nef;
Hoff yw 'ch gweled yn dynesu
I'ch bendithio ganddo Ef! M. D.

## 307 (652) *Y Beibl.*

8. 7. D.—Joseph. Corinth.

1 DYMA Feibl anwyl Iesu,
Dyma rodd deheulaw Duw;
Dengys hwn y ffordd i farw,
Dengys hwn y ffordd i fyw;
Dengys hwn y golled erchyll
Gafwyd draw yn Eden drist;
Dengys hwn y ffordd i'r bywyd,
Trwy adnabod Iesu Grist. TR. (1831, *dyf.*)

2 Feibl gwerthfawr, caiff dy eiriau
Gartref yn fy mynwes i;
Mae bendithion fyrdd myrddiynau
Yn dy addewidion di;
Bu fy nghalon dlawd yn crwydro
Trwy anialwch sych a gwyw,
Nes y daeth dy eiriau dwyfol
I'w chyfodi o farw'n fyw.

3 Cuddiaf d'eiriau yn fy nghalon,
Gwnaf, yn ddyfnach nag erioed;
Byddi 'n llewyrch i fy llwybrau,
Ac yn llusern i fy nhroed;
Cyfaill fyddi ar y ddaear,
Ac yn angeu glynu wnai;

Yn y nef am dragwyddoldeb
Bydd dy drysor yn parhau. T. LE.

## 308 (855) *Y Bugail.*

7au. 6ll.—Bhoi Lymbong. Wells.

1 ARGLWYDD Iesu, 'r Bugail mwyn !
Edrych ar Dy anwyl ŵyn.
Dyro arnom ni Dy nôd,
I Dy gorlan gâd in' dd'od :
Buost farw drosom ni—
Dŵg ni yn Dy fynwes gu.

2 Arglwydd Iesu, 'r Bugail mwyn !
Ti, O Dduw ! wnai gydymddwyn ;
Maddeu 'n holl bechodau 'n rhâd,
Golch ni yn Dy werthfawr waed :
Yna cawn Dy foli fry
Ar hên anthem Calfari ! T. LE.

## 309 (862) *Mawl plentyn.*

7au. 8ll.—Maidstone.

1 ADDFWYN Iesu, 'r Ceidwad mawr !
De'st o'r nefoedd wèn i lawr ;
Derbyn fawl un bach fel fi,
Am it' farw drosom ni !
Addfwyn Iesu ! cofio 'r wyf
I Ti ddiodde' marwol glwyf,
Ac it' dd'weyd am blant fel ni,
Y caent hwy ddyfod atat Ti.

2 Addfwyn Iesu ! gwel yn awr
Blentyn wrth Dy draed i lawr ;
Er mor fychan ydwyf fi,
Gâd im' ddyfod atat Ti :
Gâd im' lechu wrth Dy draed,
Golch fi, Iesu ! yn Dy waed :
Rho i blentyn bychan le,
Gyda Thi yn nheyrnas ne'. T. LE.

## 310 (946) *Rhagom, filwyr Iesu.*

6. 5.—St. Gertrude.

1 RHAGOM, filwyr Iesu !
Awn i'r gâd yn hyf !

Gwelwn groes ein Prynwr—
Hon yw'n cymmorth cryf;
Crist, frenhinol Arglwydd,
Yw'n Harweinydd mâd;
Chwyfio mae Ei faner;
Geilw ni i'r gâd.
Rhagom, filwyr Iesu!
Awn i'r gâd yn hyf!
Gwelwn groes ein Prynwr—
Hon yw'n cymmorth cryf.

2 Arwydd buddugoliaeth
Wna i Satan ffoi;
Filwyr ffyddlawn Iesu,
Dowch yn ddiymdroi:
Seiliau uffern grynant
Gan y nerthol floedd,
Frodyr, bloeddiwch eto—
Molwch Ef ar g'oedd.
Rhagom, filwyr Iesu!
Awn i'r gâd yn hyf!
Gwelwn groes ein Prynwr—
Hon yw'n cymmorth cryf.

3 Fel rhyw fyddin arfog
Symmud, Eglwys Dduw!
Frodyr, lle y troediwn,
Llwybr y seintiau yw;
Nid y'm ni'n rhanedig,
Ond un corph di-goll,—
Un mewn ffydd a gobaith,
Un mewn cariad oll.
Rhagom, filwyr Iesu!
Awn i'r gâd yn hyf!
Gwelwn groes ein Prynwr—
Hon yw'n cymmorth cryf.

4 Llawer teyrnas gyfyd,
Yna, rywbryd syrth;
Ond am Eglwys Iesu,
Byth y saif ei phyrth!

Er pob brâd, ni lwydda
Dyfais uffern ddu,
Gan i'r Iesu addaw
"Byddaf Fi o'ch tu!"
Rhagom, filwyr Iesu!
Awn i'r gâd yn hyf!
Gwelwn groes ein Prynwr—
Hon yw'n cymmorth cryf.

5 Dowch gan hyny bobloedd!
Dyma'r dedwydd lu;
Y fuddugol anthem
Seiniwch gyda ni:—
Moliant ac anrhydedd
Byth i'r Iesu glân;
Dynion ac angylion
Unant yn y gân!
Rhagom, filwyr Iesu!
Awn i'r gâd yn hyf!
Gwelwn groes ein Prynwr—
Hon yw'n cymmorth cryf.

S. BARING-GOULD, *C. L. E.*

## 311 (947) *Genedigaeth Crist.*

6. 5.—Franconia.

1 "WELE Fi yn dyfod,"—
Llefai 'r Meichiau gwiw,
Adsain creigiau Salem,—
"Wele'n d'od mae Duw:
Gâd anfeidrol fawredd
Nef y nef yn awr;
Ar awelon cariad
Brysia i barthau 'r llawr."

2 Pa ryw fwyn beroriaeth
Dreiddia trwy y nen!
Pa ryw waredigaeth
Heddyw ddaeth i ben!
Miloedd o angylion
Yno 'n seinio sydd,
"Ganwyd y Messiah,
Heddyw daeth y dydd."

3 Dyma'r Hollalluog
Heddyw ini'n Frawd!
Dyma holl drysorau
Duwdod yn y cnawd!
Moroedd rhâd drugaredd
Lanwodd dros y llawr,
Perlau gwlad gogoniant
Ynddo ddaeth i lawr.

I. G.

## 312 (952) *Emyn plant am y nef.*

7. 7. 6.—Joyful.

1 YMA cur a blinder cawn,
Yma cwrdd i 'mado wnawn;
Nid felly yn y nef.
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd!
O! hyn fydd yn hyfryd—
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

2 Pawb sydd yma 'n caru Duw,
Gwedi marw, hwy gânt fyw,
A chanu yn y nef.
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd!
O! hyn fydd yn hyfryd—
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

3 Pawb brofasant râs a hedd
Iesu, hwy gânt wel'd Ei wedd,
A chanu iddo byth.
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd!
O! hyn fydd yn hyfryd—
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

4 Duwiol a sancteiddiol blant,
Sy'n gweddïo, yno 'r ânt
O'r holl ysgolion Sul.
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd!
O! hyn fydd yn hyfryd—
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

5 Cawn gyfarfod uwch y llawr
Apostolion Iesu mawr,
Yn Ei addoli Ef.
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd!
O! hyn fydd yn hyfryd—
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

6 O! mor ddedwydd y cawn fyw—
Gweled y Gwaredwr gwiw,
Ar Ei orseddfainc fry.
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd!
O! hyn fydd yn hyfryd—
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

7 Yno ni gawn ganu byth,
Mewn gogoniant pur di-lŷth,
I Grist yr Arglwydd Iôr!
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd!
O! hyn fydd yn hyfryd—
Cwrdd heb byth ymadael mwy! JS. H.

## 313 (174) *Buddugoliaeth milwyr Duw.*

8. 8. 8. 8. 8. 4.—Cynfal.

1 YN mlaen! yn mlaen! chwi filwyr Duw!
O'ch blaen mae'r fuddugoliaeth wiw;
Cewch ddwyn eich palmwydd yn eich llaw,
A gwisgo 'r hyfryd goron draw,
A bloeddio concwest ddydd a ddaw,
Yn nheyrnas nef! M. P.

2 Cawn uno yno â'r dedwydd lu,
Sy'n canu am gariad Iesu cu!
Ni ganwn am Ei gariad drud,
Pan ferwo 'r môr, pan losgo 'r byd;
A hyn fydd sain y gân i gyd—
Ei gariad Ef! T. LE.

## 314 (808) *Mawl am yr Ysgol Sabbathol.*

8. 4.—Steggall.

1 AM yr Ysgol râd Sabbathol,
Clôd, clôd i Dduw!
Ei buddioldeb sydd annhraethol—
Clôd, clôd i Dduw!
Ynddi cawn yr addysg oreu—
Addysg berffaith Llyfr y llyfrau:
Am gael hwn yn iaith ein mamau
Clôd, clôd i Dduw! R. E.

## 315 (948) *Diolch am yr efengyl.*

10. 7. 6.—Diolch i Ti.

1 DIOLCH i Ti, yr Hollalluog Dduw!
Am yr Efengyl sanctaidd.
Haleluwia, Amen.

2 Pan oeddym ni mewn carchar tywyll du,
Rho'ist in' oleuni nefol.
Haleluwia, Amen.

3 O! aed, O! aed yr hyfryd wawr ar lêd!
Goleued ddaear lydan!
Haleluwia, Amen. C. D. C.

## 316 (950) *Molwn Di, Arglwydd.*

10. 10.—True Hearted.

1 MOLWN Di, molwn Di, Arglwydd ein Duw!
Ofnwn Dy enw tra fyddom ni byw;
Dyro, O Arglwydd, wrandawiad i ni,
Telyn y galon gyssegrwyd i Ti.

2 Chwydded yr anthem ar dir ac ar fôr,
Purer y byd gan Efengyl yr Iôr;
Seion f'o'r mynydd gan holl ddynol-ryw:
Molwn Di, molwn Di, Arglwydd ein Duw.

3 Deued Dy deyrnas dragwyddol yn awr,
Deued goleuni gogoniant i lawr;
Iesu fu farw, ninnau sydd fyw,
Molwn Di, molwn Di, Arglwydd ein Duw. J. C. H.

## 317 (44) *Yr iachawdwriaeth fawr yn Nghrist.*

M. H.—Samson. Luther's Chant.

1 YR iachawdwriaeth fawr yn Nghrist,
Sŵn melus hyfryd yw i'm clust ;
Balm cryf i'm clwyfau o bob rhyw,
A chordial im' rhag ofnau yw.

2 Aed sŵn yr iachawdwriaeth fawr
O amgylch ogylch daear lawr ;
A boed i'r nef a'i lluoedd llon
Gyfodi eu llef i seinio hon. DR. W., *c.* D. J.

## 318 (187) *O! deuwch i'r dyfroedd.*

M. S.—Dyfrdwy. Sabbath.

1 O! DE'WCH i'r dyfroedd, dyma'r dydd,
Yr Arglwydd sydd yn galw ;
Tragwyddol râs yr Arglwydd Iôr
Sydd fel y môr yn llanw.

2 Heb werth nac arian, de'wch yn awr,
Mae golud mawr trugaredd
A'i wyneb ar yr euog rai,
Maddeuant a'i ymgeledd.

3 O ! de'wch a phrynwch wîn a llaeth,
Mae yma faeth rhagorol ;
O ! prynwch wîn, heb aur na gwerth,
Mae ynddo nerth tragwyddol.

4 Bwytewch, mae'r aberth wedi ei ladd,
Y ddeddf a ga'dd anrhydedd ;
Ac i bechadur euog, gwael,
Mae modd i gael ymgeledd.

5 Mae'r wledd yn barod, O ! bwytewch,
A llawenhewch yn Seion ;
Tragwyddol hedd i blant y llwch ;
O ! yfwch ei melusion. R. J.

## 319 (328) *Cynhaliaeth digonol o râs.*

M. C.—St. Leonard. St. Peter.

1 AWN, bechaduriaid, at y dŵr
A darddodd ar y bryn ;

Ac ni gawn yfed byth heb drai
O'r afon loyw hyn.

2 Mae yma drugareddau rhâd,
I'r tlawd a'r llariaidd rai,
A rhyw fendithion maith yn stôr
Sydd fythol yn parhau.

3 'D oes yma eisieu fyth yn bod—
Trysorau grâs sy'n llawn,
Er maint yr yfed a'r glanhau
Sy o foreu hyd brydnawn.

4 Nis blinwn ganu tra f'om byw
Yr oruchafiaeth hyn,
Ennillodd Iesu un prydnawn
Ar ben Calfaria fryn.

5 Fe welir myrdd, 'mhen gronyn bach,
O'r dwyrain ac o'r de,
Yn cyd-adseinio'n hyfryd am
Ei ryfedd gariad E'. W.

## 320 (413) *Gwledd i'r tlodion.*

7. 6. D.—Talyllyn. Pearsall.

1 DARPARWYD gwledd i'r tlodion,
I'r euog llawn o fai;
Mae'n gyflawn o ddanteithion
I'r gwael anghenus rai;
O! de'wch ar frŷs i'w profi—
Bendithion pur y ne';
Mae galwad Duw'n cyhoeddi
Fod heddyw eto le. T. J.

## 321 (420) *Gobaith yr efengyl.*

7. 6. D.—Ewing. Angels' Story.

1 O'R nef mi glywais newydd,
Fe'm c'ododd ar fy nhraed,
Fod ffynnon wedi ei hagor
I'r cleifion gael iachâd;
Fy enaid, rhêd yn ebrwydd,
A phaid a llwfrhau;
O'th flaen mae drws agored
Na ddichon neb ei gau. D. W.

## 322 (529) *Galwad yr efengyl.*

6. 8.—Dolgellau. Tyndal.

1 DE'WCH, hên ac ieuainc, de'wch,
At Iesu, mae'n llawn bryd;
Rhyfedd amynedd Duw,
Ddisgwyliodd wrthym c'yd:
Aeth yn brydnawn, mae yn hwyrhau;
Mae drws trugaredd heb ei gau.

2 De'wch, hên wrthgilwyr trist,
At Iesu Grist yn ôl;
Mae'i freichiau'n awr ar lêd,
Fe'ch derbyn yn Ei gôl:
Mae Duw yn rhoddi eto'n hael
Drugaredd i droseddwyr gwael. M. R.

## 323 (538) *Buddugoliaeth trwy Grist.*

6. 4. 8. 7.—Noddfa. Bow Street.

1 MAE udgorn Jubili
Am haeddiant Calfari,
Yn seinio'n llon,
Newyddion goreu i ni;
Gwir lawenhâ, fy enaid prudd,
Ennillodd Iesu mawr y dydd;
Daw carcharorion angeu
O'u rhwymau oll yn rhydd.

2 Mae tyrfa fawr heb ri',
Fu ar ein daear ni,
Dàn lawer loes,
A llîd, a chroes, a chri,
Yn awr mewn bywyd, hyfryd hoen,
Ger bron gorseddfainc Duw a'r Oen,
Heb deimlo mwy flinderau,
Effeithiau llîd a phoen. G. 1.

## 324 (537) *Taerineb yr efengyl.*

6. 4. 8. 7.—Stamford. Noddfa.

1 DOWCH, dowch, o fawr i fân,
Cyn delo'r diluw tân,
I'r arch mewn pryd,
Fe lysg y byd yn lân;

O ddinas distryw brysiwch, ffowch,
Ar y gwastadedd nac ymdrowch,
I sanctaidd fynydd Seion,
O! ddynion, p'am na ddowch? *Cas.* JOS. HAR.

## 325 (569) *Trefn i faddeu pechod.*

7. 3.—Trefeglwys. Twrgwyn.

1 CAED trefn i faddeu pechod
Yn yr Iawn;
Mae iachawdwriaeth barod
Yn yr Iawn:
Mae'r ddeddf o dàn ei choron,
Cyfiawnder yn d'weyd, Digon!
A'r Tad yn gwaeddi, Boddlon!
Yn yr Iawn;
A Diolch byth, medd Seion,
Am yr Iawn.

2 Yn awr, hên deulu'r gollfarn,
Llawenhawn;
Rho'ed cymmorth ar Un cadarn,
Llawenhawn:
Mae heddyw alwad ato,
Mae bythol fywyd ynddo;
Ni chollir neb a gredo,
Llawenhawn,
Gan lwyr ymroddi iddo;
Llawenhawn. W. WS.

## 326 (570) *Dydd yr efengyl.*

7. 3.—Trefeglwys. Rhosbeirio.

1 MAE efengyl grâs yn t'wynu,
Mawr yw'r fraint,
I gasglu llafur Iesu,
Mawr yw'r fraint;
Mae lluoedd maith yn barod
Yn y Gaersalem uchod,
A thyrfa fawr yn dyfod,
Mawr yw'r fraint,
Dàn faner Iesu isod,
Mawr yw'r fraint. G. 1.

2 Mae'r bwrdd yn llawn danteithion,
Dowch yn mlaen,
Gan sanctaidd Frenin Seion,
Dowch yn mlaen;
Cawn wledda oll yn ddiddig,
Fry, ar y llo pasgedig,
Ac yfed gwîn puredig,
Dowch yn mlaen,
Gwir haeddiant Iesu'n unig
Dowch yn mlaen. M. R.

## 327 (658) *Dyfroedd iachawdwriaeth.*

8. 7. D.—Lux Eoi. Bethany.

1 Y MAE dyfroedd iachawdwriaeth,
A'u rhinweddau mewn parhâd;
Y mae ynddynt feddyginiaeth
Anffaeledig, oll yn rhâd:
Deuwch, gleifion codwm Eden,
I ddefnyddio'r dyfroedd hyn,
Ni bydd diwedd byth ar rinwedd
Sylwedd mawr Bethesda lŷn.

2 Cofiwch hyn mewn stâd o wendid—
Dyfroedd at y fferau sy;
Dirifedi yw'r cufyddau
A fesurir i chwi fry;
Bod yn blant yr adgyfodiad,
Nofio yn y dyfroedd hyn,
Edrych ar ogoniant Iesu
A fu'n gwaedu ar y bryn. A. G.

## 328 (665) *Drws gobaith.*

8. 7. D.—Scopas. Balducci.

1 A OES gobaith am achubiaeth?
Oes maddeuant am bob bai?
A oes hedd a meddyginiaeth,
A oes Ceidwad i'r fath rai?
"Oes," medd Duw o'r nef yn eglur,
"Mi ddarperais aberth llawn;
Y mae hedd, a grâs, a chysur
Geny'n rhoddion parod iawn." T. J.

## 329 (604) *Grâs yn rhagor amlhau.*

8. 7. D.—Moriah.

1 GOLCHWYD Magdalen yn ddisglaer,
A Manasseh'n hyfryd wŷn,
Yn y dŵr a'r gwaed a lifodd
O ystlys Iesu ar y bryn :
Pwy a ŵyr na olchir finnau ?
Pwy a ŵyr na byddaf byw ?
Mae rhyw drysor anchwiliadwy
O râs yn nghadw gyda'm Duw. T. Y. iv. *dyf.*

## 330 (651) *Udgorn yr efengyl.*

8. 7. D.—Vienna.

1 'BETH yw'r udgorn glywa'i 'n seinio ?
Brenin Siloh sydd yn gwa'dd.
Pwy sy'n cael eu galw ganddo ?
Pechaduriaid o bob gradd.
Adre', adre', blant afradlon—
Gadewch gibau gweigion ffôl ;
Clywaf lais y Brenin heddyw,
'N para i alw ar eich hôl. *Cas.* J. H.

## 331 (644) *Effeithiau yr oruchafiaeth.*

8. 7. D.—Argoed. Mendelssohn.

1 CADBEN mawr ein hiachawdwriaeth
Welaf yn y frwydr hon ;
Holl elynion Ei ddyweddi
'N gorfod plygu ger Ei fron ;
Plant afradlon sy'n d'od adref,
A fu 'mhell o dir eu gwlad ;
Rhai fu'n fudion sy'n clodfori
Duw am iachawdwriaeth râd. M. R.

## 332 (747) *Gwahoddiad at Grist.*

8. 7. 4.—St. Garmon. Caersalem.

1 DEUWCH, bechaduriaid tlodion,
Clwyfus, cleifion, o bob rhyw
Crist sy'n barod i'ch gwaredu,
Llawn tosturi yw Mab Duw :
Nac amheuwch,
Abl ac ewyllysgar yw.

2 Rai anghenus, de'wch a chroesaw,
I gael rhoddion Duw yn rhâd;
Cewch wir ffydd ac edifeirwch,
A phob grâs yn ddinacâd;
De'wch heb arian,
Prynwch gan yr Iesu'n rhâd.

3 De'wch, flinderog, a thrwmlwythog,
Trwy y cwymp ga'dd farwol friw;
Os aroswch nes eich gwella,
Byth ni ddeuwch yn eich byw:
Pechaduriaid,
Nid rhai cyfiawn, eilw Duw. HART, *c.* D. J.

## 333 (819) *Gwahoddiad i'r wledd.*

8. 7. 3.—Holstein. Talgarth.

1 DEUWCH, hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil fawr o hedd;
Galw 'r ydys bawb o'r enw
I fwynhau tragwyddol wledd:
Bwrdd yn llawn, yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnawn.

2 De'wch, y deillion; de'wch, y cloffion;
De'wch, y gwywedigion rai;
Ymadewch â'r hyn yr oeddych
Yn cael pleser i'w fwynhau:
Chwi gewch wîn, nefol rîn,
Yma i'w yfed yn ddi-brin.

3 Ceisiwch wisgoedd y brïodas,
Gwisgoedd hyfryd, hardd eu lliw;
Nid oes enw teilwng arnynt
Ond cyfiawnder pur fy Nuw:
Llïan main ydyw'r rhai'n
Sydd yn cuddio pob rhyw staen.

4 Dyma'r wledd y cewch ddanteithion,
Yma cewch faddeuant rhâd;
Yma cewch chwi brofi'r cariad,
Hedd yn nofio yn y gwaed:
De'wch yn awr, dyrfa fawr,
Ac eisteddwch yma i lawr. W.

## 334 (851) *Cyflawnder yr iachawdwriaeth.*

7au. 6ll.—Dix. Newport.

1 HYFRYD lais efengyl hedd
Sydd yn galw pawb i'r wledd;
Mae gwahoddiad llawn at Grist,
Oes, i'r tlawd, newynog trist:
Pob cyflawnder ynddo cewch;
De'wch a chroesaw, dlodion de'wch.

2 Talodd Crist anfeidrol Iawn
Ar y croesbren un prydnawn;
Llifodd ar Galfaria fryn
Ddŵr a gwaed i'n golchi'n wŷn:
Iachawdwriaeth sydd heb drai:
De'wch i'r ffynnon, aflan rai. P. J.

## 335 (864) *Galwad ar yr afradlon.*

7. 4.—Dychweliad.

1 BLANT afradlon, at eich Tad
Dowch, a chroeso;
Rhai fu 'mhell o dir eich gwlad
Yn hir grwydro;
Mae'r llo pasgedig wedi ei ladd,
Chwi gewch wledda;
Ac mae'r gweision eto'n gwa'dd:
Haleluwia. E. PA.

## 336 (865) *Yr un testyn.*

7. 4.—Dychweliad.

1 AFRADLONIAID, at eich Tad
Deuwch, deuwch;
Fe rŷdd i chwi bardwn rhâd;
O dychwelwch!
Dowch, gofynwch am eich hedd,
Gan gyfaddef;
Cewch y fodrwy, cewch y wledd;
Deuwch adref. R. E.

## 337 (77) *Hyfrydwch y Sabbath, a'i waith.*

M. H.—Angels' Hymn. Emyn Foreuol.

1 GWAITH hyfryd iawn a melus yw
Moliannu D'enw Di, O Dduw!
Sôn am Dy gariad foreu glâs,
A'r nôs am wirioneddau'th râs.

2 Mor felus yw y Sabbath llon,
Na flined gofal byd mo'm bron,
O! na b'ai 'nghalon i mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr ŵyl.

3 Yn Nuw fy nghalon lawenhâ;
Bendithio'i air a'i waith a wna;
Mor hardd yw gwaith Dy râs, O Dduw!
A'th gyngor, pa mor ddyfned yw! DR. W., *c.* D. J.

## 338 (76) *Gorphwysfa 'r Sabbath.*

M. H.—Ombersley. Angels' Hymn.

1 Y SABBATH, gŵyl nefolaidd yw,
Ar hwn cyfododd Iesu'n fyw:
Clodforwn ninnau Frenin hedd
Mae wedi perarogli'r bedd.

2 O f'enaid! nac anghofia'r dydd
Y daeth y Meichiau mawr yn rhydd;
Agorwyd ini byrth y nef
Trwy rîn Ei fuddugoliaeth Ef.

3 Mor hyfryd cael un dydd o'r saith
I'w dreulio'n hollol gyda'th waith;
Gorphwysfa dawel, f'enaid trist,
A gwledd, yw cofio angeu Crist.

4 Gwaith rhyfedd oedd creu nef a llawr,
A threfnu'r grëadigaeth fawr;
Ond gwaith rhyfeddaf Duw Ei Hun
Oedd gorphen iachawdwriaeth dyn.

5 Y mae gorphwysfa'n ol i'r saint,
Mewn gwlad o hedd, O! ryfedd fraint!
Lle cânt fwynhau, heb gur na phoen,
Dragwyddol Sabbath gyda'r Oen. P. J.

## 339 (82) *Y Sabbath yn ernes o'r nef*

M. H.—Boston. Ernan.

1 BLINEDIG gan ofidiau'r llawr,
Lluddedig a methedig bron,
O! mor gysurol ydyw gwawr,
Hyfrydol wawr y Sabbath llon.

2 Rhyw lewyrch trwy'r cymylau du,
Rhyw seibiant bach rhag llîd y dòn,
A golwg ar fynyddau cu
Y Ganaan draw, yw'r Sabbath llon.

3 Ffoed holl drafferthion daear lawr,
Ei hing a'i gofal, cilient draw;
Na foed o fewn fy mron yn awr
Ond gofal am y byd a ddaw.

4 Câf orphwys heddyw oddi wrth fy nghur,
A gwledda ar ddanteithion nen,
Fel ernes o'r dedwyddwch pur
A gaiff y llu tu draw i'r llèn.

5 Câf dd'od i gynnulleidfa'r saint,
Ar Seion fryn—rhyfeddol fri!
Nes sŷnu bron uwch ben fy mraint,
Pa le y daeth fath râd i mi. T. JS.

## 340 (240) *Y Sabbath yn fendith.*

M. S.—Gwilym. Paradwys.

1 CYDUNWN, bawb, i foli Duw—
Ei wyneb heddyw ceisiwn;
Cydwleddwn gyda 'i anwyl blant,
A'i foliant byth datganwn.

2 Hwn ydyw'r dydd a wnaeth ein Duw,
A gwerthfawr ydyw 'r oriau;
De'wn ger Ei fron â llawen fryd,
Gan barchu 'r hyfryd foreu.

3 Sancteiddiodd Duw y seithfed dydd,
I ni gael budd ysbrydol:
Gwybodaeth gawn o'i gyfraith lân,
A gwir ddiddanwch nefol.

4 Y sawl a ddelo, dedwydd yw,
I deml Duw 'n gyfannedd;

Mae un dydd yma 'n llawer gwell
  Na mil yn mhabell gwagedd.

5 Cawn yma bob dymunol ddawn,
  Cawn Dduw yn llawn trugaredd ;
A'i Ysbryd i'n cryfhau bob pryd,
  Yn fwy-fwy hyd y diwedd. B. F., *ar. Cas.* WES.

## 341 (343) *Adgyfodiad Crist.*

M. C.—Blackbourne. St. Nicholas.

1 HWN ydyw 'r dydd y c'ododd Crist,
  Gan ddryllio pyrth y bedd ;
O cyfod, f' enaid !—na fydd drist—
  I edrych ar Ei wedd.

2 Cyfodi wnaeth i'n cyfiawnhau—
  Boddlonodd ddeddf y nef ;
Er maint ein plâ, cawn lawenhau—
  Mae 'n bywyd ynddo Ef.

3 Gorchfygodd angeu trwy Ei nerth,
  Ysbeiliodd uffern gref ;
Ac annherfynol ydyw 'r gwerth
  Gaed yn Ei angeu Ef.

4 Esgynodd mewn gogoniant llawn
  Goruwch y nefoedd fry ;
Ac yno mae, ar sail Ei Iawn,
  Yn eiriol drosom ni.

5 Os gofyn pur gyfiawnder nef
  Am fywyd euog ddyn,
Fe ddengys Iesu drosto ef
  Ei werthfawr waed Ei Hun.

6 Pob gallu llawn, trwy 'r byd a'r nef,
  Sydd yn Ei law yn awr ;
Ni rwystra gallu uffern gref
  Ddibenion Iesu mawr ! R. O.

## 342 (404) *Tyrfa yn y tŷ.*

7. 6.—Syria. Rutherford.

1 GWEL'D tyrfa yn addoli
  Yr Arglwydd yn Ei dŷ,
Yw 'r olwg fwyaf hyfryd
  O dàn y nefoedd sy ;

Cydganu wnant yn gysson,
A chyd-weddïo Duw,
A dysgu rhodio 'r llwybr
I fyned ato i fyw.

2 Ac yno bûm yn fynych,
Ac eto âf yn llon ;
Can's yno, yn fy ngolwg,
Mae nefoedd fechan, bron :
'D oes fwyniant dàn yr wybren,
Nac un difyrwch, fydd
Yn ddigon i fy attal
'Fwynhau y sanctaidd ddydd. DR. W., *c.* D. CS.

---

## 5.—*BEDYDD.*

### 343 (246) *Iesu Grist, a phlant.*

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 NESEWCH, chwi belledigion byd,
A'ch plant ynghyd, at Iesu !
Yr Hwn fu 'n gwisgo 'r goron ddrain
Sy'n galw 'r rhai 'n i nesu.

2 Mae yn Ei aberth Ef, a'i waed,
Gyfiawnder rhâd i'r truan ;
Ac am Ei râs boed mawl a bri—
Mae modd i olchi 'r aflan.

3 Bendithiodd Iesu blant cyn hyn—
Yn awr fe fŷn eu harddel :
Pwy luddias ddwfr i gofio 'n wiw,
Nad ydyw am eu gadael. R. J.

### 344 (186) *Bedydd yn dyst.*

M. S.—Sabbath. Dyfrdwy.

1 RHO'IST in' Dy ordinhadau, Iôr !
Yn wystlon trysor nefol ;
Rho ini, o'th gyfammod hedd,
Fwynhau eu sylwedd grasol.

2 Mae bedydd dwfr yn dyst i ni,
Aeth i drueni halog,
Fod Tri yn Un, JEHOFAH glân,
Yn golchi 'r aflan euog.

3 Os aeth Tri Pherson dwyfol, pur,
I olchi anmhur ddynion,
Ceir gwel'd myrddiynau wedi 'r gwaith
Yn gànaid berffaith wỳnion. T. J.

## 345 (309) *Ffynnon wedi ei hagor.*

M. C.—Bedford. Ballerma.

1 MAE ffynnon hyfryd lawn o waed,
A redodd ar y bryn ;
Y pechaduriaid dua' gaed
A olchir ynddi'n wỳn,

2 Bu'r lleidr aflan un prydnawn
Yn edrych arni'n llon ;
A minnau olchir, sydd yn llawn
Mor frwnt ag ef, yn hon. COWPER, *C.* D. C.

## 346 (486) *Ffynnon i bechod ac aflendid.*

6. 6. 8.—Eilian. Abberton.

1 AGORWYD ar y bryn
Ryw ffynnon râd cyn hyn,
A'm gylch yn wỳn o'm pen i'm traed,
Mae'n golchi'r dua'i liw
Mor wỳn a'r eira gwiw ;
Rhinweddol yw y dwyfol waed.

2 Y ffynnon loyw hyn,
A darddodd ar y bryn,
Yn ffrydiau o anfeidrol hedd ;
Rhyw fôr o gariad yw
Dy heddwch Di, fy Nuw,
A nef y nef yw gwel'd Dy wedd.

3 Mi wnaf fy nghartref mwy
Dàn gysgod marwol glwy' ;
'D oes noddfa arall dàn y nef,
Na màn i gael glanhâd,
Ond yn y ffynnon râd
O ddŵr a gwaed o'i ystlys Ef. G. I.

## 347 (773) *Ffynnon y dyfroedd byw.*

8. 7. 4.—Sicily. Alma.

1 HEDDYW'r ffynnon a agorwyd,
Ddisglaer fel y grisial clir ;

Y mae'n llanw ac yn llifo
Dros wastadedd Salem dir:
Bro a bryniau
A gaiff brofi rhîn y dŵr.

2 Y mae rhinwedd grâs y nefoedd
O dragwyddol faith barhâd;
Nid oes darfod ddim ar effaith
Perffaith haeddiant dwyfol waed;
Ac er golchi,
Dŵr heb lwydo, dŵr heb drai.

3 Minnau ddôf i'r ffynnon loyw
Darddodd allan ar y bryn,
Ac mi olcha'm henaid euog
Gànwaith yn y dyfroedd hyn;
Myrdd o feiau
Dafla'i lawr i rym y dŵr.

4 Dyma'r fàn y caiff fy nwydau
Gwyllt, cynddeiriog, hyfryd friw;
Dyma'r fàn câf goncro natur,
A'i gwrthrychau o bob rhyw;
Câf deyrnasu
Ar bob eilun têg ei lun.

5 O! dirwynwch, oriau, i fyny,
A gadewch im' wel'd y dydd
Pan y tòrir fy nghadwynau,
A châf rodio'n berffaith rydd:
Ysbryd caethwas
Wedi troi yn ysbryd hedd. W.

## 348 (748) *Yr un testyn.*

8. 7. 4.—St. Garmon. Caersalem.

1 DACW'r ffynnon i'w dymuno
Fywiol sy'n yr anial dir;
Dacw'r unig ddŵr sy'n rhoddi
Hedd ac anfarwoldeb clir:
Ar Galfaria
Tardd yr afon loyw i maes.

2 Yno'r âf i 'mofyn pleser—
Unig bleser i barhau;

Yno câf fi lawn faddeuant
Am bob trosedd, a phob bai ;
Yno'n unig
Câf g'wilyddio o honof f'hun.

3 Iachawdwriaeth râd ei hunan
Yw fy mhlê o flaen y nef ;
A ffarwèl am danaf fythol
Oni châf Ei haeddiant Ef ;
Iesu Ei Hunan,
Oll o flaen y fainc i mi. W.

## 349 (870) *Ffynnon i bechod ac aflendid.*

7. 4.—Aberafon. Llanfair.

1 CANED nef a daear lawr,
Fe gaed ffynnon,
I olchi pechaduriaid mawr
Yn glaer wỳnion ;
Yn y ffynnon gyda hwy
Minnau ymolchaf :
Ac mi ganaf fyth tra b'wy'
Haleluwia !

2 Dyma'r dŵr, a dyma'r gwaed,
Redodd allan ;
Ac o'i ystlys sanctaidd gaed
I olchi'r aflan ;
Hon yw'r ffynnon sy'n glanhau
Yr aflanaf ;
Yn dragywydd mae'n parhau :—
Haleluwia ! E. PA.

## 350 (903, 906) *Dyfroedd yr iachawdwriaeth.*

9. 8.—Capel Newydd. Elliot.

1 O ! ARWAIN fy enaid i'r dyfroedd,
Y dyfroedd sy'n afon mor bur,
Y dyfroedd a dòrant fy syched,
Er trymed fy nolur a'm cur :
Y dyfroedd tragwyddol eu tarddiad,
Y dyfroedd sy heb waelod na thrai
Y dyfroedd a olchant fy enaid,
Er dued, er amled fy mai.

2 Da iawn i bechadur fod afon
  A ylch yr aflanaf yn wŷn ;
Hi darddodd o'r nefoedd yn gysson,
  Hi ffrydiodd ar Galfari fryn ;
Hi lifodd i'r anial Cenhedlig,
  Hi olchodd fil miloedd yn lân ;
Hi ylch ei miliynau'n llwyr gànaid
  Cyn rhoddi llawr daear ar dân. T. J.

## 351 (924) *Ffynnon i bechod ac aflendid.*

8au 8ll.—Salome. Cleveland.

1 CAED ffynnon o ddŵr ac o waed,
  I olchi rhai duon eu lliw ;
Ei ffrydiau a redodd yn rhâd
  I'r ardal lle'r oeddwn yn byw :
Er cymmaint o rwystrau ga'dd hon,
  Grym arfaeth a'i gỳrodd yn mlaen,
I olchi tŷ Dafydd o'r bron,
  Jerusalem hefyd ddaw'n lân. T. L.

## 352 (938) *Ffynnon Calfaria.*

5. 5. 8.—Hungerford. Cefnbedd Llewelyn.

1 AR groesbren, brydnawn,
  Cyfiawnder ga'dd Iawn,
A'r gyfraith anrhydedd 'r un dydd ;
  Trwy rinwedd y gwaed
  Boddlonwyd y Tad ;
Mae merch yr Amoriad yn rhydd.

2 Ar Galfari fryn
  Agorwyd cyn hyn
Ryw ffynnon ryfeddol ei rhîn ;
  Hi hollol lanhâ
  Aflendid a phlâ,
Hi gàna yr Ethiop yn wŷn.

3 Y gwàn mae'n gryfhau,
  Er cymmaint ei fai,
I sefyll wrth Sinai'n ddi-gryn ;
  Mae'n symmud â'i hedd
  Fraw angeu a'r bedd,
A'u hofnau, heb adael yr un. D. C.

## 353 (4) *Teml yr Arglwydd yn y nef.*

10au.—Freyburg. Clod. Navarre.

1 AGORWYD teml yr Arglwydd yn y nef,
A gwelwyd arch Ei lân gyfammod Ef ;
Holl ryfeddodau Person Crist, a'i waith,
A welir yno i dragwyddoldeb maith.

2 Cyfiawnder Duw sydd yno'n ddisglaer iawn,
A'r gyfraith bur bob iot o honi'n llawn ;
Ond i bechadur, melus yw y sain
Fod trugareddfa hefyd rhwng y rhai'n.

3 Y tanllyd gledd fu'n effro iawn cyn hyn,
Taranau a mellt ofnadwy Sinai fryn,
Sy'n awr yn dawel yn yr Arch ddi-lŷth,
Y gair " Gorphenwyd " a'u tawelodd byth.

4 Mae'r Archoffeiriad yn taenellu'r gwaed,
Mewn gwisgoedd sanctaidd, llaesion, hyd Ei draed,
O fewn y llèn, sancteiddiaf lŷs y nef,
Ac enwau'r llwythau ar Ei ddwyfron Ef.

5 Prïodoliaethau'r nefoedd yn gyttûn
Sydd yno'n gwênu ar golledig ddyn ;
Mae hedd yn awr o'r nef i'r llawr yn lli',
A noddfa gref o fewn y nef i ni.

6 Crist ydyw'r Arch a'r Drugareddfa râd ;
Yn enw Hwn anturiwn at y Tad ;
Fe wrendy gŵyn pechadur heb ei ladd,
Fe gymmer blaid yr enaid isel radd. JS. H.

## 354 (120) *Edrych ar y groes.*

M. H.—Golgotha. Exeter.

1 WRTH edrych, Iesu, ar Dy groes,
A meddwl dyfnder D'angeu loes,
Pryd hyn 'r wyf yn dibrisio'r byd,
A'r holl ogoniant sy ynddo i gyd.

2 N'âd fi ymddiried tra f'wyf byw,
Ond yn Dy angeu Di, fy Nuw ;
Dy boenau a Dy farwol glwy'
Gaiff fod yn ymffrost imi mwy.

3 Myfi aberthaf i Dy glôd
Bob eilun sydd o dàn y rhôd;
Ac wrth fyfyrio ar Dy waed,
Fe gwymp pob delw dàn fy nhraed.

4 Gwelwch yn nwylaw 'Mhrynwr pur
Ac yn Ei draed Ef hoelion dur;
Edrychwch ar y waew-ffon
Yn tòri'r archoll dàn Ei fron!

5 Dyma lle'r ydoedd ar brydnawn
Rasusau yn disgleirio'n llawn:
Mil o rinweddau yn gyttûn
Yn prynu'r gwrthgiliedig ddyn.

6 Poen a llawenydd dàn y loes,
Tristwch a chariad ar y groes;
P'le bu rhinweddau fel y rhai'n
Erioed o'r blaen dàn goron ddrain? W.

## 355 (84) *Cyfiawnder Crist.*

M. H.—Melancthon. Whitburn.

1 NI fedd angylion, er eu bri,
Na neb o'r holl seraphiaid fry,
Na holl alluoedd maith y nef,
Un haeddiant fel Ei haeddiant Ef.

2 Os daw y gyfraith yn ei grym,
A gofyn am berffeithrwydd im',
'D oes geny' ond dangos angeu loes,
A'r gwaed yn llifo ar y groes.

3 Fy haeddiant mawr yn nghanol ne',
Yw Iesu'n Feichiau yn fy lle;
A'i boenau Ef yn unig sydd
Yn gwneyd yr orsedd wèn yn rhydd.

4 Mae ynddo hefyd allu mawr
I gael fy meiau mwya'i lawr;
Ei holl ddoethineb Ef, a'i râs,
O rwydau'r ddraig a'm tỳn i maes. W.

## 356 (171) "*A ddioddefodd y groes.*"

8. 8. 6.—Sion. Croeshoeliad.

1 AI Iesu mawr, Ffrynd dynol-ryw,
Wy'n weled fry â'i gnawd yn friw,
A'i waed yn lliwio'r lle;

Fel gŵr di-brîs yn rhwym ar bren,
A'r gwaed yn dorthau ar Ei ben?
Ië, f'enaid, dyma 'Fe.

2 Ai 'm hanwyl Brïod welaf draw,
A hoelion llymion trwy bob llaw,
A'u pwyo'n drwm i dre',
A bàr o ddur trwy'i dirion draed,
Ac Yntau'n marw yn Ei waed?
Ië, f'enaid, dyma 'Fe.

3 Ai Ef fu'n maddeu idd Ei gâs,
A'i waed yn llif o'i glwyfau i maes,
Nes agor drws y ne',
Rho'i 'i ben tua'r llawr gan boenau llym,
Yn wirion, deg, heb yngan dim?
Ië, f'enaid, dyma 'Fe. GODWIN, *c.* W.

## 357 (172) *Dioddefaint Crist.*

8. 8. 6.—Sion. Croeshoeliad.

1 Y DDAEAR fud ro'i meirw'n fyw,
A'r creigydd fry a holltai'n friw,
Wrth wel'd y Crëwr pur;
Yr haul ymguddiai wrth y loes,
Y lloer a'r sêr âi'n dywell nôs:
O! f'enaid, cofia'i gur.

2 Mi glywa'i lef pan chwerwa'i loes,
A'i ddwysaf gri Ef ar y groes,
Am faddeu imi'n wir;
Ei weddi troswyf âi uwch nen,
A mi'n Ei hoelio ar y pren:
O! f'enaid, cofia'i gur.

3 Dros f'enaid i bu'r addfwyn Oen,
Fel hyn, yn dioddef dirfawr boen,
I'm gwneyd yn rhydd yn wir:
'R oedd yn Ei fryd orphenu'r gwaith
O eithaf tragwyddoldeb maith:
O! f'enaid, cofia'i gur. G. HERBERT.—*Ef.* W.

## 358 (164) *Aros wrth y groes.*

8. 8. 6.—Llanelli. Howden.

1 CALFARIA fryn! mae f' enaid prudd
Yn teimlo 'i rwymau 'n myn'd yn rhydd,
Wrth gofio 'r chwerw loes:
Nid oes a'm lleinw 'n berffaith lawn,
Ond cael mwynhau o felus iawn
Fendithion angeu 'r groes!

2 Nid oes a ylch fy enaid du,
Ond afon waedlyd Calfari,
Yn lân fel eira gwŷn;
Nid oes a'm nertha ar fy nhaith,
Dros riwiau serth, ac anial maith,
Ond croes Calfaria fryn!

3 O! na chawn bellach dreulio f' oes
Mewn myfyr sanctaidd wrth y groes,
Ar ben Calfaria fryn!
Yn mhen rhyw oesoedd maith di-ri',
Fy nghân fydd angeu Calfari,
A'r rhyfedd goncwest hyn! J. P.

## 359 (224) *Clodforedd am y gwaed.*

M. S.—Cemmaes. Dyfroedd Siloah.

1 MAE'r gwaed a redodd ar y groes
O oes i oes i'w gofio;
Rhy fŷr yw tragwyddoldeb llawn
I dd'weyd yn iawn am dano.

2 Prif destyn holl ganiadau'r nef
Yw, "Iddo Ef," a'i haeddiant;
A dyna sain telynau glân
Ar uchaf gân gogoniant.

3 Mae hynod rinwedd gwaed yr Oen,
A'i boen wrth achub enaid,
Yn seinio'n uwch ar dannau'r nef
Na hyfryd lef seraphiaid.

4 'Mhen oesoedd rif y tywod mân
Ni bydd y gân ond dechreu;
Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud
A ddaw o hyd i'r goleu.

5 Ni thraethir maint anfeidrol werth
Ei aberth yn dragywydd :
Er treulio myrdd o oesoedd glân,
Ni bydd y gân ond newydd. R. W.

## 360 (353) *Gobaith trwy'r gwaed.*

M. C.—Ludwig. Claudius Ptolemeus.

1 WEL, dyma'r eiddil, dyma'r gwàn,
Yn griddfan wrth Dy draed,
Tu hwnt pob gobaith i gael byw
Ond trwy Dy ddwyfol waed.

2 Rhifedi 'meiau sydd dros ben
Pob haeddiant oll o ddyn ;
Ac nid oes genyf noddfa im',
Ond haeddiant Duw Ei Hun.

3 Mor anobeithiol yw fy mriw,
'D ä'i 'mofyn meddyg mwy
Ond ato Ei Hunan ar y pren
Ddioddefodd farwol glwy'.

4 Am iddo yno grymu Ei ben,
A marw ar y groes,
Mwy na rhifedi beiau'r byd
Yw haeddiant dwyfol loes.

5 Wel, dyma'r unig fàn y mae,
Os oes, im' gael iachâd ;
Ac yma credaf, os câf rym,
Mewn dynol ddwyfol waed ;

6 Ac yna gwnaed y ddaear fawr
Ei gwaethaf, foreu a nawn ;
O fewn fy noddfa sanctaidd, bur,
Y byddaf ddedwydd iawn. W.

## 361 (362) *Gwaed y groes yn maeddu gelynion.*

2. 8.—Aberdeen. Llangors.

1 NID oes,
Ni fu, ni ddaw, mewn unrhyw oes,
O gymmaint gwerth a gwaed y groes,
Y ddwyfol loes ddioddefodd Ef ;
O ! gariad mawr, diderfyn stôr,
Sydd fel y môr mewn dwyfol lef.

2 Af trwy
Fy nhemtasiynau aml mwy
Dàn aden cariad dwyfol glwy',
Fe'u maeddaf hwy'n Ei goncwest Ef;
A'i allu yw fy noddfa glŷd
Nes myn'd o'r byd i ganol nef.

3 Erioed,
Mae'n dàl y rhai sydd dàn Ei nôd,
Na lithro mymryn byth o'u troed,
Heb iddynt dd'od ar frŷs yn ôl;
Ei Ysbryd sy'n eu cadw'n glŷd,
Mewn dyrys fyd, o fewn Ei gôl. W.

## 362 (371) *Gwaed y groes yn nerth mewn gorthrymder.*

2. 8.—Bethesda. Dorcas.

1 NID oes,
Trwy gydol dyddiau bŷr fy oes,
Yn gyfan imi ond y groes,
Rhyw chwerw loes o foreu i nawn;
Ond os Dy allu a'm deil i'r làn,
Câf yn y màn orchfygu'n llawn.

2 O! pwy
Ymguddiodd yn Dy ddwyfol glwy',
Ac yno fethodd dòri trwy
Gystuddiau fwy na gwellt y maes?
Mae'r fuddugoliaeth fawr yn d'od,
Hyd heddyw erioed, oddi wrth Dy râs.

3 Nid oes
A ddeil fy ysbryd dàn bob croes
Ond dwyfol, nefol, farwol loes;
Estyniad f'oes yw Ei fwynhau:
'D oes arall gysur mewn un màn;
'Fe yw fy rhàn byth i barhau.

4 'D oes drai,
Nac eisieu dim, y màn y mae,
Mae'n llenwi'r cyfan yn ddi-lai;
Pawb, O! na baent yn gwel'd Ei wedd,
Sychedent am Ei wir fwynhau
Mewn gwledd ddi-drai a bythol hedd. W.

## 363 (372) *Gweddi am gymhwysiad o waed y groes.*

2. 8.—Tydfil. Dorcas.

1 O! TYN
Y gorchudd yn y mynydd hyn ;
Llewyrched haul cyfiawnder gwỳn,
O ben y bryn bu'r addfwyn Oen
Yn dioddef dàn yr hoelion dur,
O gariad pur i mi mewn poen.

2 Pa le
Y gwnaf fy noddfa dàn y nef,
Ond yn Ei glwyfau anwyl Ef?
Y bicell gref aeth dàn Ei fron
Agorodd ffynnon i'm glanhau ;
'R wy'n llawenhau fod lle yn hon.

3 Oes, oes,
Mae rhîn a grym yn ngwaed y groes
I lwyr lanhau holl feiau f'oes ;
Ei ddwyfol loes a'i ddyfal lef,
Mewn gweddi drosof at y Tad,
Yw fy rhyddhâd, a'm hawl i'r nef.

4 Golch fi
Oddi wrth fy meiau aml eu rhi',
Yn afon waedlyd Calfari,
Sydd heddyw'n lli' o haeddiant llawn ;
Dim trai ni welir arni mwy ;
Hi bery'n hwy na boreu a nawn. H. J.

## 364 (366) *Rhinweddau grâs Crist.*

2. 8.—Glan'rafon. Braint.

1 GRÂS, grâs,
Yn gefnllif grymus ddaeth i maes,
Grisialaidd afon loyw, lâs,
Rhinweddol flâs i'r euog rai ;
Lle i bechaduriaid yma gaed,
I'w cànu'n rhâd oddi wrth bob bai.

2 I'r làn,
Os bydd in' dd'od o'r anial fàn,
Bydd hyfryd seinio yn y màn ;

Pawb yn Ei ràn yn moli'r Oen,
Mewn melus anthem, newydd iaith,
Ar ben y daith, heb friw na phoen.

3 Gwych sain
Fydd eto am y goron ddrain,
Yr hoelion llym, a'r bicell fain ;
Wrth gofio 'rhai'n caiff uffern glwy' ;
Cadwynau tŷnion aeth yn rhydd ;
Fe gaed y dydd, Hosanna mwy. J. R.

## 365 (391) *Effeithiau marwolaeth y groes.*

7. 6. D.—Manheim. Mount Street.

1 PWY ddyry im' falm o Gilead,
Maddeuant pur a hedd,
Nes gwneyd i'm hysbryd edrych
Yn ëon ar y bedd ;
A dianc ar wasgfeuon
Euogrwydd creulon, cry' ?
'D oes neb ond Ef a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari.

2 Yr hoelion geirwon, celyd,
Gynt a'i trywanodd E',
Sy'n awr yn dàl y nefoedd
Gwmpasog yn ei lle :
Mae gobaith meibion dynion
Yn llifo i maes ynghyd
Oddi wrth yr awr trywanwyd
Creawdwr mawr y byd.

3 Pe unwaith y darfyddai
Awdurdod Calfari,
Darfyddai pob cysuron
Ar unwaith genyf fi ;
O bawb, yn sicr, byddwn
Y truenusaf ddyn ;
Fe'm llyncai'r bedd dychrynllyd
Yn fuan iddo'i hun. W.

## 366 (392) RHAN II.

7. 6. D.—Manheim. Mount Street

1 ANFEIDROL, fyth anfeidrol,
Drugaredd faith y nef,

Parhâd yr holl greadigaeth
Sy'n gorphwys arno Ef·
Griddfanau pen Calfaria,
"Lama sabachthani,"
Yw'r perlau mwyaf gwerthfawr
A fedd ein daear ni.

2 Y baich oedd annioddefol
I'r cryfa' o ddynolryw,
Orweddodd yn ofnadwy
Ar ysgwydd gref fy Nuw;
Cyfiawnder oedd yn gofyn
Am bechod, heb nacâd,
Y swm anfeidrol dalwyd
Trwy eithaf chwŷs a gwaed

3 Y mynydd mawr anfeidrol
Gymmerodd Ef i gyd
Oddi ar ysgwyddau gweinion
Yr euog, aflan fyd;
Pan welodd y greadigaeth
I fod y baich mor fawr,
Fe guddiodd nef ei hwyneb,
Fe grynodd yntau'r llawr. —W.

## 367 (426) *Gwerth gwaed Crist.*

7. 6. D.—Abertawe.

1 PE buasai fil o fydoedd
Yn cael eu prynu 'nghyd,
Â'r cyfryw brîs, buasent
Yn llawer iawn rhy ddrud:
'D oes angel fyth, na seraph,
Na cherub o un rhyw,
I'r filfed ran all dd'wedyd
Mor werthfawr gwaed fy Nuw.

2 Mae tân o fewn i fynwes
Myrddiynau pur y nef,
Rhyw newydd fflam wrth feddwl
Am werth Ei angeu Ef,
Yn attal eu caniadau
Wrth sŷnu oll yn un,

I wel'd eu Duw yn dioddef
  A marw yn natur dyn.

3 O! na allwn innau'r awrhon
  Ehedeg 'fyny fry,
A dysgu rhyw ganiadau
  Sydd gan y nefol lu,
Fel byddai cydsain hyfryd
  Rhwng dae'r a nef yn un;
Caniadau anfeidroldeb
  Marwolaeth Duw yn ddyn.

4 Am angeu'r groes bydd canu
  I dragwyddoldeb maith;
Ond im' gael teimlo'i rinwedd,
  'R wyf bron ar ben fy nhaith;
Fy nefoedd yw ei deimlo,
  A'i deimlo'n union sydd
Yn troi pob rhyw dywyllwch
  O'm mewn yn oleu ddydd. W.

## 368 (393) *Effeithiau marwolaeth y groes.*

7. 6. D.—Manheim. Mount Street.

1 GWELL ganddo na halogi
  Cyfiawnder pur y Tad,
Oedd lliwio'r croesbren garw
  Fel 'sgarlad yn Ei waed:
Y gwaith oedd yn fwy rhyfedd,
  A'r gwaith oedd yn fwy drud,
Nag i gyfiawnder ddïal,
  I faddeu beiau'r byd.

2 P'un mwy wnaf ai ffieiddio
  Neu fostio 'mhechod câs,
A dynodd y fath ddïal,
  Ennynodd y fath râs?
Cyfiawnder di-drugaredd,
  A chariad di-nacâd,
Sydd yn cofleidio'r euog
  Yn llawen yn y gwaed.

3 Cyfiawnder amddiffynwyd
  A chariad yn Ei glwy';

A rhagor nag amddiffyn,
'N awr fe'u dyrchafwyd hwy ;
O ! weithred o ryfeddod !
Dirgelwch mawr ei hun ;
'D oedd arall neb allasai
Ei ffeindio ond Duw Ei Hun. W.

## 369 (394) RHAN II.

7. 6. D.—Manheim. Mount Street.

1 MAE'r fath feddyliau mawrion
Yn c'odi'm hysbryd gwàn
Oddi ar bob peth crëedig
Yn uchel iawn i'r làn ;
Gan brisio aur ac arian,
Y perlau mwyaf drud,
Ger bron cyfiawnder dwyfol
Yn sorod gwael i gyd.

2 'N ol edrych ar ol edrych,
O gwmpas imi mae
Rhyw fyrdd o ryfeddodau
Newyddion yn parhau ;
Pan b'wy'n rhyfeddu un peth,
Un arall ddaw i'm bryd ;
O ! iachawdwriaeth rasol,
Rhyfeddol wyt i gyd.

3 Bendithion ar fendithion,
Trysorau angeu loes—
Grawnsypiau mawrion addfed
Yn hongian ar y groes,
Sydd yn cwmpasu'm henaid,
Rhinweddau mawr eu grym ;
A minnau yn eu canol
Heb allu d'wedyd dim.

4 Mi welaf yn Ei fywyd
Y ffordd i'r nefoedd fry ;
Ac yn Ei angeu'r taliad
A roddwyd trosof fi ;
Yn Ei esgyniad gwelaf
Drigfanau pur y nef,

A'r wledd dragwyddol berffaith
  Gâf yno gydag Ef. W.

## 370 (434) *Côf am Gethsemane.*

7. 6. D.—Jabez. Llydaw.

1 CÔF am y cyfiawn Iesu,
  Y Person mwyaf hardd,
A'r noswaith drom anesmwyth
  Bu'n chwŷsu yn yr ardd:
A'i chwŷs yn ddafnau cochion
  Yn syrthio ar y llawr;
Bydd canu am Ei gariad
  I dragwyddoldeb mawr.

2 Côf am y llu o filwyr
  Â'u gwaywffyn yn d'od
I ddàl yr Oen diniwed
  Na wnaethai gam erioed:
Gwrandewch y geiriau dd'wedodd,
  (Pwy all'sai ond Efe?)
"Gadewch i'r rhai'n fyn'd ymaith,
  Cymmerwch Fi'n eu lle."

3 Côf am y wyneb siriol,
  Y poerwyd arno'n wir;
Côf am y cefn gwerthfawr,
  Lle'r arddwyd cŵysau hir;
O! anwyl Arglwydd Iesu!
  Boed grym Dy gariad pur
I dòri'm calon galed
  Wrth gofio am Dy gur. W. L.

4 Côf am y gwawd a'r dirmyg,
  Y goron ddrain a'r cur;
Côf am y traed a'r dwylaw
  Fu dàn yr hoelion dur;
Côf am y gair "Gorphenwyd"
  Ddolefodd ar y pren;
A'r lloches sy'n Ei angeu
  I'r euog guddio 'i ben. T. LE.

## 371 (407) *Angeu y groes.*

7. 6. D.—Grafenberg. Venite ad Me.

1 O! ENW ardderchocaf
  Yw enw marwol glwy';
Caniadau archangylion
  A fydd fath enw mwy:
Bydd yr anfeidrol ddyfais
  O brynedigaeth dyn,
Gan raddau filoedd yno
  Yn cael ei chanu'n un.

2 Fe ddaeth i wella'r archoll
  Trwy gym'ryd clwyf Ei Hun,
Etifedd nef yn marw
  I wella marwol ddyn:
Yn sugno i maes y gwenwyn
  A r'odd y sarph i ni,
Ac wrth y gwenwyn hwnw
  Yn marw ar Galfari.

3 Deg dryll ar hugain arian,
  Fy Iesu, oedd Dy brîs:
Allasai ddim o'r arfaeth
  Dy werthu'n uwch neu'n îs?
Anfeidrol ddiystyrwch!
  Talasai 'Mhrynwr mawr
Y nefoedd fil o weithiau,
  A mil o weithiau'r llawr.

4 Bechadur! gwel E'n sefyll
  Yn llonydd ar y groes;
Clyw'r griddfan sy yn Ei enaid
  Dàn ddyfnder angeu loes;
O! gwrando ar Ei riddfan!
  Mae pob ochenaid ddrud
Yn ddigon mawr o haeddiant
  Ei hun i brynu byd. W.—TH.

## 372 (408) *Dioddefaint Crist a'i adgyfodiad.*

7. 6.—Grafenberg. Venite ad Me.

1 GWÊL ar y croesbren acw
  Gyfiawnder mawr y ne',

Doethineb, a thrugaredd,
  Yn gorwedd mewn un lle,
A chariad anfesurol,
  Yn awr i gyd yn un,
Fel afon fawr lifeiriol
  Yn rhedeg at y dyn.

2 Cynnefin iawn â dolur,
  Gofidus iawn a fu,
Fel dôi tangnefedd rhyfedd,
  Ac iechyd llawn i ni ;
Fe ddygodd ein doluriau,
  A'n clwyfau bob yr un,
Trwy rym tragwyddol gariad,
  O fewn Ei gorph Ei Hun.

3 Ac yna adgyfododd
  Yn ogoneddus iawn ;
Daeth boreu teg a hyfryd,
  'N ol stormus, ddu, brydnawn :
Y gadwyn fawr a dòrodd
  Ar foreu'r trydydd dydd ;
Fe goncrodd angeu'i hunan :
  O'r carchar daeth yn rhydd.

4 I fyny daeth o Edom,
  Â'i wisg yn goch ei lliw ;
Nis gall'sai un creadur
  Mewn cadwyn gadw Duw :
Fe dòrodd rym yr angeu,
  Agorodd ddrysau'r bedd ;
Palmantodd ffordd o'r ddaear
  Yn awr i ganol hedd. W.—TH.

## 373 (409) *Ffynnon yr iachawdwriaeth.*

7. 6.—Grafenberg. Venite ad Me.

1 MAE'r ffynnon yn agored ;
  De'wch, edifeiriol rai ;
De'wch chwithau, yr un ffunud,
  Sy'n methu edifarhau ;
De'wch, gafodd galon newydd,
  De'wch chwithau na cha'dd un,

I olchi pob budreddi
  Yn haeddiant Mab y dyn.

2 O! Iachawdwriaeth gadarn,
  O! Iachawdwriaeth glir;
Fu dyfais o'i chyffelyb
  Erioed ar fôr na thir:
Mae yma ryw ddirgelion,
  Rhy ddyrys y'nt i ddyn,
Ac nid oes all eu dadrys
  Ond Duwdod mawr Ei Hun.

3 'D oes un peth ennyn gariad
  Yn fflam angerddol gref,
Addewid neu orchymyn,
  Fel Ei ddioddefaint Ef;
Pan rho'dd Ei fywyd drosom:
  'Beth all Ef ballu mwy?
Mae myrdd o drugareddau
  Difesur yn Ei glwy'.

4 O! râs di-drai, di-derfyn,
  Tragwyddol ei barhâd!
Yn nghlwyfau'r Oen fu farw
  Yn unig mae iachâd;
Iachâd oddi wrth euogrwydd,
  Iachâd o ofnau'r bedd;
A chariad wedi ei wreiddio
  Ar sail tragwyddol hedd. W.—TH.

## 374 (462) *Effeithiolrwydd angeu Crist.*

St. Bride. Shawmut.

1 A I am fy meiau i
  Dioddefodd Iesu mawr,
Pan ddaeth yn ngrym Ei gariad Ef
  O entrych nef i lawr?

2 Cyflawnai'r gyfraith bur,
  Cyfiawnder gafodd Iawn;
A'r ddyled fawr, er cymmaint oedd,
  A dalodd Ef yn llawn.

3 Dioddefodd angeu loes,
  Yn ufudd ar y bryn;

A'i waed a ylch yr Ethiop du
Yn lân fel eira gwỳn.

4 Bu'n angeu i'n hangeu ni
Wrth farw ar y pren;
A thrwy Ei waed y dygir llu,
Trwy angeu, i'r nefoedd wèn.

5 Pan grymodd Iesu Ei ben,
Wrth farw yn ein lle,
Agorodd ffordd, pan rwygai'r llèn,
I bur drigfanau'r ne'.

6 Gorchfygodd uffern ddu
Gwnaeth ben y sarph yn friw;
O'r carchar caeth y dygir llu,
Trwy râs, i deulu Duw. J. E.

## 375 (543) *Swper yr Arglwydd.*

6. 6. 4.—Bethel. Weston.

1 MAE heddyw felus wledd
Mewn prawf o hyfryd hedd,
Trwy Grist a'i gur;
'D yw hyn ond c'odiad gwawr,
Caiff plant y cystudd mawr
Iawn wleddoedd uwch y llawr,
Mewn mwyniant pur. T. J.

## 376 (682) *Crist yn dwyn ein beichiau.*

8. 7. D.—Diniweidrwydd.

1 FE ro'w'd arno bwys euogrwydd—
Pwys nas gall'sai ddàl mo ddyn,
Cosp pechodau myrdd o ddynion,
Heb un pechod ynddo'i Hun;
Do, fe'i gwisgwyd â chystuddiau—
Ffrwyth fy meiau, fawr a mân;
Fel cawn innau, wael bechadur,
Aflan, euog, fod yn lân.

2 Ac yn nyfnder grym Ei boenau—
Dàn ergydion angeu loes,
Fe weddïodd am faddeuant—
Maddeu imi ar y groes;

Fe gofleidiodd f'enaid aflan
  Rhwng y ddaear fawr a'r nen ;
Do, fe 'ngharodd ac fe 'nghofiodd
  Dàn yr hoelion ar y pren.

3 O ! anfeidrol berffaith gariad !
  Cariad nas gall dawn na grâs
Dynion, na'r angylion penaf,
  Fyth yn hollol ddodi 'maes ;
Cariad fydd yn sylfaen gadarn
  O bob anthem yn y nef ;
Seintiau ac angylion draphlith
  Ganant am Ei gariad Ef.

4 Ac ni fydd mo dragwyddoldeb
  Ddim yn ormod, er ei hyd,
I ddadguddio hên ddyfnderoedd
  Cariad Iesu 'maes i gyd ;
Holl rinweddau maith Ei glwyfau,
  Poenau'r hoelion meinion llym,
A wna i oesoedd fyned heibio
  Eto heb eu gweled ddim. W.

## 377 (634) *Iesu dàn yr hoelion.*

8. 7. D.—Carmel. Port Penrhyn.

1 O FY enaid ! c'od dy olwg,
  Gwel yn amlwg ben y bryn,
Lle bu Iesu, 'r Cyfaill ffyddlon,
  Dàn yr hoelion dur cyn hyn :
Talodd yno swm dy ddyled
  Â gwerthfawr waed Ei galon friw ;
Yr Oen dïeuog yno'n marw,
  'Finnau'r euog yn cael byw. D. W.

## 378 (677) *Meddyginiaeth y groes.*

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 DEUED pechaduriaid truain
  Yn finteioedd mawr ynghyd,
Doed ynysoedd pell y moroedd
  I gael gwel'd Dy wyneb-pryd ;
Cloffion, deillion, gwywedigion,
  O bob enwau, o bob gradd,

I Galfaria un prydnawn-gwaith
  I wel'd yr Oen sydd wedi Ei ladd.

2 Dacw'r Nefoedd fawr Ei Hunan
  'N awr yn dioddef angeu loes ;
Dacw Obaith yr holl ddaear
  Heddyw'n hongian ar y groes ;
Dacw Noddfa pechaduriaid,
  Dacw'r Meddyg, dacw'r fàn
Câf fi wella'r holl archollion
  Dyfnion sy ar fy enaid gwàn.

3 Dacw'r unig feddyginiaeth
  Gadarn i druenus ddyn ;
Mae pob gobaith wedi darfod
  'Maes o hono Ef Ei Hun :
Trwm a llwythog yw fy meichiau,
  Poen euogrwydd sydd yn fawr ;
Nid oes fàn ond pen Calfaria
  Gallaf ro'i fy mhen i lawr. W.

## 379 (666) *Bendithion y groes.*

8. 7. D.—Scopas. Balducci.

1 DOED y cystuddiedig truan
  Sydd mewn ofn bob yr awr,
Ac edryched ar y croesbren—
  Pwy sy'n hongian arno'n awr !
P'am dychryna 'r euog aflan ?
  Heibio 'r aeth cymylau 'r nen :—
Dyma le i gladdu euogrwydd,
  Yn y beddrod dàn y pren.

2 Yma rhêd yr afon allan,
  Ffrydiau ar ol ffrydiau o hyd,
Gloyw ddŵr di-drai, di-gymmysg,
  Sydd yn golchi beiau 'r byd ;
Dacw 'r ffynnon yn agored—
  Dyma 'r brwnt yn myn'd yn mlaen ;
Dyma'r aflan, dyma 'r euog,
  Wedi ei gànu fel y gwlân.

3 Aed fy enaid mwy yn ddibris
  Rhwng gwrthrychau gwâg y byd,

Heb ddàl sylw ar un gwagedd,
  Heb un pleser fyn'd â'm bryd:
Cerddaf yn fy ngwisgoedd gwỳnion
  Trwy bob d'rysni 'n ddi-nacâd,
Ond i'r golofn dân fy arwain,
  I gynteddoedd tŷ fy Nhad. W.

## 380 (595) *Golwg ar Iesu.*

8. 7. D.—Edinburgh. Sanctus.

1 MI edrychaf ar i fyny,
  Deued t'w'llwch, deued nôs;
Os daw heddwch im' o unlle,
  Daw o haeddiant gwaed y groes;
Dyna 'r màn y gwnaf fy nhrigfan,
  Dyna 'r màn gobeithiaf mwy:
Nid oes iechyd fyth i'm henaid
  Ond mewn dwyfol farwol glwy'.

2 Gobaith f'enaid yw Ei haeddiant,
  Gobaith f'enaid yw Ei rym;
Tlawd, a llesg, a gwàn, ac ynfyd,
  Ydwyf fi heb feddu dim:
Trwodd draw yr wyf yn edrych,
  Dros y bryniau mawrion, pell,
Ac yn disgwyl fy ngorphwysfa
  O gyfiawnder llawer gwell.

3 Nid oes ffynnon wedi ei hagor
  A all olchi 'r euog hyn,
Ond y ffynnon a agorodd
  Cariad ar Galfaria fryn;
Gwaed all dalu 'n llwyr am feiau—
  Gwaed all agor porth y nef:
Ac nid oes foddlona 'r nefoedd
  Ond Ei haeddiant dwyfol Ef. W.

## 381 (628) *Dyfnderoedd iachawdwriaeth.*

8. 7. D.—Dolwar.

1 BYDD melus gofio y cyfammod
  Draw a wnaed gan Dri yn un;
Tragwyddol syllir ar y Person
  A gym'rodd arno natur dyn:

Wrth gyflawni yr ammodau,
  Trist hyd angeu Ei enaid oedd :
Dyma gân y saith ugeinmil
  Tu draw i'r llèn â llawen floedd.

2 Fy enaid trist, wrth gofio'r taliad,
  Yn llàmu o lawenydd sydd ;
Gwel'd y ddeddf yn anrhydeddus,
  A'r pechadur brwnt yn rhydd ;
Rho'i Awdwr bywyd i farwolaeth,
  A chladdu'r Adgyfodiad mawr ;
A dwyn i mewn dragwyddol heddwch
  Rhwng nef y nef a daear lawr.

3 Efe yw'r Iawn fu rhwng y lladron,
  Dioddefodd yno angeu loes ;
Nerthodd freichiau Ei ddïenyddwyr,
  I'w hoelio'n greulon ar y groes ;
Wrth dalu dyled pechaduriaid,
  Ac anrhydeddu deddf Ei Dad,
Cyfiawnder oedd yn hardd ddisgleirio,
  A minnau'n rhydd trwy'r cymmod rhâd.

4 Fy enaid, gwel y fàn gorweddodd
  Pen brenhinoedd, Awdwr hedd ;
Y grëadigaeth ynddo'n symmud,
  Yntau'n farw yn y bedd ;
Rhan a bywyd colledigion,
  Rhyfeddod holl angylion nef ;
Gwel'd Duw mewn cnawd, a'i gyd-addoli,
  Mae'r côr yn gwaeddi, " Iddo Ef." A. G.

## 382 (635) *Sinai a Chalfaria ynghyd.*

8. 7. D.—Carmel. Port Penrhyn.

1 WELE Sinai a Chalfaria
  Heddyw wedi d'od ynghyd,
Sylwedd mawr yr holl gysgodau
  Yn wynebu'r dwyfol lîd ;
Dacw'r cleddyf wedi deffro,
  Llyfrau'r ddeddf yn d'od yn mlaen,
Dacw aur y gwaredigion
  Wedi ei buro yn y tân. G. 2. [T. D. ?]

## 383 (636) *Brwydr Golgotha.*

8. 7. D.—Carmel. Port Penrhyn.

1 DRAW ar gopa bryn Golgotha
Bu'r ymladdfa fwya' erioed ;
Yr Oen heb gleddau, na grym arfau,
'N sathru'r dreigiau dàn Ei droed ;
Ef mewn lludded mawr a syched
Wrth orchfygu uffern lu ;
Eto ffynnon yn Ei galon
I olchi'n wỳn yr Ethiop du. D. D.

## 384 (624) *Teimlad o gariad Crist.*

8. 7. D.—Dolwar.

1 'RWY'n teimlo f'enaid 'n awr yn caru
Yr Oen ogwyddodd droswy'i ben ;
Dywedodd Iesu mawr "Gorphenwyd"
Wrth dalu 'nyled ar y pren :
'R wy'n caru hardd lyth'renau enw
Yr Hwn fu farw yn fy lle :
'D oes gyfaill yn y byd 'r wyf ynddo,
A bery'n ffyddlon fel Efe. M. R.

## 385 (798) *"Arnat, Iesu, boed fy meddwl."*

8. 7. 4.—Ardudwy. Watford.

1 ARNAT, Iesu, boed fy meddwl,
Am Dy gariad boed fy nghân ;
Dyged sŵn Dy ddioddefiadau
Fy serchiadau oll yn lân :
Mae Dy gariad
Uwch y clywodd neb erioed.

2 O ! na chawn ddifyru 'nyddiau
Llwythog, dàn Dy ddwyfol groes,
A phob meddwl wedi ei g'lymu
Wrth Dy Berson ddydd a nôs :
Byw bob munyd
Mewn tangnefedd pur a hedd.

3 Mae rhyw hiraeth ar fy nghalon
Am ddïengu o dwrf y byd,
A gwel'd dyddiau colla'i ngolwg
Ar bob tegan ynddo 'nghyd :—

Cael ymborthi
Fyth ar sylwedd pur y nef. W.

**386** (795) *Crist yn trigo yn y galon.*

8. 7. 4.—Ardudwy. Watford.

1 O! NA b'ai cystuddiau f'Arglwydd
Yn fy nghalon i gael lle—
Pob rhyw loes, a phob rhyw ddolur,
Pob rhyw fflangell gafodd E';
Fel b'ai 'mhechod
Ildio'r dydd a myn'd i maes.

2 Ti Dy Hunan yno'n Frenin,
Ti Dy Hunan yno'n Dduw,
D'eiriau D'Hunan yno'n uchaf—
D'eiriau gwerthfawrocaf ryw:
Ti wnai felly
Bydew du yn deml lân.

3 Yno gwna Dy drigfan hyfryd—
Trigfan croeshoeliedig Oen,
Ac na chilia i maes oddi yno
Tra f'o anadl yn fy ffroen,
Rhag i'm pechod
Ffiaidd geisio d'od yn ôl.

4 O! 'sgrifena'n eglur, eglur,
Mewn llyth'renau llawn i gyd,
Bob rhyw sillaf bach o'th gyfraith
Ar fy mynwes yma 'nghyd,
Fel na anghofiwyf
Fyth Dy eiriau mawr eu prîs.

5 Gwaed 'sgrifenodd ar y croesbren
Gariad nerthol, dwyfol, rhâd;
Ni 'sgrifenir ar fy nghalon
Fyth Dy eiriau ond â gwaed:
Dyma'r 'sgrifen
Bery'n hwy nag pery'r byd. W.

**387** (796) *Cymdeithas â dioddefiadau Crist.*

8. 7. 4.—Watford. Ardudwy.

1 O! NA byddai oriau 'mywyd
Yn ymborthi ar oriau'th boen,

Fel y gallwyf fi gyd-redeg
Â chystuddiau'r addfwyn Oen:
Fe g'ai 'mhechod
Felly'n fuan golli'r dydd.

2 Felly cawn gan f'enaid ddilyn
Ei ofidiau hyfryd Ef,
Fel mae goleu'r dydd yn cadw
Cwmni disglaer haul y nef:
'Chai'm gorddiwes
Gwmwl du na thywell nôs.

3 Fel b'o i'r dorf ddi-rif o feiau
Wybod hyn yn ddi-nacâd—
Yn mha glwyf, ac yn mha ofid,
Yn mha archoll, mae'm hiachâd;
Fel y gallwyf,
Heb hir oedi, fod yn lân. W.

## 388 (897) *Gweddi am gymdeithas â Duw.*

11au.—Schubert. Gorton.

1 O! TYRED, f'Anwylyd, fy Arglwydd yn ddyn,
Preswylia mewn teml a godaist Dy Hun:
Dy lais sy mor beraidd, mor hyfryd Dy wedd,
Dy olwg sy'n concro marwolaeth a'r bedd.

2 Boed côf am y mynydd, boed côf am yr awr,
Daeth ffrydiau o ystlys fy Arglwydd i lawr;
Gwaed wedi ei gymmysgu â dwfr ynghyd,
Mwy gwerthfawr bob dafn o hono na'r byd.

3 Boed imi'n hyfrydwch, o foreu hyd nôs,
I ganu am gariad a choncwest Ei groes—
Gogoniant Ei Berson, rhinweddau pob grâs,
Trwy boenau ofnadwy yn ennill y maes.

4 Gâd imi gael heddwch, y perl sy'n fwy drud
Na meddiant holl India'r gorllewin i gyd;
Mae gradd o dangnefedd fy Iesu mor fawr,
Fe bwysa ei hunan y nefoedd a'r llawr. W.

## 389 (899) *Ymorphwys ar aberth y groes.*

11au.—Schubert. Gorton.

1 FY enaid, ymorphwys ar aberth y groes,
'D oes arall a'th gyfyd o ddyfnder dy loes:

Offrymodd Ei Hunan yn ddifai i Dduw,
Yn haeddiant yr aberth mi gredaf câf fyw.

2 Mae munyd o edrych ar aberth y groes
Yn tawel ddistewi môr tònog fy oes ;
Mae llewyrch Ei wyneb yn dwyn y fath hedd,
Nes diffodd euogrwydd a dychryn y bedd. W. E.

## 390 (912) *Y Cyfammod disigl.*

9. 8.—Bethel. Capel Newydd.

1 Y GŴR a fu gynt o dàn hoelion,
Dros ddyn pechadurus fel fi,
A yfodd y cwpan i'r gwaelod,
Ei Hunan ar ben Calfari ;
Ffynhonell y cariad tragwyddol—
Hên gartre' meddyliau o hedd ;
Dwg finnau i'r unrhyw gyfammod,
Na thòrir gan angeu, na'r bedd ! H. D. H.

## 391 (931) *Cofio y dioddefaint.*

8au. 8ll.—Llangristiolus. Glan Rhondda.

1 WRTH gofio'i riddfanau'n yr ardd,
A'i chwŷs fel defnynau o waed—
Aredig ar gefn oedd mor hardd,
A'i daro â chleddyf Ei Dad—
A'i arwain i Galfari fryn,
A'i hoelio ar groesbren o'i fôdd ;
Pa dafod all dewi am hyn ?
Pa galon mòr galed na thôdd ? T. L.

## 392 (915) *Cyflawnwyd y gyfraith.*

8au. 8ll.—Salome.

1 CYFLAWNWYD y gyfraith i gyd,
Fe ddofwyd ei llîd heb fy lladd,
Cyfiawnder, wrth hir ofyn Iawn,
Ei daliad yn gyflawn a ga'dd :
Cyfiawnder a'r gyfraith sy'n awr
Yn edrych i lawr yn ddi-lîd ;
Mae'r prïodoliaethau mewn hedd
Yn gwaeddi "Trugaredd" i gyd. E. J.

## 393 (932) *Golwg o ben Nebo.*

8au. 8ll.—Llangristiolus. Gardd Gethsemane.

1 DWY aden colomen, pe cawn,
Mi grwydrwn, mi 'hedwn yn mhell ;
I gopa bryn Nebo mi awn,
I weled ardaloedd sydd well :
A'm golwg tu arall i'r dŵr,
Mi dreuliwn fy nyddiau i ben,
Dàn ganu wrth gofio y Gŵr
Fu farw dàn hoelion ar bren. T. W.

## 394 (930) *Wrth Fwrdd yr Arglwydd.*

8au. 8ll.—Trewen. Rhyl.

1 FY Iesu 'r wy'n gweled Dy lun
Yn rhoddi Dy einioes i lawr ;
O ! tyred i'r golwg Dy Hun,
Gâd imi Dy weled yn awr ;
Pan gwelais Di gynt wrth Dy fwrdd,
Dïangfa a ge's ynot Ti ;
Tywyllwch ddïangodd i ffwrdd,
Pob peth oedd yn oleu i mi.

2 Dy angeu a welais yn troi
Yn fywyd tragwyddol i mi ;
F'euogrwydd a'm hofnau yn ffoi
Wrth roddi fy hunan i Ti ;
Dy gariad a'm llanwai â hedd,
Ar dryblith fy mynwes gwnaed trefn ;
Ffynhonell fy ngwynfyd yw'th wedd,
O ! gâd im' Dy weled drachefn !

3 Anianol synwyrau bob rhyw,
Mae hyn yn ddirgelwch i chwi ;
Ffydd newydd-anedig o Dduw
Eglura y cwbl i mi ;—
Try'r bara yn Fara sy'n rho'i
I'm henaid i fywyd o hyd,
Mi ŵn fod ei fwyta yn troi
Fy natur yn fywyd i gyd.

4 Fy ngweddi, O ! f' Arglwydd, erglyw,—
O newydd rho imi Dy Hun ;

Bydd ynof yn gariad at Dduw,
Bydd ynof yn gariad at ddyn ;
Ac yna Dy ddeddf aed yn hwy,—
D' orch'mynion fydd melus a mwyn ;
Nis gall Dy orseddfainc ro'i mwy
Nas dichon i'th gariad eu dwyn. N. C. J.

---

## 7.—*EMYNAU CENHADOL.*

*Pennodau cyfaddas i'w darllen mewn Cyfarfodydd Cenhadol :—*

*Salm* ii., xix., lxxii., c., cxv., cxxii. *Esaiah* ii., xi., xxxv., xl., xlii., xliv., xlix., lii., liii., lv., lx., lxi., lxii., lxv. *Jeremiah* x., xxxi. *Ezeciel* xxxvii. *Daniel* ii. *Micah* iv. *Matthew* xx. *Actau* ii., x. *Rhufeiniaid* x. *Dadguddiad* xx., xxi.

### 395 (69) *Yr addewidion gwell.*

M. H.—Rockingham. Carey.

1 PAN clywo'r Indiaid draw am loes
Creawdwr nefoedd ar y groes,
Rhinweddau hyfryd marwol glwy'
Fydd sylwedd eu caniadau hwy.

2 O ! na foed ardal cyn b'o hir,
O'r dwyrain draw i'r deheu dir,
Na byddo'r iachawdwriaeth ddrud
Yn llanw cŷrau 'rhai'n i gyd.

3 Boed Iesu â'i annherfynol stôr
Yn llanw'r tir, yn llanw'r môr,
Ei ddoniau maith, a'i gariad drud,
Yn sylfaen cysur pawb o'r byd.

4 De'wch, addewidion, de'wch yn awr,
Dihidlwch eich trysorau i lawr ;
Myrddiynau ar fyrddiynau sydd
Yn disgwyl am eich boreu ddydd. W.

### 396 (57) *Undeb Cristionogol.*

M. H.—Kent. Mainzer.

1 DUW, tyr'd a'th saint o dàn y ne',
O eitha'r dwyrain bell i'r de,
I fod yn dlawd, i fod yn un,
Yn ddedwydd ynot Ti Dy Hun.

2 Un llais, un sŵn, un enw pur,
O'r gogledd f'o i'r dwyrain dir,
O fôr i fôr, o gylch y byd,
Sef enw Iesu oll i gyd.

3 Na foed gan un pererin mwy
Ganiadau am ddim ond marwol glwy';
Pan y teyrnasa'i Ysbryd Ef,
Y ddaear dywell dry yn nef.

4 O! tyr'd ar frŷs, Iachawdwr mawr,
Disgyned D'Ysbryd yma i lawr;
Gwna i'r torfeydd a brynodd gwaed
Gyd-gerdded tua'r hyfryd wlad:—

5 Cyd-fyn'd o hyd, dàn ganu 'mlaen,
Cyd-ddioddef yn y dŵr a'r tân,
Cyd-gario'r groes, cyd-lawenhau,
A chyd-gystuddio dàn bob gwae. W.

## 397 (85) *Y byd i Grist.*

M. H.—Melancthon. Hursley.

1 O! NA ddôi dydd yr India i ben
I wel'd yr Hwn fu ar y pren;
A ninnau'n un, yn un â hwy
Yn canu am Ei farwol glwy'.

2 Boed Prydain Fawr yn fflam o dân
O gariad at ei Phrynwr glân;
A holl ynysoedd pella'r byd
Yn boddi mewn caniadau i gyd.

3 Amen, Amen—boed môr a thir
Mewn perffaith hedd, mewn cariad pur,
Heb ganddynt bleser o un rhyw,
Ond caru'n Iesu mawr a'n Duw. W.

## 398 (37) *Teyrnasiad yr Iesu.*

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 YR Iesu a deyrnasa'n grwn
O godiad haul hyd fachlud hwn;
Ei deyrnas ä o fôr i fôr,
Tra fyddo llewyrch haul a lloer.

2 Lle y teyrnaso, bendith fydd ;
Y caeth a naid o'i rwymau'n rhydd,
Y blîn gaiff fythol esmwythâd,
A'r holl rai clwyfus iechyd rhâd.

3 Rho'ed pob creadur, yn ddi-lŷth,
Neillduol barch i'r Brenin byth :
Angylion, molwch Ef uwch ben,
A'r ddaear, d'weded byth, Amen. DR. W., *c.* D. J.

## 399 (72) *Dymuniad am lwyddiant yr efengyl.*

M. H.—Angels' Hymn. Emyn Foreuol.

1 LLWYDD, llwydd i bur efengyl grâs !
O ! profed pawb ei rhîn a'i blâs :
Cyhoedder llawn faddeuant rhâd,
A modd i'r brwnt gael llwyr lanhâd.

2 Chwŷth, udgorn, chwŷth y newydd llon,
Ac aed y sain trwy'r ddaear gron ;
Llanwed yr hyfryd lais bob lle,
Gorllewin, gogledd, dwyrain, de.

3 Ymdaened sôn o gylch y byd
Am angeu'r groes a'r aberth drud ;
Cyfoded gwawr o Galfari,
A doed yr hyfryd Jubili.

4 Bydd pêr Hosanna trwy bob gwlad
I Dduw am iachawdwriaeth râd ;
Moliannu'r Oen fydd tôn pob iaith ;
Clodforir Ef trwy'r ddaear faith. P. J.

## 400 (38) *Dyrchafiad Calfaria.*

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 DYRCHAFA 'r Iôn fryn Calfari
Uwch law y bryniau mwya'u bri ;
Fel gallo holl genhedloedd byd
Gael gwel'd y groes a'r aberth drud.

2 Calfaria fryn—dyrchefir ef
Yn ngolwg pawb o dàn y nef ;
Fe ddaw'r Iuddewon yn gyttûn
I wel'd gogoniant Mab y dyn. W. E.

## 401 (73) *Llwyddiant ar y gwaith.*

M. H.—Angels' Hymn. Ombersley.

1 O ARGLWYDD Dduw! bywhâ Dy waith
Dros holl derfynau'r ddaear faith;
Dros dir a môr disgleiria i maes
Yn nerth Dy anorchfygol râs. B. F.

## 402 (128) *Crist wedi Ei ddyrchafu i'r groes.*

8. 8. 8.—Altorf. Mawl.

1 WEL, f'enaid, cerdd y ffordd yn hy'
Yn union tua Seion fry,
A chadw'th lygad at y nôd;
Calfaria fryn, lle gweli'r groes,
A'r Aberth arni dàn Ei loes;
Rhyfeddod mwya'r nef erioed.

2 Mae'r bryn yn uchel, uchel iawn,
A'r aberth drud yn eglur lawn,
Fel gallo'r dwyrain bell a'r de,
Y dynion lle mae'n dywell nôs,
Er t'w'lled, edrych tua'r groes,
A gweled Ei drywanu E'.

3 Fe all yr Indiaid pellaf gaed
I wel'd yr hoelion yn Ei draed,
A gwel'd Ei ben yn crymu i lawr:
Fe ylch y pelledigion hyn
Yn gànaid fel yr eira gwỳn,
Oddi wrth eu beiau, fach a mawr. W.

## 403 (162) *Cyflawniad yr addewidion.*

8. 8. 8. 6.—Darowain. Llanddewi.

1 DUW! os wyt am ddibenu 'r byd,
Cyflawna 'n gyntaf D' air i gyd—
Dy etholedig galw 'nghyd,
O gwmpas daear fawr;
Aed sain D' Efengyl trwy bob gwlad
A golch fyrddiynau yn Dy waed,
A dyro iddynt wir iachâd—
Ac yna, tyr'd i lawr! W.

## 404 (168) *Y llef ddistaw fain.*

8. 8. 6.—Pembroke. Ravendale.

1 O'R nef fe ddaeth llef ddistaw fain,
Hyfrydaf a phereiddiaf sain,
Trwy barthau'r ddaear gron ;
Ac er distawed yw y llef,
Caiff pawb ei chlywed îs y nef ;
Mae Duw Ei Hun yn hon.

2 Llef radlawn yw, a melus iawn ;
Cyhoeddiad o faddeuant llawn
I'r euog, gwael ei wedd ;
Gwahoddiad i'r anghenus rai
At bob cyflawnder heb ddim trai :
Hon yw efengyl hedd.

3 Mae'n meddalhau'r afrywiog fron ;
Ewyllys dyn ennilla hon,
Heb orthrech, cur, na thrais ;
Hon yw'r newyddion goreu 'rioed :
I Dduw a'r Oen gogoniant boed
Byth am yr hyfryd lais.

4 Aed sain efengyl cyn b'o hir
I'r dwyrain a'r gorllewin dir,
Y gogledd oer, a'r de ;
O ! profed pawb effeithiau hon,
Y byd f'o'n plygu ger ei bron,
A llwydded yn mhob lle. P. J.

## 405 (226) *Mynydd tŷ yr Arglwydd yn ddyrchafedig.*

M. S.—Cemmaes. Dyfroedd Siloah.

1 GORUWCH yr holl fynyddoedd sy
Bydd mynydd tŷ Jehofah,
Yn ddyrchafedig yn ddïau,
Goruwch y bryniau ucha'.

2 Pob cenedl, a phob llwyth, ac iaith,
A brysur ymdaith ato,
Yn fyrdd, yn fyrdd, â llawen floedd,
Fel dyfroedd yn dylifo. J. H.

## 406 (323) *Y genhadaeth.*

M. C.—St. Leonard. St. Peter.

1 CENHADON hedd gânt ddwyn ar frŷs
Efengyl grâs ein Duw
I bob rhyw fàn yn mhellder byd
Lle triga dynol-ryw.

2 Mynegant am y cymmod gwiw
A ddaeth trwy bwrcas drud,
A'r ffynnon hyfryd sy'n glanhau
Aflendid mwya'r byd.

3 Fe lòna'r gwyllt Farbariad gwael,
Fe làma'r Ethiop du,
Wrth glywed am'r anfeidrol Iawn
A ga'w'd ar Galfari.

4 Ein rhoddion mân a ro'wn yn rhwydd,
A'n gweddi dlawd i'r nef,
I gael paganiaid tywyll, pell,
Yn dorf i'w deyrnas Ef. D. C.

## 407 (298) *Dydd yr efengyl.*

M. C.—St. Stephan. French.

1 FY Iesu, Brenin dae'r a nef
Ei Hun yn unig yw,
Trwy bwrcas llawn Ei werthfawr waed,
Iachawdwr dynol-ryw.

2 Mae clywed newydd am Ei waed
Yn llifo ar Galfari,
Yn un o'r pethau mwya'u braint
A fedd ein daear ni.

3 Fe'i câr y Negro tywyll, du,
Yn hyfryd maes o law,
Pan t'wŷno gwawr efengyl grâs
I dir yr India draw.

4 Fe ddaw'r blynyddoedd pur i ben
Pan t'wŷno efengyl grâs,
Fel haul disglaerwyn yn y nef,
Yn gylch i'r ddaear lâs.

5 Ac mi ddisgwylia'r hyfryd awr,
Boreuddydd Jubili,

Pan ddelo holl dylwythau'r byd
I deithio i Galfari. W.

## 408 (334) *Codiad haul o'r uchelder.*

M. C.—St. Agnes. Winchester Old.

1 LLEWYRCHED pur oleuni'r nef
Dros wyneb daear faith ;
Ac aed efengyl gadarn gref
Hyd at bob llwyth ac iaith.

2 Doed deau, gogledd, dwyrain faith,
Gorllewin o un fryd,
I edrych ar brydferthwch gwaith
Iachawdwr mawr y byd. *Cas.* J. R. J.

## 409 (356) *Llwyddiant yr efengyl.*

M. C. D.—Aeron. St. Matthew.

1 AED sŵn efengyl bur ar lêd
Trwy barthau'r byd o'r bron ;
Boed llwyddiant drwy deyrnasoedd crêd
Lle mae pregethiad hon ;
Fel delo miloedd eto i maes
O'r t'w'llwch câs i fyw,
Trwy'r India draw ac Asia frâs,
I ganmol grâs ein Duw.

2 Aed sain yr udgorn arian, mawr,
Yn mlaen trwy'r anial dir ;
A doed y werin gyda'r wawr
I 'mofyn am y gwir :
Helaetha'th babell 'r ochr hyn,
Estyn gortynau i maes ;
O oes i oes, tra par'o'r byd,
Bydd canmol golud grâs.

3 Aed mawl a gweddi'r saint i'r làn
Fel pêr aberthau byw ;
A boed serchiadau Seion wàn
Ar dân yn moli Duw :
Mewn gemwaith aur bydd hon cyn hir,
Heb dristwch, cur, na phoen,
Yn canu am goncwest fawr a gaed,
Trwy werthfawr waed yr Oen. J. WMS.—*Cas.* M. J.

## 410 (373) *Llwyddiant teyrnas Crist.*

2. 8.—Tydfil. Dorcas.

1 EI glôd,
Sydd heb un terfyn iddo'n bôd,
O! aed yn mlaen fwy nag erioed,
O gwmpas rhôd y ddaear fawr,
Nes elo sŵn efengyl bur
I dòri'n glir fyrddiynau i lawr.

2 Mwy, mwy
Yw buddugoliaeth dwyfol glwy',
A'i goncwest helaeth gyrhaedd trwy
Galonau fwy na rhif y gwlith;
Yn nydd Ei nerth, y gwànaf un
Wrth Hwn a lŷn yn ffyddlon byth.

3 Mae, mae
Rhyw hiraeth ynwyf yn parhau
Am wel'd yr amser hyny'n glau—
Y pryd y mae fy Arglwydd rhâd
I dderbyn Ei ogoniant mawr,
Gan nef a llawr, am roddi Ei waed.

4 Yn awr,
Addfwynaf Iesu, tyr'd i lawr,
Helaetha Dy frenhiniaeth fawr;
C'od, ddedwydd wawr iachusol ddydd,
I'r carcharorion fyn'd i maes
O'r pydew câs heb ddwfr sydd. W.

## 411 (367) *Llwyddiant yr efengyl.*

2. 8.—Braint. Glan'rafon.

1 AED, aed
Y newydd am y dwyfol waed,
Nes golchi myrdd o'r duaf gaed,
O'u pen i'w traed, yn hardd a gwŷn;
Fel byddo nef a daear lâs
Yn dadgan grâs Calfaria fryn.

2 Mawr, mawr
Yw grym llewyrchiad nefol wawr;
Trŷ'r nôs yn ddydd ar blant y llawr:

Mae'r goleu'n awr yn nerthol wir,
Ond rhagddo ä hyd hanner dydd ;
Pur oleu fydd mewn nefol dir. T. J.

**412** (375) *Galwad yr efengyl.*
7. 8.—Hosanna. Triumphant.

1 O! LLANWED iachawdwriaeth
Fel môr di-drai yn helaeth ;
A doed ynysoedd pell y byd
I gyd gael meddyginiaeth ;
Mae'r Brenin ar Ei orsedd
Yn cynnyg o'i drugaredd,
I bechaduriaid tlodion, gwael,
Dd'od ato i gael ymgeledd. M. R.

**413** (389) *Y llwythau yn esgyn i'r ŵyl.*
7. 6. D.—St. Marc. Lymington.

1 NI'welwn ben ein siwrnai ;
Aeth miloedd yn y blaen,
Ar hyd prif ffordd y Brenin,
Trwy ganol dŵr a thân ;
Mae adsain yn ein clustiau
O ryw aneirif lu
Yn chware'u haur delynau
O fewn i Seion fry.

2 Mae Salem heb ei llanw,
Mae'n rhaid cael llwythau 'nghyd,
Pob rhyw ac iaith o bobl
O bedwar gwynt y byd ;
Daw tlodion, ac efryddion,
A gwywedigion gwàn,
Finteioedd heb eu rhifo,
I Seion yn y màn. W.

**414** (443) *Galwad effeithiol yr efengyl.*
7. 6. D.—Caerllyngoed. Talybont.

1 O! ARGLWYDD, galw eto
Fyrddiynau ar Dy ôl,
A dryllia'r holl gadwynau
Sy'n dàl eneidiau'n ôl,
A galw hwynt o'r dwyrain,
Gorllewin, gogledd, de,

I'th eglwys yn ddi-attal,
  Mae digon eto o le. D. J.

## 415 (416) *Estroniaid yn dychwelyd.*

7. 6. D.—Talyllyn. Pearsall.

1 DAW miloedd o rai aflan
  I 'mofyn am y gwaed
A lifodd ar Galfaria
  I olchi'r duaf gaed ;
Er cymmaint ag a olchwyd,
  Sydd yn y nef yn awr,
Mae'r ffynnon fel y grisial
  Yn ngwlad y cystudd mawr.

2 Daw caethion duon India,
  Anwariaid gwledydd pell,
I blygu'n llu i Iesu,
  Gan geisio gwlad sydd well ;
A'r dagrau ar eu gruddiau
  Wrth gofio angeu loes,
Gan ddechreu canu'n beraidd
  Am rinwedd gwaed y groes. MOR. J., *ar*. JOS. HAR.

## 416 (405) *Emyn genhadol.*

7. 6.—Syria. Rutherford.

1 O GREENLAND oer, fynyddig,
  O draethau India fawr,
Lle treigla dyfroedd Affrig
  Eu tywod aur i lawr—
O lawer gwlad ddyfradwy,
  O lànau 'r palmwydd gwyrdd,
Erfyniant ein cynnorthwy
  Rhag coelgrefyddau fyrdd.

2 A allwn ni, 'rhai gawsom
  Oleuni oddi fry,
Nacau y llusern hono
  I rai mewn t'w'llwch du ?
Adseinier mwyn beroriaeth
  Yr Iachawdwriaeth râd,
Hyd nes adwaener enw
  'R Messiah trwy bob gwlad.

3 Ewch, wyntoedd, ewch â'r hanes,
A threigla dithau dòn,
Nes llifo hedd fel moroedd
Dros wyneb daear gron ;
Nes byddo'r Oen fu farw,
Dros feiau rif y gwlith,
Yn Frenin a Gwaredwr
Mewn bri'n teyrnasu byth. R. HEBER, *c.* AN.

## 417 (478) *Dydd grâs.*

M. B. D.—Leominster. Kingscroft.

1 AR ddiffrwyth grindir crâs,
Disgynodd grâs ein Duw,
Yn loyw ffrŵd afonydd ddaeth
Mewn anial gwaetha'i ryw ;
Maddeuant rhyfedd rhâd
I'r gwaethaf gaed îs nen—
Yr hwn a gredo yn yr Iawn
Fu un prydnawn ar bren.

2 A doed brenhinoedd byd
Yn unfryd ato Ef,
A rhoddant eu coronau i lawr
O flaen Ei orsedd gref;
Ei enw led-led sydd,
A'i glôd a fydd uwch law
Y cyfan ag sydd yma i gyd,
Ac yn y byd a ddaw.

3 Wel, dyna'r pryd y clywn
Y gair sydd arnom chwant—
"Wel, de'wch i mewn, a de'wch ar frŷs,
Chwi fendigedig blant ;
Meddiennwch drysor rhâd
Bar'tow'd cyn seiliad byd,
Y deyrnas lawn o bob rhyw faeth,
Trwy 'm haeddiant ddaeth i gyd." W.

## 418 (501) *Baner yr efengyl.*

6. 8.—Croft. Normandy.

1 MAE 'r faner fawr yn mlaen,
Efengyl nef yw hon ;

Mae uffern lawn o dân
Yn crynu'n awr o'r bron :
Hi gwymp, hi gwymp, er maint ei grym ;
O flaen fy Iesu 'd yw hi ddim.

2 Fe bwysa hoelion dur,
Fe bwysa coron ddrain
Ar ben Tywysog nef,
Euogrwydd mwya' rhai'n :
Rhyfeddod yw, de'wch, gwelwch hyn,
Y mwyaf du yn fwyaf gwŷn.

3 Caned a welodd wawr
Yn c'odi o'r t'w'llwch du ;
Caned a brofodd flâs
Grawnsypiau'r Ganaan fry ;
Ni ddown, ni ddown, i Seion fryn,
Er maint yr holl anialwch hyn.

4 Na lwfrhaed ein ffydd ;
Mae'n ffydd fel colofn dân
A blànodd Brenin nef
I'n harwain yn y blaen ;
Mi wela'r wlad, mi gâ'i mwynhau,
Lle pery'm hedd heb dranc na thrai.

5 O! ffynnon fawr o hedd,
O! anchwiliadwy fôr,
Sy'n cynnwys ynddo'i hun
Ryw annherfynol stôr;
Ti bïau'r clôd ; wel cymmer ef,
Trwy'r ddàear, uffern fawr, a'r nef. W.

## 419 (557) *Dychweliad yr Iuddewon.*

6. 4.—Dinbych. Llanddowror.

1 O ARGLWYDD! cofia am
Hiliogaeth Abraham,
A dychwel hwy ;
Y gorchudd ymaith tŷn,
O'u hanghrediniaeth mŷn,
Tydi addewaist hyn ;
Nac oeda'n hwy.

2 Duw, dywed, er Dy glôd,
Wrth dir y gogledd, Dôd,
Nac attal, dde:
O! cyfod Di Dy law
Ar y cenhedloedd draw,
A myrdd ar fyrdd a ddaw;
Mae'th fraich yn gre'. J. H.

## 420 (582) *Gwawrddydd yr efengyl.*

8au. 4ll.—Weber. Brancaster.

1 AED efengyl fel y wawrddydd,
Aed i gludo myrdd trwy'r gwledydd;
Eled sain yr udgorn arian
I ddymchwelyd teyrnas Satan.

2 T'wŷned haul ar fyrdd o werin
Sy'n y dwyrain a'r gorllewin;
Sôn am Iesu lanwo'r 'nysoedd
Fel mae'r dŵr yn tôi y moroedd. G. 2.

## 421 (641) *Gwaredigaeth trwy Grist.*

8. 7. D.—Mendelssohn. Argoed.

1 MEWN anialwch 'r wyf yn trigo,
Temtasiynau ar bob llaw,
Heddyw, tanllyd saethau yma,
Fory, tanllyd saethau draw;
Minnau'n gorfod aros yno,
Yn y canol, rhwng y tân;
Tyr'd, fy Nuw, a gwel f'amgylchiad,
Yn Dy allu tyr'd yn mlaen.

2 Marchog, Iesu, yn llwyddiannus,
Gwisg Dy gleddyf ar Dy glun;
Ni all daear Dy wrthsefyll,
Chwaith nac uffern fawr ei hun:
Mae Dy enw mor ardderchog,
Pob rhyw elyn gilia draw;
Mae Dy arswyd trwy'r greadigaeth
Pan y byddost Ti ger llaw.

3 Tŷn fy enaid o'i gaethiwed,
Gwawried bellach foreu ddydd,

Rhwyga'n chwilfriw ddôrau Babel,
Tŷn y bàrau heiyrn yn rhydd ;
Gwthied caethion yn finteioedd
Allan, megys tònau llif,
Torf a thorf, dàn orfoleddu,
Heb na diwedd fyth na rhif.

4 Mi dybygaf clywaf heddyw
Sŵn caniadau draw o bell,
Torf yn moli am waredigaeth,
Ac am ryddid llawer gwell ;
Gŷnau gwŷnion yw eu gwisgoedd
Palmwydd hyfryd yn eu llaw,
Ac ânt gyda gwir ogoniant
'Mewn i'r bywyd maes o law.

5 Minnau bellach orfoleddaf
Fod y Jubil fawr yn d'od,
Y cyflawnir pob rhyw sillaf
A lefarodd Iesu erioed ;
De a gogledd yn fyrddiynau
Ddaw o eithaf tywyll fyd,
Gyda dawns ac udgyrn arian,
'Mewn i Salem bur ynghyd. W.

## 422 (654) *Dychweliad yr Iuddewon.*

8. 7. D.—Joseph. Corinth.

1 DOED Iuddewon cyndyn bellach
I hoffi llais efengyl hedd ;
Boed i sŵn yr udgorn arian
'N awr agoryd pyrth y bedd ;
Aed eu dyddiau diffrwyth heibio,
A'u caethiwed doed i ben,
Hwythau'n credu'n llu ar unwaith
Yn yr Hwn fu ar y pren.

2 Doed y pedwar gwynt—anadlant
Ar y lladdedigion hyn ;
O eithafoedd pella'r gwledydd
Gwelant ben Calfaria fryn ;
Ac wrth sŵn yr udgorn arian,
Pyrth a bàrau Babel fawr

Fyddo'n agor, nes b'o'r caethion
  O'u carcharau oll yn awr.

3 Impier hwynt i'w holewydden,
  Profent o'i rhinweddau pêr ;
Doed yr Iuddew mud i ganu
  Mwy am râs anfeidrol Nêr;
Cariad heb gyfnewid eto,
  A ffyddlondeb mawr, di-drai,
Grâs fel moroedd o Galfaria,
  Digon byth i gladdu bai. R. J.

## 423 (770) *Cyflawniad o'r addewidion.*

S. 7. 4.—Alma. Sicily.

1 DROS y bryniau tywyll niwlog,
  Yn dawel, f 'enaid, edrych draw,
Ar addewidion sydd i esgor
  Ar ryw ddyddiau braf ger llaw :
    Nefol Jubil,
  Gâd im' wel'd y boreu wawr.

2 Doed yr Indiaid, doed Barbariaid,
  Doed y Negro du yn llu,
I ryfeddu'r ddwyfol goncwest
  Unwaith gaed ar Galfari :
    Sŵn y frwydr
  Dreiddio i eithaf conglau'r byd.

3 Ar ardaloedd maith o d'w'llwch
  T'wŷnu wnelo'r heulwen lân,
Ac ymlidied i'r gorllewin
  Y nôs o'r dwyrain draw o'i blaen :
    Iachawdwriaeth,
  Ti yn unig gario'r dydd.

4 Gwawria, gwawria, hyfryd foreu,
  Ar ddiderfyn fagddu fawr,
Nes b'o bloedd yr euraidd udgorn
  Yn adseinio'r nen a'r llawr,
    Holl derfynau
  Tir Immanuel i gyd.

5 Hêd fel mellten bur efengyl,
  A gorchfyga oll yn lân ;

Bydded i'th gyffiniau ëang
Ymhelaethu fyth yn mlaen ;
A'th lywodraeth,
Dros y moroedd mawr i gyd. W., *c.* J. Ws

## 424 (771) *" Deled Dy deyrnas."*

8. 7. 4.—Sicily. Alma.

1 DUW, teyrnasa ar y ddaear,
O'r gorllewin bell i'r de ;
Cymmer feddiant o'r ardaloedd
Pellaf, t'w'llaf, îs y ne' ;
Haul cyfiawnder,
Llanw'r ddaear fawr â'th râs.

2 Doed yr India fawr, gyfoethog,
Heddyw dàn dywyllwch sydd,
I gael gwel'd efengyl hyfryd
Yn dwyn drosodd oleu'r dydd :
Nes b'o heddwch
Yn teyrnasu o fôr i fôr.

3 Taened gweinidogion bywyd
Iachawdwriaeth Iesu ar lêd ;
Cluded moroedd addewidion
Drosodd draw i'r rhai di-grêd ;
Aed efengyl
Ar adenydd dwyfol wynt.

4 Doed preswylwyr yr anialwch,
Doed trigolion bro a bryn,
Doed y rhai sydd ar y cefnfor
I garu'r iachawdwriaeth hyn ;
Nes b'o adsain
Moliant yn amgylchu'r byd.

5 Pur ganiadau i Frenin Seion
Fyddo yn llawenydd llawn,
Draw o'r dwyrain, lle mae'n c'odi,
I fachludiad haul brydnawn ;
Fyth na sonier
Ond am degwch Brenin nef. W.

## 425 (772) *Llwyddiant i newyddion iachawdwriaeth.*

8. 7. 4.—Alma. Sicily.

1 AED newyddion iachawdwriaeth
Ar adenydd dwyfol wawr,
I ororau ëang, helaeth,
I eithafoedd daear lawr ;
Brysied boreu
Jubil ddydd efengyl grâs.

2 Llifed ffrŵd y dyfroedd bywiol
Ddaeth dàn riniog teml Iôn,—
Afon bur o'r orsedd rasol,
Glân orseddfainc Duw a'r Oen ;
Ei rhinweddau
Sy'n dwyn bywyd yn lle gwae.

3 Aed effeithiol addewidion
Dwyfol hyd eithafoedd byd ;
Aent i gasglu prynedigion
Iesu ato Ef i gyd ;
Ffrwyth Ei lafur,
I'w ddiwallu byth, Amen. T. J.

## 426 (763) *Ffrwyth marwolaeth Crist.*

8. 7. 4.—Llandinam. Islwyn.

1 AR y groes dyrchafwyd Iesu,
Fel y sarph ar drostan hir ;
Ac fe dŷn aneirif luoedd
Ato'i Hun ar fôr a thir ;
Byth ni chollir
Neb a gredo ynddo Ef.

2 Marw wnaeth y gronyn gwenith,
A thoreithiog fydd ei ffrwyth ;
Rhàna'r ysbail gyda'r cedyrn,
I'w elynion tâl y pwyth ;
Ni wêl Satan
Un o ddefaid Crist yn ôl.

3 Fe gaiff Iesu fyrdd o ddeiliaid
O bob cenedl îs y nef ;
At Ei draed yn ufudd deuant,
Hâd a'i gwasanaethant Ef ;

Bydd eu nifer
Fel y gwlith o groth y wawr. P. J.

## 427 (764) *Brenhiniaeth Crist.*

8. 7. 4.—Llandinam. Islwyn.

1 HOLL deyrnasoedd byd yn gyfan
Sydd yn eiddo'n Harglwydd ni ;
Ei lywodraeth sydd yn ëang,
Mae Ei enw uwch pob bri ;
Boed yn amlwg
Ei ogoniant Ef a'i râs.

2 Iesu, estyn Dy deyrnwialen
Dros derfynau eitha'r byd ;
Dyrcha'th faner at y bobloedd,
Atat tŷn y rhai'n i gyd ;
Gan bob llygad
Gweler iachawdwriaeth Duw. P. J.

## 428 (837) *Llwyddiant yr efengyl.*

8. 7. 3.—Rheidol. Gwahoddiad.

1 TYRED, Iesu, i'r ardaloedd,
Lle teyrnasa tywell nôs ;
Na foed rhan o'r byd heb wybod
Am Dy chwerw angeu loes ;
P'am bydd poen addfwyn Oen
Am dano'n eitha'r byd heb sôn !

2 Aed i'r dwyrain a'r gorllewin,
Aed i'r gogledd, aed i'r de,
Roddi hoelion dur cadarnaf,
Yn Ei draed a'i ddwylaw E' ;
Doed ynghyd eitha'r byd
I wel'd tegwch D'wyneb-pryd.

3 Doed Paganiaid yn eu t'w'llwch
Doed y Negro dua'u lliw,
Doed addolwyr yr eilunod
I wel'd tegwch Iesu'n Dduw ;
Deued llu heb ddim rhi'
Fyth i ganu am Galfari.

## 429 (820) *Baner grâs.*

8. 7. 3.—Neander. Talgarth.

1 DE'WCH i'r frwydr, de'wch yn union,
Filwyr Iesu, 'n foreu iawn,
Chwi gewch weled buddugoliaeth,
Lân a helaeth, y prydnawn:
Ef Ei Hun, heb un dyn,
Dery'r gelyn yn ddi-gryn.

2 Mae'r efengyl wèn yn curo,
Ac yn c'odi baner grâs
Mewn rhyw filoedd o ardaloedd,
Ar y mynydd, yn y maes:
Y mae llef bur y nef,
Yn cyhoeddi Ei haeddiant Ef. W.

## 430 (843) *Gogoniant y dyddiau diweddaf.*

7au. 4ll.—Durham. Melton.

1 WELE 'r dydd yn gwawrio draw,
Amser hyfryd sydd ger llaw;
Daw'r cenhedloedd yn gyttûn
I ddyrchafu Mab y Dyn.

2 Gwelir teyrnas Iesu mawr
Yn ben moliant ar y llawr;
Gwelir tŷ ein Harglwydd cu
Goruwch y mynyddoedd fry.

3 Gwelir pobloedd lawer iawn
Yn dylifo ato'n llawn;
Cyfraith Iesu gadwant hwy,
Ac ni ddysgant ryfel mwy.

4 Fe geir gweled Babel fawr
Wedi syrthio oll i lawr,
A'r teyrnasoedd mawr eu bri
Oll yn eiddo'n Harglwydd ni.

5 Yna clywir yn y nef,
Fawl i'r Oen âg uchel lef—
"Aeth teyrnasoedd mawr eu bri
Oll yn eiddo'n Harglwydd ni!" J. T., *ar.* T. J.

## 431 (874) *Dyddiau hyfryd i ddyfod.*

7. 4.—Aberafon. Llanfair.

1 Y MAE 'r dyddiau'n d'od i ben—
Dyddiau hyfryd,
Y dyrchefir Brenin nen
Dros yr hollfyd ;
Fe ä dwyfol angeu drud
Pen Calfaria
Trwy ardaloedd pella'r byd :
Haleluwia.

2 Fe bregethir Iesu a'i râs,
Mewn awdurdod,
Yn yr India ëang frâs
Yn ddiddarfod ;
Fe ä sŵn yr udgorn clir
Hyd yr eitha',
I'r gorllewin anial dir :
Haleluwia.

3 Minnau gredaf yn fy Nuw,
'Mhrïod rhyfedd,
A fu farw, 'n awr sy'n fyw
Yn ddiddiwedd ;
Ac er mwyn Ei chwŷs a'i waed,
Mi wir greda',
Ca'i ngelynion dàn fy nhraed :
Haleluwia. W.

## 432 (873) *Y nôs yn myned heibio.*

7. 4.—Aberafon. Llanfair.

1 Y NOSWEITHIAU hirion sy,
'Mron myn'd heibio,
A'r cymylau tywyll, du,
Sydd yn cilio ;
Fe ddaw'r hâf â'r egin gwàn
I lawn fywyd,
A hwy ddygant yn y màn
Ffrwythau hyfryd.

2 Dyddiau hyfryd dwyfol râs,
Ddaeth o'r diwedd,

Ac fe dŷr effeithiau i maes,
Nefol, rhyfedd ;
Fe ddaw gwinllan f' Arglwydd mawr
I oresgyn
Anial fànau pella'r llawr,
Heb un terfyn. W.

## 433 (882) *Llwydd i efengyl grâs.*

7. 4.—San Remo. Haverland.

1 Y MAE heddyw nefol wawr
Yn llewyrchu,
Ac yn chwalu'r t'w'llwch mawr
Fel y fagddu :
Ernes yw o foreu llawn
O'r uchelder ;
Ymddisgleiria'n hyfryd iawn
Haul Cyfiawnder.

2 Rhaid i'r Iesu'n helaeth gael,
Y mae'n haeddu,
Gwel'd o ffrwyth Ei lafur hael,
A'i ddiwallu ;
Miloedd myrdd o estron lu
Ddônt yn fuan
I gael profi Ei gariad cu
I rai aflan. T. Y. 1.

3 Aed efengyl grâs ar lêd
Trwy'r holl wledydd ;
Plygu wnelo rhai di-grêd
I Fab Dafydd ;
Doed trigolion dae'r a nef
O un galon,
I wel'd mai teilwng ydyw Ef
I gael y goron. G. L.

## 434 (886) *Eheda, efengyl !*

12. 11.—Rhâd Râs. Hyfrydlais.

1 EHEDA, eheda, efengyl dragwyddol—
Ar edyn y wawr, yn gyflym, yn nerthol !
Cyhoedda trwy 'r hollfyd fod cymmod â'r nefoedd :
Darostwng yn rasol gyndynrwydd y bobloedd !

O ! d'wêd am yr Iawn, sy'n clirio 'r euoca',
A'r ffynnon wna 'r Ethiop yn wŷn fel yr eira !

2 Dirgelion y nefoedd dadguddia yn helaeth,
Fod Crëwr y byd yn gwisgo dynoliaeth !
Er arbed yr euog, i'r Iesu, JEHOFAH,
Offrymu Ei Hunan ar fynydd Calfaria !
O ! d'wêd am yr Iawn, sy'n clirio 'r euoca',
A'r ffynnon wna 'r Ethiop yn wŷn fel yr eira !

3 Gwna 'r gwylltiaid yn araf, a'r creulon yn dirion—
A chymmod y nef, gwna heddwch rhwng dynion ;
Cyhoedda faddeuant i'r euog helbulus,
A thywys y crwydriaid yn ôl i baradwys !
O ! d'wêd am yr Iawn, sy'n clirio 'r euoca',
A'r ffynnon wna 'r Ethiop yn wŷn fel yr eira.

D. C.

## 435 (902) *Goruchafiaeth yr efengyl.*

9. 8.—Elliot. Capel Newydd.

1 DAW miloedd ar ddarfod am danynt
O hen wlad Assyria cyn hir,
Preswylwyr yr Aipht ac Ethiopia,
At Grist y Gwaredwr yn wir ;
Cyflawnir y prophwydoliaethau,
Daw'r holl addewidion i ben,
Fe dŷnir myrddiynau at Iesu
Ddyrchafwyd rhwng daear a nen.

2 Yr holl freniniaethau a dreulir,
A'r ddelw falurir i lawr ;
Y gareg a leinw'r holl wledydd,
Ei chynnydd fel mynydd fydd mawr :
Ceir gweled cenhedloedd y ddaear
Yn dyfod o bedwar cŵr byd,
Ymofyn y ffordd tua Seion
Y bydd ei drigolion i gyd.

P. J.

## 436 (911) *Helaethiad y deyrnas.*

9. 8.—Bethel. Capel Newydd.

1 HELAETHA derfynau Dy deyrnas,
A galw Dy bobl ynghyd ;
Dadguddia Dy haeddiant anfeidrol
I'th eiddo, Iachawdwr y byd !

Cwymp anghrist, a rhwyga ei deyrnas,
O! brysied a deued yr awr—
Disgyned Jerusalem newydd
I lòni trigolion y llawr.

2 Eheda, efengyl, dros wyneb
Y ddaear a'r moroedd i gyd,
A galw Dy etholedigion
O gyrau eithafoedd y byd!
O brysia! 'r cyfarfod heb lygredd,
Na rhyfel, na chystudd, na phoen—
Dydd Jubil yr etholedigion,
A chyd-etifeddion â'r Oen! M. R.

## 437 (907) *O! heda, efengyl dragwyddol.*

9. 8.—Derlwyn. Eirinwg.

1 O! HEDA, efengyl dragwyddol,
Ar gyflym adenydd y wawr,
Nes cilio o'r noson gaddugol,
A'r fagddu orchuddia y llawr;
Cyfoded gogoniant yr Arglwydd
Ar Seion, preswylfa Duw Iôr,
Nes llanwer y ddae'r â sancteiddrwydd,
A "throi llïosowgrwydd y môr!"

2 Pwy yw y rhai hyn a ehedant
I deml Jerusalem wiw?
Fel gwyn golomenod dychwelant
I harddu ffenestri fy Nuw;
Cenhedloedd o Aipht eu caethiwed
Sy'n dyfod i weled y wawr;
Brenhinoedd offrymant eu teyrnged
Wrth orsedd Emmanuel mawr.

3 Yn mynydd yr Arglwydd y gwelir
Dylifiad y bobloedd o bell,
A sŵn eu Hosanna a glywir
Yn esgyn i'r Ganaan sydd well;
Fel llef dyfroedd lawer yn tòri
Bydd moliant Emmanuel mawr;
Y ddaear yn esgyn i fyny,
A'r nefoedd yn disgyn i lawr. J. T. J.

**438** (941) *Cwymp Babilon, a dychweliad y gaethglud.*

5. 5. 8.—Hungerford. Ystwyth.

1 MAE 'r dydd yn nesau,
Ceir gweled yn glau
Daw Babilon gadarn i lawr ;
Mae'r taliad mor ddrud,
Teyrnasoedd y byd
Ä'n eiddo Emmanuel mawr.

2 Hên anghrist sydd fawr,
Falurir i lawr ;
Mae'r gareg a'i threigliad yn rhydd :
Er gorfod cael briw,
Daw'r tystion yn fyw ;
Haleluwia ! bron gwawrio mae'r dydd.

3 Er cymmaint yw'r llîd,
Daw'r gaethglud i gyd
O ddyfnder caethiwed yn rhydd ;
Fe ddaw'r Jubili
I fyny'n llawn rhi' ;
Haleluwia ! bron gwawrio mae'r dydd.

4 Mae'r dydd yn nesau
Pan ddryllir yr iau
O herwydd eneiniad y Pen ;
Mae'r amser ger llaw,
Iuddewon a ddaw
I garu'r Hwn fu ar y pren. W. J.

**439** (942) *"O lafur Ei enaid y gwêl."*

5. 5. 8.—Hungerford. Ystwyth.

1 Y MEICHIAU a wêl
Ei lafur dàn sêl,
Fe'u mŷn hwy o afael y llîd,
Hwy garwyd yn rhâd,
Fe'u prynwyd â gwaed,
Fe'u gelwir, fe'u golchir i gyd.

2 Ar Galfari fryn,
Yn haeddiant Duw-ddyn,
Caed trysor, am dano bydd sôn ;
Mae'n gyfoeth mor ddrud,

Fe leinw'r holl fyd ;
Clodforedd am rinwedd yr Oen. W. J.

3 Efengyl yr Iôn,
Am dani bydd sôn
Trwy'r bröydd a'r bryniau o'r bron ;
Hen Jericho fawr
Yn llwyr ddaw i'r llawr ;
Mae'r udgyrn yn bloeddio wrth hon. D. C.

**440** (954) *Teyrnasiad yr Iesu.*

6. 5. 8. 3. 7.—Sylhet.

1 TEYRNASA Iesu mawr
Dros y ddaear lawr !
Bydd mynydd tŷ ein Harglwydd ni
Yn fawr ei fri, uwch mynyddau 'r llawr,
Pan dỳr nefol wawr !
Daw pobloedd lawer o bob gwlad
At Ei draed, am ryddhâd, ac iachâd !
Fe fydd ryfedd wiw orfoledd,
Sain clodforedd hyfryd iawn !
Sain Hosanna ! Haleluwia !
Fydd yn uchel am Galfaria
Pan ddêl Jubil lawn ! W. JE.

---

## EGLWYS DDUW A'I GYSSEGR.

**441** (10) *Moliant yr eglwys.*

10au.—Penitentia. Pax Dei.

1 MAE eglwys Dduw trwy'r ddae'r a'r nef yn un,
Y meirw a'r byw a'u cydsain yn gyttûn ;
" Teilwng yw'r Oen," medd seintiau yn y nef ;
"Teilwng yw'r Oen," yw'n llafar ni a'n llef. DR. W., *c.* J. T.

2 Ei fywyd glân, Ei chwŷs, a'i riddfan ro'es,
A'i angeu llawn, dâl cyflawn ar y groes :
Daw ffrwyth Ei groes, a grym eiriolaeth gref,
Â'r eiddil gwàn yn gadarn gydag Ef.

3 Brawd yw Efe i'r llwythog ar y llawr;
Dôf ar Ei bwys i fyny o'r cystudd mawr:
Ni thrig yn ôl un ewin, er mor wàn,
O'r anial dir fe'u mỳnir yn y màn. G. 2.

## 442 (18) *Bywhâ Dy waith.*

10au.—Erfyniad. Bala.

1 MAE Seion wàn yn griddfan dàn y groes,
Yn disgwyl gwawr ar lawr dàn lawer loes;
Bywhâ Dy waith, ni phery 'nhaith yn hir;
'R wy'n ofni'r bedd cyn gwel'd Dy wedd yn wir. D. JO.

2 Terfysgu 'r wyf dàn flinder llawer loes,
Dych'mygion gau, a griddfan dàn y groes,
A'm Iesu'n fwyn yn dwyn Ei waith i ben,
A phob rhyw beth 'n ôl arfaeth nefoedd wèn. *Cas.* DE.

## 443 (12) *Dymuniad yr annheilwng.*

10au.—Emyn Hwyrol. Ellers.

1 RHYFEDDU 'r wyf, a mawr ryfeddod yw,
Fy ngharu erioed, y gwaela' o ddynolryw;
Cael yn Dy dŷ, o fewn ei furiau, le,
Ac enw gwell nag enwir îs y ne'. G. 2.

2 Duw! attal Di rwysg fy meddyliau ffol,
A dena'm serch a'm calon ar Dy ôl:
Yn holltau'r graig dôd im' ymgeledd glŷd,
Mewn tawel hedd, nes myn'd o'r anial fyd. DR. W., *c.* J. T.

## 444 (113) *Yr anian dduwiol.*

M. H.—Brynteg. Spires.

1 O IESU mawr! rho 'th anian bur
I eiddil gwàn mewn anial dir,
I'w nerthu drwy 'r holl rwystrau sy
Ar ddyrys daith i'r Ganaan fry.

2 Pob grâs sydd yn yr eglwys fawr,
Fry yn y nef, neu ar y llawr,
Câf feddu 'r oll—eu meddu 'n un,
Wrth feddu D' anian Di Dy Hun.

3 Mi lyna'n dawel wrth Dy draed,
Mi ganaf am rinweddau 'th waed,

Mi garia'r groes, mi nofia'r dòn,
Ond cael Dy anian dàn fy mron. D. C.

**445** (163) *Yr eglwys â'i phwys ar Grist.*

8. 8. 6.—Howden. Llanelli.

1 O! PWY yw hon sy'n d'od yn hy',
Yn lew i'r làn, fel rhwng dau lu,
O'r dywell Aiphtaidd wlad,
Gan roddi pwys ei henaid pur
Ar Iesu gwiw, 'r Messiah gwir,
Ei Ffrynd a'i Phrynwr rhâd?

2 O'r dyfnder du i'r làn y daeth,
Tua'r wlad sy'n llifo o fêl a llaeth,
I'r etifeddiaeth frâs:
Yn llawn o hedd, mae'n awr mewn hwyl,
Â'i nefol gainc yn cadw gŵyl,
Am dd'od o'r Aipht i maes.

3 Duw sy iddi'n blaid, hi ga'dd o'i blaen
Y cwmwl niwl a'r golofn dân,
Eneiniad yr holl saint;
Hi ŵyr y ffordd i'r Ganaan draw,
Ni chyfeiliorna ar un llaw,
Nes cael meddiannu'r fraint.

4 Fel boreu wawr fe welir hon,
Teg fel y lloer mae'i hwyneb llon,
Mewn cariad, grâs, a hedd:
Fel haul, heb un brycheuyn du,
'N ofnadwy fel banerog lu—
On'd hyfryd yw ei gwedd? W.

**446** (241) SALM V. 1, 2, 7, 11, 12.

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 FY ngweddi, Arglwydd! clyw 'n ddi-ball
A deall fy myfyrdod;
Erglyw fy llais a'm gweddi flin,
Fy Nuw a'm Brenin hyglod.

2 Dôf finnau tua 'th dŷ mewn hedd,
Am Dy drugaredd galwaf;
Trwy ofn, a pharch, a goglud dwys,
I'th sanctaidd eglwys treiglaf.

3 Y rhai ymddiried ynot Ti,
Tydi gysgodi drostynt—
Yn llawen bydd pob rhai a'th gâr,
Cei fawl yn llafar ganddynt.

4 Ti, Arglwydd, a anfoni wlith
Dy fendith ar y cyfion ;
A'th gywir serch fel tarian gref
Ro'i drosto ef yn goron. E. P.

## 447 (207) Salm xv. 1, 2, 4, 5.

M. S.—Silesia. Mary.

1 DYWED i mi pa ddyn a drîg
I'th lŷs parchedig, Arglwydd ;
A phwy a erys ac a fydd
Yn mynydd Dy sancteiddrwydd ?

2 Yr hwn a rodia 'n berffaith dda,
Yr hwn a wna gyfiawnder,
A'r hwn a draetha o'i galon wir,
A drig ar dir uchelder.

3 Yr hwn sydd isel yn ei fryd,
Yn caru ei gyd-Grist'nogion ;
Yr hwn sy'n ofni 'r Arglwydd Dduw,
Ac sydd yn byw yn ffyddlon ;

4 Na gwobr, na rhodd, yr hwn ni fỳn,
Er dàl yn erbyn gwirion ;
A wnelo hyn ni lithra fyth,
Fe gaiff y ddi-lyth goron. E. P.

## 448 (193) Salm xxiv. 1—5, 9, 10.

M. S.—Trallwm. Oldenburg.

1 YR Arglwydd bïau'r ddaear lawr,
A'i llawnder mawr sy'n eiddo ;
Yr Arglwydd bïau yr holl fyd,
A'r bobl i gyd sydd ynddo.

2 Can's Ef a ro'es ei sail a'i gwedd
Yn rhyfedd uwch y moroedd,
Ac a'i gosododd hi yn lân,
Yn drigfan uwch llif-ddyfroedd.

3 Pwy yw yr hwn a ddringa'n hy'
I gyssegr fry yr Arglwydd ?

A phwy a saif â theilwng wedd
Yn ngorsedd Ei sancteiddrwydd ?

4 Dyn glân ei law, o feddwl da,
Ac yn ddidraha ei enaid,
Dïorwag, ac ni ro'es un tro
Er twyllo 'i gyfneseifiaid.

5 Fe gaiff hwn gan yr Arglwydd wlith
Ei raslawn fendith helaeth,
Ac iddo bydd cyfiawnder byw
Gan Dduw yr iachawdwriaeth.

6 Dyrchefwch, byrth, eich penau 'n glau,
Ehengwch, ddorau bythol !
Can's Brenin mawr ddaw i'ch mewn chwi—
O fawrfri gogoneddol.

7 Pwy, meddwch, ydyw'r Brenin hwn,
A gofiwn Ei ogoniant ?
Iôr lluoedd ydyw, Brenin hedd,
Gogonedd, a phob ffyniant. E. P.

## 449 (185) SALM XXVII. 1, 4, 11, 14.

M. S.—Sabbath. Dyfrdwy.

1 YR Arglwydd yw fy ngoleu i gyd,
A'm hiechyd ; rhag pwy'r ofnaf ?
Efe yw nerth fy oes ; am hyn,
Rhag pwy dôi dychryn arnaf ?

2 Un arch a erchais ar Dduw Naf,
A hyny a archaf eto :
Cael d'od i dŷ fy Arglwydd glân,
A bod â'm trigfan ynddo.

3 Duw, dysg i mi Dy ffordd yn rhwydd,
O herwydd fy ngelynion ;
Ac arwain fi o'th nawddol râd
Yn wastad ar yr union.

4 Disgwylia wrth yr Arglwydd da,
Ac ymwrola'th galon ;
Efe rŷdd nerth i'th galon di,
Os iddo credi'n ffyddlon. E. P.

## 450 (262) Salm xlii. 1, 2.

M. S.—Dymuniad. Adelaide.

YR ùnwedd ag y brêf yr hydd
Am yr afonydd dyfroedd,
Fel hyny mae fy hiraeth i
Am danat Ti, Dduw'r nefoedd.

2 Fy enaid i, sychedig yw
Am fy Nuw byw a'i gariad ;
Pa bryd y dôf fi ger Dy fron,
Fy Nuw a'm cyfion Ynad? E. P.

## 451 (191) Salm xliii. 2, 3, 4.

M. S.—Dyfrdwy. Sabbath.

1 TYDI yw Duw fy nerth i gyd,
Paham y'm bwrid ymaith?
Paham yr âf mor drwm a hyn
Gan bwys y gelyn diffaeth?

2 O! gỳr Dy oleu, moes Dy wir,
Ac felly t'wysir finnau ;
Arweiniant fi i'th breswylfeydd,
I'th fynydd, ac i'th demlau.

3 Ac yna 'r âf at allor Duw,
Y Duw goruchel hyfryd ;
Ac ar y delyn canaf fawl
Fy Nuw, fy hawl a'm gwynfyd. E. P.

## 452 (206) Salm xlviii. 1, 12, 13, 14.

M. S.—Silesia. Mary.

1 MAWR iawn Ei enw yn ninas Duw,
A hynod yw yr Arglwydd ;
Ei drigfan hefyd yno sydd
Yn mynydd Ei sancteiddrwydd.

2 Ewch, ewch oddi amgylch Seion sail,
A'i thyrau adail rhifwch ;
Ei chadarn fur a'i ph'lasau draw
I'r oes a ddaw mynegwch.

3 Can's ein Duw ni byth yw'r Duw Hwn,
Hyd angeu credwn ynddo ;
Hyd angeu hefyd Hwn a fydd
'N dragywydd i'n tywyso. E. P.

## 453 (259) SALM LXI. 1—4.

M. S.—Dymuniad. Adelaide.

1 ERGLYW, O Dduw! fy llefain i,
Ac ar fy ngweddi gwrando,
Rho'f lef o eitha'r ddaear gron,
A'm calon yn llesmeirio.

2 Dŵg fi i dalgraig uwch na mi,
Ac iddi bydd i'm derbyn;
Can's craig o obaith, tŵr di-fôst,
Im' fuost rhag y gelyn.

3 O fewn Dy babell y bydd byth
Fy nhrigfan di-lyth, dedwydd;
A'm holl ymddiried a fŷn fod
Yn nghysgod Dy adenydd. E. P.

## 454 (244) SALM LXV. 1, 2, 4.

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 I TI, O Dduw! y gweddai mawl
Yn y sancteiddiawl Seion;
I Ti y telir, trwy holl grêd,
Bob gwir adduned calon.

2 Pawb sydd yn pwyso atat Ti,
A wrendy weddi dostur;
Ac atat Ti y daw pob cnawd
Er mwyn gollyngdawd llafur.

3 Dy etholedig, dedwydd yw,
Caiff nes-nes fyw i'th babell;
Trig i'th gynteddau, ac i'th lŷs,
A'th sanctaidd weddus gangell. E. P.

## 455 (209) SALM LXXXIV. 1—5, 7, 10, 11, 12.

M. S.—Morganwg. Persia.

1 DY babell Di, mor hyfryd yw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd!
Mynych chwennychais weled hon,
Rhag mor dra thirion ydoedd.

2 Mae f' enaid i, fy Iôn, mewn blŷs,
I'th gyssegr lŷs dueddu;
Fy nghalon i, a'm holl gnawd yw
Yn Nuw byw'n gorfoleddu.

3 Aderyn tô a gafodd dŷ,
A'r wenol fry i'w chywion,
Le wrth Dy allor Di i'w trin,
Fy Nuw a'm Brenin tirion.

4 Gwŷn fyd yr hwn drîg yn Dy dŷ,
Caiff Dy foliannu ddigon ;
Ac ynot Ti sy'n cadarnhau,
A'th lwybrau yn eu calon.

5 Ant rhagddynt bawb o nerth i nerth,
Nes cael yn brydferth ddyfod
At Dduw i 'mddangos ger Ei fron,
Yn Seion Ei breswylfod.

6 Gwell yw na mil un dydd i'th dŷ,
Am hyny mwy dewisol
Im' fod ar hiniog y drws Tau,
Na ph'lasau yr annuwiol.

7 O Arglwydd Dduw y lluoedd mawr !
Anfon i lawr Dy gymmod ;
Gwŷn fyd y dyn a roddo'i grêd,
A'i holl ymddiried ynod. E. P.

## 456 (218) SALM LXXXVII. 3, 5.

M. S.—Cemmaes. Dyfroedd Siloah.

1 O DDINAS Duw ! preswylfa'r Iôn,
Mawr ydyw'r sôn am danad !
A gogoneddus air it' sydd,
Uwch law trigfeydd yr hollwlad.

2 Dywedir hyn am Seion bêr,
Fe anwyd llawer ynddi,
Nid ambell un ; can's swcwr da
Yw Duw Goruchaf iddi. E. P.

## 457 (196) SALM LXXXIX. 7, 8, 13, 14.

M. S.—Trallwm. Oldenburg.

1 TRWY gynnulleidfa Ei saint Ef,
Duw nef y sydd ofnadwy ;
A thrwy'r holl fyd o'n hamgylch ni,
Ei ofni sydd ddyladwy.

2 Pwy sydd yn debyg it', Dduw byw,
O ! Arglwydd Dduw y lluoedd ?

Yn gadarn Iôr, a'th wir i'th gylch,
O amgylch yr holl nefoedd.

3 I'th fraich mae grym, mae nerth i'th law,
A'th gref ddeheulaw c'odi;
Gwir nawdd a barn yw D' orsedd bur,
A nawdd a gwir a geri.

4 Yn D'unig enw Di y cânt
Fawl a gogoniant beunydd;
Yn Dy gyfiawnder c'odi wnant,
Ac felly byddant ddedwydd. E. P.

## 458 (203) Salm xcii. 1, 12, 13.

M. S.—Silesia. Mary.

1 MOLIANNU 'r Arglwydd, da iawn yw,
A chyfarch Duw yn benaf,
A chanu i Dy enw fawl,
A'th ganmawl, y Goruchaf.

2 Y cyfiawn a flodeua i'r nen,
Fel y balmwydden union;
Yn iraidd yn cynnyddu bydd,
Fel cedrwydd yn Libanon.

3 Y rhai a blanwyd yn nhŷ Dduw,
Yn goedwydd byw y tyfant,
Ac yn nghynteddau ein Duw ni
Y rhei'ni a flodeuant. E. P.

## 459 (248) Salm cii. 13, 14, 16, 22.

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 O! CYFOD bellach, trugarhâ,
O Dduw! bydd dda wrth Seion;
Mae'n amser wrthi drugarhau,
Fel dyma'r nodau'n union.

2 Can's hoff iawn gan Dy weision Di,
Ei meini a'i magwyrau;
Maent yn tosturio wrth ei llwch,
Ei thristwch a'i thrallodau.

3 Pan adeilader Seion wych,
A hon yn ddrych i'r gwledydd:
Pan weler gwaith yr Arglwydd ne',
Y molir E'n dragywydd.

4 Hyn fydd pan gasglo pawb ynghyd,
Yn unfryd i'w foliannu;
Yr holl deyrnasoedd dônt yn ngŵydd
Yr Arglwydd, i'w was'naethu. E. P.

## 460 (232) SALM CXXII. 1, 2, 3, 7.

M. S.—Glanceri. Dominus regit me.

1 PAN dd'wedent—"I dŷ 'r Arglwydd awn,"
Im' llawen iawn oedd gwrando;
Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
Yr un ni syrth oddi yno.

2 Caersalem lân, ein dinas ni,
Ei sail sydd ynddi ei hunan;
A'i phobl sydd ynddi yn gyttûn,
A Duw Ei Hun a'i drigfan.

3 O fewn dy gaerau heddwch boed,
I'th lysoedd doed yr hawddfyd;
Er mwyn fy mrodyr mae'r arch hon,
A'm cymmydogion hefyd. E. P.

## 461 (233) SALM CXXV. 1, 2.

M. S.—Glanceri. Dominus regit me.

1 'SAWL ymddiriedant yn Nuw Iôn,
Y maent fel Seion fynydd,
Yr hwn ni syfl; a'i sylwedd fry
A bery yn dragywydd.

2 Yr ùnwedd a Chaersalem fry
Ei chylchu mae mynyddoedd;
Yr Arglwydd felly'n gaer y sydd
Dragywydd 'gylch Ei bobloedd.

3 Ein holl gynnorthwy ni, a'n llwydd,
Sy'n nerth yr Arglwydd hawddgar;
Yr Hwn, trwy waith Ei ddwylaw Ef,
A grëodd nef a daear. E. P.

## 462 (249) SALM CXXXII. 8, 9, 13—15.

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 O ARGLWYDD! cyfod i Dy lŷs,
A'th arch o rymus fawredd;
D' offeiriaid gwisgent gyfiawn fraint,
'R un modd Dy saint wirionedd.

2 Oblegid Duw, o serch a bodd,
A rag-ddewisodd Seion;
I drigo ynddi rho'es Ei fryd,
Gan dd'wedyd geiriau tirion.

3 Hon fyth fydd Fy ngorphwysfa I,
O hoffder ynddi triga';
Bendithiaf hi â bwyd di-ball,
A'i thlawd di-wall o fara.

E. P.

## 463 (200) SALM CXXXIV. 1, 2, 3.

M. S.—Silesia. Mary.

1 O! DOWCH holl weision Arglwydd nef,
Bendithiwch Ef lle'r ydych
Yn sefyll yn nhŷ Dduw y nôs,
A'i gyntedd diddos trefnwych.

2 Dyrchefwch chwi eich dwylaw glân
Yn Ei gyssegrlan annedd;
Bendithiwch oll â chalon rwydd
Yr Arglwydd yn gyfannedd.

3 Yr Arglwydd, â'i ddeheulaw gref,
Yr Hwn wnaeth nef a daear;
A roddo 'i fendith lawn a'i râs
I Seion, ddinas hawddgar.

E. P.

## 464 (180) SALM CXXXVIII. 1, 2, 3.

M. S.—Llangranog. Langdale.

1 RHO'F fawrglod i Ti, fy Nuw Iôn,
O ddyfnder calon canaf;
Ac yn ngŵydd holl angylion nef,
Â'm goslef y'th foliannaf.

2 Ymgrymaf tua'th sanctaidd dŷ,
Dàn ganu o'th drugaredd,
A'th enw mawr uwch law pob peth,
A'th air di-fêth wirionedd.

3 Y dydd y gelwais arnat Ti,
Gwrandewaist fi yn fuan;
Ac yno nerthaist â chref blaid,
Fy enaid i oedd egwan.

E. P.

## 465 (215) *Cynnydd mewn grâs.*

M. S.—Persia. Morganwg.

1 Y RHAI o dàn Dy gysgod, Iôn,
Yn gysson a arosant,
Dàn lewyrchiadau'th wyneb-pryd,
Y rhai'n fel ŷd adfywiant.

2 Blodeuant, tyfant tua'r nen,
Fel y winwydden ffrwythlon;
A bydd eu harogl wrth eu trîn
Mor bêr a gwîn Libanon.

3 Ymlêd eu gwraidd mewn daear frâs
Wrth afon grâs y bywyd;
Eu ceinciau gerdd, eu tegwch fydd,
Fel olewydd yn hyfryd. W. E.

## 466 (216) *Deued fy Anwylyd i'w ardd.*

M. S.—Morganwg. Persia.

1 PWY na fwytâi y ffrwyth o'r nen,
Sy'n tyfu ar bren y bywyd?
A phwy na roddai wrth ei fîn
Rinweddol wîn mor hyfryd?

2 Hon yw Dy ardd, braf yw ei bri,
Dy blaniad Di Dy Hunan;
O! tyr'd i mewn, ac arni chwŷth,
Gwna ynddi byth Dy drigfan.

3 Tyr'd casgla'th fyrr a'th aloes pur,
Grasusau gwir Dy Ysbryd;
A bwyta 'th ddil, ynghyd â'th fêl.
I ni gael sêl o fywyd.

4 Wel, ŷf Dy wîn a'th laeth yn hael,
Boed hyn yn dâl o'th lafur,
Am i Ti ddioddef ar y groes
Anfeidrol loes a dolur. W.

## 467 (217) *Tegwch Seion.*

M. S.—Morganwg. Persia.

1 MAE eglwys Dduw fel dinas wych,
Yn deg i edrych arni:
Ei sail sydd berl odidog werth,
A'i mur o brydferth feini.

2 Llawenydd yr holl ddaear hon
Yw mynydd Seion sanctaidd ;
Preswylfa anwyl Brenin nef
Yw Salem efengylaidd.
2 Gwŷn fyd y dinasyddion sydd
Yn rhodio'n rhydd ar hyd-ddi ;
Y nefol fraint i minnau rho,
O Dduw ! i drigo ynddi. B. F.

**468** (293) *Cynhaliaeth digonol o râs.*

M. C.—St. George. St. Saviour.

1 MAE 'm golwg acw tua'r wlad
Lle mae fy heddwch llawn ;
Ac 'r wyf am deimlo'i gwleddoedd pur
O foreu hyd brydnawn.
2 'D oes dim difyrwch yma i'w gael
A leinw'm henaid cu ;
Ond mi ymborthaf ar y wledd
Sydd gan angylion fry.
3 Mi yfaf ddŵr y ffynnon glir
O dàn y fainc sy'n d'od ;
Ac y mae rhinwedd ynddo'n llawn
I adfer nerth i'm troed.
4 'Ddiffygiaf ddim, er c'yd fy nhaith,
Tra par'o grâs y nef ;
Ac er mor lleied yw fy ngrym,
Mae digon ynddo Ef.
5 Mae'r iachawdwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo fyth i'r làn ;
Mae yma ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwàn. W.

**469** (291) *Etifeddiaeth y plant.*

M. C.—St. Bernard. St. Saviour.

1 PLANT ydym eto dàn ein hoed,
Yn disgwyl am y stâd ;
Mae'r etifeddiaeth ini'n d'od
Wrth Destament ein Tad. D. J.
2 Na ddigalonwn, er ein bod
Yn awr mewn anial wlad ;

Mae'r etifeddiaeth ini'n d'od
Wrth Destament ein Tad.

3 Gorthrymder geir o dàn y rhôd,
Ond byr fydd ei barhâd;
Mae'r etifeddiaeth ini'n d'od
Wrth Destament ein Tad.

4 Ni gawn yn fuan ganu clôd
O fewn y nefol wlad;
Mae'r etifeddiaeth ini'n d'od
Wrth Destament ein Tad. *Cas.* M. D.

## 470 (345) *Grym crefydd.*

M. C.—Bangor. St. Nicholas.

1 N'ÂD fi foddloni ar ryw rith
O grefydd, heb ei grym;
Ond gwir adnabod Iesu Grist
Yn fywyd anwyl im'.

2 Rho'th gariad cryf yn f'ysbryd gwàn
I ganlyn ar Dy ôl;
Na chaffwyf drigfa mewn un màn
Ond yn Dy gynnes gôl.

3 Goleuni'r nef f'o'n gymmorth im',
I'm tywys yn y blaen;
Rhag imi droi oddi ar y ffordd,
Bydd imi'n golofn dân. D. M.

## 471 (357) *Gogoniant Seion.*

M. C. D.—Ellacombe. Aeron.

1 FE welir Seion fel y wawr,
Er saled yw ei gwedd,
Yn d'od i'r làn o'r cystudd mawr,
'N ol agor pyrth y bedd;
Heb glâf na chlwyfus yn eu plith,
Yn ddisglaer fel yr haul,
Yn y cyfiawnder dwyfol byth
A wnaed gan Adda'r ail. M. R., *ar.*

## 472 (365) *Cymdeithas y saint.*

2. 8.—Glan'rafon. Braint.

1 BRAINT, braint,
Yw cael cymdeithas gyda'r saint,
Na welodd neb erioed ei maint;

Ni ddaw un haint byth iddynt hwy;
Y mae'r gymdeithas yma'n gref,
Ond yn y nef hi fydd yn fwy.

2 Fe gân
Y gwaredigion, fawr a mân,
Dragwyddol glôd i'w Prynwr glân:
Pan ddelo'r tân i losgi'r tir,
Cânt g'odi eu penau a llawenhau,
Eu poenus wae ä heibio'n wir. J. RS.

3 Daeth trwy
Ein Iesu glân a'i farwol glwy',
Fendithion fyrdd—daw eto fwy:
Mae ynddo faith ddiderfyn stôr;
Ni gawsom rai defnynau i lawr;
'Beth am yr awr cawn fyn'd i'r môr?

4 Gwledd, gwledd
O fywyd a thragwyddol hedd
Sydd yn y byd tu draw i'r bedd;
Mor hardd fydd gwedd y dyrfa i gyd
Sy'n byw ar haeddiant gwaed yr Oen,
O sŵn y boen sydd yn y byd. G. 1.

## 473 (388) *Yr anian dduwiol.*

7. 6. D.—Missionary. Lymington.

1 MAE'n rhaid i'r anian newydd
A blanwyd gan y Tad
I gael ei maeth a'i chynnydd
O ffrwythau'r Ganaan wlad;
Nid oes dim ymborth iddi
Yn holl deganau'r llawr;
Mae'n tŷnu ar i fyny—
O'r nef y daeth i lawr. *Cas.* DE.

## 474 (427) *Y dyfroedd tawel.*

7. 6.—Abertawe.

1 A RAID i minnau drengu
O eisieu 'r dyfroedd pur?
'R wy' bron llewygu 'n tramwy
Y dyrys anial dir!

Dŵg fi i'r dyfroedd tawel,
A'r pòrfeydd gleision mawr,
Lle mae y rhai lluddedig
Yn rho'i eu penau 'lawr. W.—G. D. C.

## 475 (489) *Dychweliad y gaethglud.*

6. 8. 6.—Gwledd. Amsterdam.

1 PLANT caethion Babilon
Ddônt adre' o dòn i dòn :
Cânt wledda'n llon, mae'r dydd ger llaw,
Yn ngŵydd eu Harglwydd da,
O sŵn y byd a'i blâ :
O ! ddedwydd hâ', pa bryd y daw ?

2 Disgwyliwn ronyn bach,
Cawn dd'od yn gwbl iach :
Caniadau yna fydd heb ri' ;
A'u sylwedd fydd y gwaed
A ddyry in' iachâd,
A'r goncwest gaed ar Galfari. G. 1.

## 476 (491) *Yr ardd, a'i pheraroglau.*

6. 8.—Dudley. Gopsal.

1 MI bellach g'oda'i maes,
Ar foreu glâs y wawr,
I wel'd y blodeu hardd
Sy 'ngardd fy Iesu mawr :
Amrywiol ryw rasusau pur,
A ffrwythau'r paradwysaidd dir.

2 O ! ddigyffelyb flâs,
O ! amrywioldeb liw,
Hyfryda' erioed a gaed
Ar erddi gwlad fy Nuw :
Gilëad â'i haroglau pur
Bereiddiodd awel Canaan dir.

3 Mae'r pomgranadau pur
Mae'r peraroglau rhâd,
Yn magu hiraeth cryf
Am hyfryd dŷ fy Nhad :
O ! Salem bur, O ! Seion wiw,
Fy nghartref i a chartre'm Duw. W.

## 477 (503) *Byddin Brenin nef.*

6. 8.—Croft. Normandy.

1 MAE'r Brenin yn y blaen,
'R y'm ninnau oll yn hy';
Ni saif na dŵr na thân
O flaen fath arfog lu;
Ni awn, ni awn, dàn ganu i'r làn,
Cawn wel'd ein concwest yn y màn.

2 Ni welir un yn llesg
Yn myddin Brenin nef,
Can's derbyn maent o hyd
O'i nerthoedd hyfryd Ef:
Ni gawn, ni gawn y gloyw wîn,
O felus ryw, sancteiddiol rîn.

3 Dechreued tafod mwy,
Os tafod fedr gân,
Na foed ond dwyfol glwy'
Holl ddyddiau'i oes o'i flaen;
Fe gaed, fe gaed o'r diwedd fraint
Na phrofodd seraphim ei maint.

4 Gerubiaid, de'wch yn mlaen,
Edrychwch yma i lawr,
Ar d'wynion uffern dân
Yn nghanol nef yn awr;
Pob un yn gwel'd ei hyfryd wlad
A phyrth sancteiddiol tŷ ei Dad.

5 Fe ddarfu'r ofn du,
'R euogrwydd câs a'r braw,
Wrth wel'd yr aberth fu
Ar ben Calfaria draw;
Fe dalwyd Iawn ar bren mor ddrud,
Oedd fwy na holl ffieidd-dra'r byd. W.

## 478 (494) *Hiraeth am dŷ Dduw.*

6. 8.—Dudley. Gopsal.

1 ARGLWYDD y bydoedd fry,
Mor deg a hawddgar yw
Trigfanau'th gariad cu,
Daearol demlau'm Duw:

Boed tynfa f'enaid tua'th dŷ,
Fy Nuw, i wel'd Dy wyneb cu.

2 Hoff gan aderyn tô
Gael yno i'w gywion le ;
A'r wenol, ar ei thro,
Hiraethu am ei thre';
Mae hiraeth f'enaid i 'r un faint
Am gael preswylio 'mhlith y saint.

3 Cael treulio sanctaidd ddydd
Lle byddo Duw a'i saint,
Llawenydd gwell a rŷdd
Na mil mewn bydol fraint :
Gwell yw cael cadw'r drws o hyd
Lle dêl fy Nuw na ph'lasau'r byd. DR. W., C. D. J.

## 479 (546) *Grym duwioldeb.*

6. 6. 4.—Malvern. Moscow.

1 DUWIOLDEB yn ei grym
Sydd werthfawrocach im'
Nag aur Peru ;
Hi geidw'm henaid gwàn
Yn ddiogel yn mhob màn ;
O'r diwedd dŵg fi i'r làn
I gôl fy Nuw. E. JS.

## 480 (945) *Clywch, deffrowch !*

8. 8. 7. 4. 8.

1 CLYWCH, deffrowch ! mae llef yn galw—
Y gwyliwr ar dy gaerau ydyw,
O ddinas ferth y Brenin mawr :—
"C'odwch oll, yn hwy nac oedwch,
Forwynion teg, a'ch lampau trwsiwch ;
Mae'n hanner nôs,—fe ddaeth yr awr ;
Mae'r Prïod-fab gerllaw ;
Ewch allan yn ddi-fraw,
Haleluwia !
Mewn nefol gân o foliant glân,
Croesaŵch Arglwydd nef a llawr."

2 Ar yr alwad deffry Seion,
Llawenydd dreiddia drwy ei chalon,

Mae'n gado'r llwch a'r tristwch prudd;
Daw ei Harglwydd mewn gorfoledd,
I'w air a'i râs mae mawr ogonedd;
Ei Goleu ddaeth—ei Seren Ddydd:
"Tyr'd, fendigedig Un,
Fab Duw a gaed yn ddyn,
Haleluwia!
Down ar Dy ôl i'r neuadd fry,
I'r nef a'r neithior gyda Thi."

3 Caned nef y nef D' ogoniant,
Angylion, dynion, cyd-foliannant,
Ar aur delynau uwch y llawr:
Perlau teg yw pyrth y ddinas,
Lle cawn yn un â'r côr mewn urddas,
Dy foli ar Dy orsedd fawr:
O! 'r cyfoeth ddaeth i ni,
Trwy angeu Calfari:
Haleluwia!
Tra byddo'r nef, yr anthem gref,
Heb dewi mwy, fydd "Iddo Ef." *Ef.* I. G.

## 481 (643) *Buddugoliaeth Calfaria.*

8. 7. D.—Mendelssohn. Argoed.

1 WELE Iesu'r Pen rhyfelwr,
'N d'od i'r làn o Edom wlad,
Â'i wisg yn goch, a'i fraich yn rymus,
A'r ddraig yn glwyfus dàn Ei draed;
Am yr hyfryd fuddugoliaeth
Cana'm telyn fach yn awr,
Hyd nes delo'r hyfryd foreu
Y câf finnau'r delyn fawr. D. W.

## 482 (618) *Ffyddlondeb Duw i'w eglwys.*

8. 7. D.—Esther.

1 COFIA, Arglwydd, Dy ddyweddi,
Llama ati fel yr hydd;
Ac na âd i'w holl elynion
Arni'n hollol gael y dydd:
O! dadguddia y colofnau
Wnaed i'w chynnal yn y nôs—

Addewidion diammodol
  Duw ar gyfrif gwaed y groes.

2 Mae bod yn fyw yn fawr ryfeddod
  Mewn ffwrneisiau sydd mor boeth,
Ond mwy rhyfeddod, wedi 'mhrofi
  Y dôf o'r cystudd fel aur coeth :
Amser cànu, diwrnod nithio,
  Eto'n dawel heb ddim braw ;
Y gŵr sydd imi yn ymguddfa
  Sydd â'r wyntyll yn Ei law.

3 O ! am dŷnu o'r anialwch
  I fyny fel colofnau mŵg,
Yn uniongyrchol at Ei orsedd,
  Nid oes yn Ei wedd Ef ŵg :
Alpha, Omega, Tyst ffyddlonaf,
  Yw ein Iôr, â'i air yn un ;
Disgleirio mae gogoniant Trindod
  Yn achubiaeth marwol ddyn. A. G.

## 483 (711) *Gweddi am bresennoldeb Duw.*

8. 7. D.—Henryd. Tanymarian.

1 P'AM y caiff bwystfilod rheibus
  Dori'r egin mân i lawr ?
P'am caiff blodau peraidd, ieuainc,
  Fethu gan y sychder mawr ?
Tyred â'r cawodydd hyfryd
  Sy'n cynnyddu'r egin grawn—
Cawod hyfryd yn y boreu,
  Ac un arall y prydnawn.

2 Gosod babell yn ngwlad Gosen,
  Tyred, Arglwydd, yno D' Hun ;
Gostwng o'r uchelder goleu,
  Gwna Dy drigfan gyda dyn :
Trig yn Seion, aros yno,
  Lle mae'r llwythau'n d'od ynghyd
Byth na 'mad oddi wrth Dy bobl
  Nes yn ulw'r elo'r byd.

3 Blinais ar afonydd Babel,
  Nid oes yno ond wylo i gyd ;

Llais telynau hyfryd Seion
  Sydd yn cysson dŷnu 'mryd :
Tyr'd â ni, yn dorf gariadus,
  O gaethiwed Babel fawr ;
Ac nes b'om ar fynydd Seion
  N' âd in' orphwys munyd awr.

4 Dacw'r Brenin yn Ei degwch,
  Wele'i brïod wrth Ei glun ;
Gwedd Ei wyneb sy'n rhagori
  'Mhell ar wedd wyneb-pryd dyn ;
Dyma ddydd—dydd Ei ddyweddi,
  Dyma'r brïodasol wledd ;
Dyma'r dydd caiff pererinion
  Yfed o'i dragwyddol hedd. W.

## 484 (640) *Wrth ymadael.*

8. 7. D.—Carmel. Port Penrhyn.

1 ARGLWYDD ! gollwng dàn Dy fendith
  Bawb i 'madael yn Dy hedd,
Gan ymborthi ar y manna
  Efengylaidd, dwyfol wledd ;
Llanw'n calon â'th gysuron,
  Cwyd ein llais i foli 'r Iôn,
Yna, 'nghwmni 'r heirdd angylion,
  Canwn i Ti beraidd dôn. *Cas.* D. J.

## 485 (734) *Diwedd addoliad.*

8. 7. 4.—Litany. Edlingham.

1 DAN Dy fendith, wrth ymadael,
  Y dymunem, Arglwydd ! fod ;
Llanw 'n calon â Dy gariad,
  A'n geneuau â Dy glôd :
    Dy dangnefedd
  Dyro ini yn barhaus. W. G.

## 486 (878) *Aros yn y tŷ.*

7. 4.—Patmos. Tiberias.

1 OS rhaid goddef ar fy nhaith
    Dywydd garw,
Cadw'm hysbryd yn Dy waith
    Hyd fy marw :

Yn y babell gyda'r arch
Boed fy nghartre' ;
Cadw yn fy enaid barch
I Dy ddeddfau. J. H.

## 487 (892) *Goruchafiaeth Crist.*

11au.—Montgomery. Hanover.

1 DAETH uffern, a'r ddaear, a'r nefoedd ynghyd,
Yn erbyn Messiah, Iachawdwr y byd ;
Fe safodd i fyny, ennillodd fath glôd ;
Bydd coffa am dano tra'r nefoedd yn bôd.

2 Fe gurodd Gehenna, gorchfygodd y byd,
Agorodd y nefoedd oedd gauad o hyd ;
Diffoddodd ar unwaith yn gyfan, â'i waed,
Holl felldith y gyfraith, ac angerdd y Tad.

3 Mae'r Brenin Ei Hunan yn cerdded o'r blaen
Yn treio grym dyfroedd a phoethder y tân ;
Ni chaiff Ei Anwylyd fwyn, hyfryd, fyn'd gam
Nes tòri grym dyfroedd a diffodd y fflam.

4 Wel, bellach, dechreuwch, mae'n ddigon o bryd,
I ganu caniadau i Iachawdwr y byd ;
Ni seiniwn y ddaear a'r nefoedd uwch ben—
Hosanna, Hosanna, Haleluwia, Amen. W.

## 488 (893) RHAN II.

11au.—Montgomery. Hanover.

1 PWY feiddiai gymmeryd fath arfau a'r rhai'n
Yn erbyn llu uffern ; sef coron o ddrain,
A mantell ysgarlad, a chroes o bren îr,
Y gorsen, a'r bustl, a hoelion o ddur ?

2 Bu farw f' Anwylyd, fe grymodd Ei ben,
Agorodd y beddau, fe dduodd y nen,
Yr holl grëadigaeth ryfeddodd yn fawr
Wel'd marw Crëawdwr y nefoedd a'r llawr.

3 Wel, tyred, fy enaid, o'th hunan i maes,
Ymffrostia yn unig yn Iesu a'i râs ;
Efe wnaeth y cwbl, Efe bïau'r clôd ;
Bydd moliant i'w enw tra'r nefoedd yn bôd. W.

## 489 (890) RHAN III.

11au.—Joanna. Wareham.

1 NI 'redwn yn wrol, mae'r Brenin o'n blaen ;
P'am'r ofnwn ni rwystrau o ddŵr ac o dân ?
Mae'r goron a'r palmwydd a'n gwobr ni fry,
Yn nghadw'n llaw'r Barnwr—mae'n perthyn i ni.

2 Blinderau a chroesau yn ddïau a gawn ;
Ca'dd Yntau o'r rhei'ny rifedi mawr iawn ;
Yn wirion a llariaidd dioddefodd hwy i gyd,
Sancteiddiodd i'w bobl holl drallod y byd.

3 Wel, bellach, gystuddiau, O ! sefwch bob tu,
Mi safa'n y canol yn ëofn a hy' ;
A churwch eich gwaethaf ar f'enaid o hyd,
Fe dŷnodd fy Arglwydd eich gwenwyn i gyd.

4 Diolchaf byth iddo, sancteiddiodd y groes,
'Sgafnhaodd ei phwysau, fe laesodd ei loes ;
'N awr nef yw ei chario, a gwŷn fyd y sy
Yn canlyn yr Iesu i Galfari fry. W.

## 490 (894) RHAN IV.

11au.—Montgomery.—Hanover.

1 MAE'n bryd i ni ganu, ni gawsom y fraint,
Mae'r rhyfel yn cerdded o ochr y saint ;
Mae'n Brenin yn dyfod, â'i gledd ar Ei glun,
Fe sathrodd y gwinwrŷf bob gronyn Ei Hun.

2 Mae'i ddillad yn gochion, llychwinwyd â gwaed,
Fe gwympodd gelynion yn fyrdd dàn Ei draed ;
Fe rwygodd wlad Edom—diolchwn i'n Duw,
Ni saif yr un gelyn yn Edom yn fyw.

3 Nid gallu angylion, na gallu un dyn,
Goncweriodd y gelyn, ond Gallu Ei Hun ;
Ennillodd ogoniant, anrhydedd mor gref,
Mae canu am dano mewn daear a nef.

4 Er amled y tywod, er amled y sêr,
Mwy aml y cwmni sy'n nheyrnas fy Nêr ;
Er hardded yw'r heulwen sy'n t'wŷnu ar bob gwlad,
Mil harddach y cwmni sy'n nheyrnas fy Nhad.

5 Fe ddarfu eu blinder a'u gofid i gyd,
Anghofiwyd ymdrechu'n rhyfeloedd y byd ;

Aeth heibio eu gauaf, newidiwyd yr hîn,
Yn awr maent yn canu a charu bob un.

6 Ni chlywir dim ochain gan engyl na saint,
Ond pur orfoleddu—on'd braf yw eu braint?
Rhyfeddu'r Messiah, Jehofah yn ddyn,
A chraffu eu llygaid ar Iesu bob un. W.

**491** (887) *Rhâd râs Duw.*

11au.—Joanna. Wareham.

1 YN rhâd y mae'n dyfod bob bendith a dawn,
Fy mwrdd yn gyfoethog, a'm cwpan yn llawn,
A gwisg i'm cynhesu, fy annedd, a'm tân,
Fy einioes, a'm hiechyd, o'r Arglwydd yn lân.

2 Yr awyr sy'n dyfod o gartref fy Nêr,
A'r dyfroedd i yfed yn mhell uwch y sêr,
Y tân o'r wybrenau, y moroedd, a'r tir,
Sy'n d'od o râd gariad fy Arglwydd yn wir.

3 Ond mwy na'r bendithion tymhorol ger llaw
Yw'r rhai sydd yn perthyn i'r amser a ddaw,
Yn rhâd a ddechreuwyd cyn amser erioed,
A bery'n rhâd eto tra nefoedd yn bod.

4 Yn rhâd 'r wy'n cael manna; a'r dyfroedd di-brin
O ffynnon y bywyd, yn rhâd 'r wy'n cael hyn;
Yn rhâd y câf gerdded y siwrnai sydd faith;
Yn rhâd y câf ganu ar ddiwedd fy nhaith. W.

---

## PROFIADAU A RHAGORFREINTIAU POBL DDUW.

**492** (15) *Yr hen drugareddau.*

10au.—Erfyniad. Griddfaniad.

1 FY Nuw, fy Nuw, fy Mhrïod, a fy Nhad,
Fy ngobaith oll, a'm hiachawdwriaeth râd,
Ti fuost noddfa gadarn i myfi,
Gâd imi eto wel'd Dy wyneb cu.

2 Nac aed o'th gôf Dy ffyddlon ammod drud,
Yn sicr wnawd cyn rho'i sylfeini'r byd;
Ti ro'ist im' yno drysor maith, di-drai;
Gâd imi heddyw gael Dy wir fwynhau.

3 O! cofia'th hedd rai prydiau ro'ist i lawr
I'm henaid trist mewn cyfyngderau mawr,
O! edrych eto, mae fy enaid gwàn
Gan syched mawr ar drengu yn y fàn.

4 'Raid i Ti ddim ond d'weyd un gair o hedd,
Fy syched dry yn dawel nefol wledd;
Fe dderfydd gofid, derfydd pob rhyw wae,
Fy nhristwch lyncir yn Dy wir fwynhau. W.

## 493 (17) *Llef y pechadur.*

10au.—Erfyniad. Griddfaniad.

1 PECHADUR wyf a aeth yn llwyr ar goll,
O'm pen i'm traed yn euog, aflan, oll;
Dàn glwyfau dwys, tra dyfnion, trymion, trist,
Ond Meddyg rhâd i'm bath yw Iesu Grist.

2 Efe Ei Hun, i roddi im' iachâd,
Yw'r un a fedd bob grâs a rhinwedd rhâd;
Ac arno Ef, sy'n ffynnon o bob dawn,
Mi g'oda'm llef, hwyr, boreu, a phrydnawn.

3 O Iesu gwiw! golch fi o'm pen i'm traed,
Trwy rinwedd pur Dy werthfawr ddwyfol waed;
Rho heddwch im' rhag euog ofnus gur,
A llanw fi â'th anian sanctaidd, bur.

4 Fy Iesu, mae diferyn bach o'th hedd,
Mewn byd o boen yn beraidd hyfryd wledd:
O'r afon fydd i'w hyfed mewn mwynhâd,
Fel melus wîn, yn hyfryd dŷ ein Tad! T. J.

## 494 (14) *Trig gyda mi.*

10au.—Emyn Hwyrol. Ellers. Berlin.

1 TRIG gyda mi, fy Nuw, mae'r dydd yn ffoi,
Cysgodau'r hwyr o'm hamgylch sy'n crynhôi;
Diflana nerth y ddaear hon, a'i bri,
Cynnorthwy'r gwàn, O! aros gyda mi.

2 Yn brysio at ei derfyn mae fy nydd,
Mwynhâd y byd a'i barch yn cilio sydd;
Yn wyw a gwael try pob peth; ond Tydi,
Y Digyfnewid, aros gyda mi.

3 Nid digon gair, na brysiog wel'd Dy wedd,
Ond gwna Dy drigfan gyda mi mewn hedd,

Yn ostyngedig, addfwyn, gyfaill cu,
Nid fel ymdeithydd, aros gyda mi.

4 Bydd yma—nid fel Brenin i greu braw,
Ond mewn llawn hedd, â doniau yn Dy law,
O râs yn llawn, a chalon at bob cri,
Tyr'd, Ffrynd troseddwyr, aros gyda mi.

5 Ti wenaist arnaf yn moreuddydd oes,
Tra'r oeddwn i'n wrthnysig iawn, a chroes ,
Yn ffyddlon buost, er im' D'adael Di,
I'r diwedd, Arglwydd, aros gyda mi.

6 Rhaid im' gael gwel'd Dy wedd bob awr heb ball,
'Beth ond Dy râs a faedda rym y fall ?
Pwy'm deil i'r làn, a'm harwain, fel Tydi ?
Yn mhob rhyw dywydd aros gyda mi.

7 Nid ofnaf ing, na gelyn, nac un gwae,
Os câf, fy Nuw, yn unig Dy fwynhau ;
Pa le mae angeu ? P'le mae'r erchyll fedd ?
Gorchfygaf hwynt trwy rîn Dy nefol wedd.

8 Rho wel'd Dy groes yn yr Iorddonen gref,
Trwy'r niwl, cyfeiria'm golwg tua'r nef ;
Tŷr gwawr y nef, cysgodau'r hwyr a ffŷ,
Wrth fyw, wrth farw, aros gyda mi. LYTE, *c.* I. G.

## 495 (59) *Hiraeth am y dydd.*

M. H.—Melcombe. Eisenach.

1 O! DEUED iachawdwriaeth grâs
Â'i hael drysorau mawr i maes ;
Cymmer allweddau'r nefoedd faith,
A dàdglo'r carchar tywyll, caeth.

2 'R wy'n rhwym, 'r wy'n rhwym, a'r t'w'llwch mawr
Sydd yn fy nghadw'n llesg i lawr ;
Y leiaf radd o oleu'r dydd
A ddettyd f'enaid bach yn rhydd.

3 Pe cawn fy nhraed ar sanctaidd dir,
A gwel'd fy nghartref draw yn glîr,
Gelynion fyrdd, nid ofnwn mwy
Y cryfaf un o honynt hwy.

4 Er llwfrhau, mi bïau'r dydd,
Marwolaeth Iesu'n fywyd sydd,

A phoenau'r groes—anfeidrol rîn,
Sy'n ddigon trech nag angeu 'i hun.

5 Mae lleiaf loes Iachawdwr drud
Yn llawer mwy na beiau'r byd,
Un dafn gwaed, un dwyfol glwy',
Sy'n drymach na'u heuogrwydd hwy.

6 Wel, f'enaid, bellach, tyr'd yn mlaen,
A dechreu'th baradwysaidd gân ;
Aberthwyd pasc, tywalltwyd gwaed,
Fe gliriwyd ffordd i dŷ fy Nhad. W.

## 496 (114) "*Na âd un eiddil gwàn.*"

M. H.—Spires. Brynteg.

1 ANWYLAF wrthrych f'enaid drud,
Fy holl hyfrydwch yn y byd,
Na 'mâd â mi, un eiddil gwàn,
Sy'n teimlo'th eisieu yn mhob màn.

2 O ! aros yma 'ngwrês y dydd ;
Fy nghystudd yn chwanegu sydd ;
Yn griddfan 'r wyf o dàn y groes,
Pa bryd y ffŷ cymylau'r nôs ?

3 O ! aros nes daw'r seren sydd
Yn arwain hyfryd oleu'r dydd,
A ch'odi'r haul oleuwen glîr
Sy'n dangos bryniau Salem dir. W.

## 497 (101) *Ymbiliau y pererin.*

M. H.—Leipsic. Ceredigion.

1 PERERIN wyf mewn anial dir
Sychedig am gysuron gwir ;
Yn crwydro f'amser a llesgau
O hiraeth cywir Dy fwynhau.

2 Haul y Cyfiawnder disglaer, cu,
Tywyna trwy bob cwmwl du ;
O dàn Dy esgyll dwyfol mae
Y Balm o Gilead sy'n iachau.

3 Mae grâs yn rhyw anfeidrol stôr,
A doniau ynot fel y môr ;
O ! gâd i druenusaf ddyn
Gael profi gronyn bach o'i rîn.

4 Ac os bydd i Ti faddeu 'mai,
Ac o f'archollion fy iachau,
Dy glôd, Dy râs, a'th enw gwiw
Gaiff fod fy mhleser tra f'wyf byw.

## 498 (122) *"Chwŷth ar fy ngardd."*

M. H.—Golgotha. Exeter.

1 O! TYRED, y gogleddwynt clîr,
Anadla ar dy lysiau pur;
Ac oni ddeui mewn iawn bryd,
Fe wywa'r grasau oll i gyd.

2 Tyr'd â'r awelon hyny i lawr
Sy'n deffro'r arg'oeddiadau mawr;
Tyr'd dithau, y deheuwynt clŷd,
Sy'n c'odi'n henaid uwch y byd.

3 Doed pob awelon yn eu lle
I g'odi'm hysbryd tua thre';
Gwnaed pob rhyw foddion, pob rhyw ddawn,
I'th lysiau berarogli'n iawn.

4 Fel byddo pob rhyw nefol râs
Yn taenu arogl pur i maes;
A phob tymherau yn eu rhyw
Oll yn croesawu f'anwyl Dduw.

5 O! tyr'd i'th ardd, f'Anwylyd pur,
Mae'r amser hebot' yma'n hir;
Bwyta Dy ffrwyth o nefol rîn,
Pereiddiaf blenaist Ti Dy Hun. DR. W., *ef.* W.

## 499 (98) *Hiraeth am fwynhâd o Dduw.*

M. H.—Leipsic. Ceredigion.

1 O ARGLWYDD! gâd im' Dy fwynhau
Ac onid ê 'r wy'n llwfrhau;
Pa le y câf fi dàn y ne'
Un math o gysur yn Dy le?

2 Rhy drwm yw'm hofnau i gyd o'r bron,
Rhy drwm yw'r cystudd dàn fy mron;
Ni wna fy ofnau ond parhau
Nes cael Dy wyneb i'w fwynhau.

3 Pe cawn gysuron o bob rhyw
O fewn Dy holl greadigaeth wiw,

Os cuddio wnai Dy wyneb cu,
Mae'n uffern eilwaith arnaf fi.

4 Fel disgwyl y gwyliedydd prudd,
O awr i awr, am oleu'r dydd,
Ac felly finnau, o bryd i bryd,
Sy'n disgwyl am Dy wyneb-pryd. W.

## 500 (92) "*Gosod fi megys sêl ar Dy galon.*"

M. H.—Staincliffe. Gibraltar.

1 O IESU'r Archoffeiriad mawr !
Rho'm henw ar Dy fraich i lawr ;
Rho eilwaith, mewn llyth'renau clir,
Ef ar Dy ddwyfron sanctaidd, bur.

2 Fel, pan ddêl arnaf bob rhyw dro,
Fyth gallwyf fod o fewn Dy go' ;
Na byddo arnaf unrhyw faich
Ond fyddo'n pwyso ar Dy fraich.

3 A gwna i'm cariad innau'n rhydd
I redeg atat Ti bob dydd ;
A gwisgo'th enw sanctaidd, llon,
Fel seren ddisglaer ar fy mron.

4 A dôd fy nghalon wâg yn llawn
O'th gariad peraidd, foreu a nawn ;
Câr Dithau finnau yn ddi-drai :
A'r undeb hwn byth f'o'n parhau. W.

## 501 (28) "*Cariad sydd gryf fel angeu.*"

M. H.—Mamre. Winchester.

1 ANFEIDROL felus yw Dy hedd
A chryf yw'th gariad fel y bedd :
Lle ceri Di 'd oes dŵr na thân,
Nac unrhyw rwystr saif o'th flaen.

2 Rhyw fflam angerddol, gadarn, gref,
O fewn i'm hysbryd ydyw ef ;
Gwreichionen yw, mawr iawn ei rhîn,
O'r fflamau sy ynot Ti Dy Hun.

3 Mae'th gariad, gwerthfawrocaf, drud,
Yn fwyd, yn ddïod, imi o hyd ;
Mae'n gwmni, mae'n llawenydd llawn,
Mae'n bob peth imi, foreu a nawn. W.

## 502 (30) *Iesu yn unig wrthrych cariad.*

M. H.—Winchester. Mamre.

1 NID oes un gwrthrych yn y byd
Sydd deilwng o fy serch a'm bryd;
Mae tynfa f'enaid cànaid, cu,
At drysor tragwyddoldeb fry.

2 Pe cawn y byd i gyd yn grwn,
A byw flynyddau fil yn hwn,
Ni fyddai hyn ond gofid blîn
Heb gaffael heddwch Duw Ei Hun.

3 Wel, Iesu garaf, yn ddi-lai,
Efe a'm gwared i o'm gwae;
Fy Mhrïod hynod yw o hyd,
A'm Cyfaill goreu yn y byd.

4 Pan syrthia'r sêr fel ffigys îr,
Pan berwo'r môr, pan losgo'r tir,
Pan dröir yr haul a'r lloer yn ddu,
Pryd hyn mi gara' Mhrynwr cu,

5 Doed fel y dêl, fe'i cara' o hyd
Dàn bob rhyw drallod yn y byd;
Yn nydd y farn, yn angeu chwith,
Fe'i caraf yn y nefoedd byth. W.

## 503 (55) *Hawddgarwch yr Iesu.*

M. H.—Kent. Mainzer.

1 'RWYF yn Dy garu, f'anwyl Dduw,
Yn well na phleser o bob rhyw;
'R wyf yn Dy garu, dyna i gyd
Fy holl ddiddanwch yn y byd.

2 Nis gallaf dd'wedyd yn mha fôdd
Yr wyt Ti'n ddigon wrth fy môdd;
Dadguddir y dirgelwch pur
Yn hollol yn y nefol dir.

3 Pan ddysgwyf 'nabod iaith y wlad,
A phur ganiadau tŷ fy Nhad,
Dechreuaf gân am farwol glwy',
Na chlywir diwedd arni mwy.

4 Can's mae Dy harddwch, Iesu mawr,
Yn fwy na harddwch nef a llawr;

A harddach, harddach fyth o hyd
Yw hyfryd wedd Dy wyneb-pryd.

5 Yn mhen rhyw oesoedd rif y gwlith,
Fe'th wêl y saint yn harddwch byth :
A blâs o newydd iddynt hwy
Fydd canu am Dy farwol glwy'. W.

## 504 (100) *Gweddi dan deimlad o wrthgiliad.*

M. H.—Leipsic. Ceredigion.

1 'RWYF yma, Arglwydd, wrth Dy draed,
Yn teimlo eisieu rhîn Dy waed :
Yr wyf yn dlawd ; a phwy a ŵyr,
Ond Ti Dy Hun, fy eisieu'n llwyr ?

2 Gwrthgilio wne's, gwrthgilio 'r wy',
Os heb Dy nerth, gwrthgiliaf fwy ;
'R wy'n blino ar deganau'r byd,
A'u caru 'r wyf er hyny i gyd.

3 O Iesu ! fy Eiriolwr mawr,
Nid felly câf fy meiau i lawr ;
P'am 'r wyt Ti c'yd yn sefyll draw ?
'Bryd gwelwyd mwy o eisieu'th law ?

4 Claf wyf am deimlo gwaed yr Oen,
Yn rhodio beunydd mewn rhyw boen ;
'D oes unrhyw eli rŷdd iachâd
Yn unig, Iesu, ond Dy waed. W.

## 505 (41) *"Na ofelwch dros dranoeth."*

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 O ARGLWYDD d'wêd i mi pa lun
Y gallaf gario 'meichiau f' hun ;
Mawr ydynt hwy, a mi sydd wàn ;
Pa fodd y c'oda'i 'r lleia' i'r làn ?

2 D' ysgwyddau Di ddeil feichiau mawr,
Mae'n hongian arnynt nef a llawr :
Am hyn, fy holl ofidiau i
Gânt bwyso'n gyfan arnat Ti.

3 Mae'r holl greadigaeth yn Ei law,
Ef sy'n ei threfnu yma a thraw ;
I ddadgan Ei anfeidrol glôd
Mae pob rhyw drefn ag sydd yn bôd.

4 O! nertha f'enaid gwàn ei ffydd
'Ro'i 'i ofal arnat Ti bob dydd;
Heb flino ynghylch amseroedd draw
Y rhai fe allai byth ni ddaw. W.

## 506 (90) *Rhyfeddod y credadyn.*

M. H.—Staincliffe. Gibraltar.

1 RHYFEDDU'r wyf, O Arglwydd cun!
I Ti fy ngalw erioed yn un
O dorf yr annuwiolion sy
Yn lliwio'r ffordd tuag uffern ddu.

2 'D oedd neb ddaliasai'm henaid gwàn
I ddringo creigydd mawr i'r làn,
A myn'd trwy lŷnoedd dyfnion, chwith,
Lle boddodd mil heb g'odi byth.

3 Wel, eto cymmorth f'enaid gwàn,
Nes d'od o'r moroedd oll i'r làn,
A chael fy nhraed ar sanctaidd dir
O fewn i gaerau'r ddinas bur.

4 Yn fynych, fynych, Iesu cu,
Dadguddia'th fod yn eiddo i mi;
Mewn stormydd mawr yn wastad gâd
Im' ddysgu llefain, Abba, Dad! W.

## 507 (51) *Nerth ffydd.*

M. H.—Kent. Mainzer.

1 FFYDD ydyw'm sicr sail y daw
Yr hyn wy'n ddisgwyl oddi draw;
Fy nghadarn sicrwydd yw, am nôd,
O'r peth nis gwelodd neb erioed.

2 Trwy ffydd ehedeg 'r wyf yn hy'
I entrych awyr deneu fry,
Ac yno'n gwel'd gogoniant llawn,
Trwy sicrwydd anffaeledig iawn.

3 Trwy ffydd, fy ngobaith, cadarn yw,
Fe'i seiliwyd ar gyfiawnder Duw;
Er maint yw llîd a brâd y ddraig,
Ni soddaf byth tra ar fath graig.

4 Trwy ffydd 'r wy'n cadw deddf fy Nuw,
Yn difa llygredd o bob rhyw;

A'r fath yw'r rhinwedd sy'n fy ffydd,
Mae'n puro 'nghalon nôs a dydd.

5 Symmuda'm ffydd fynyddoedd im',
O bechod ac euogrwydd llym ;
Fe'i tafl i eigion môr yn wir—
Y môr o waed a chariad pur. W.

## 508 (56) *Dymuniad y saint.*

M. A.—Kent. Mainzer.

1 PE cawn adenydd boreu wawr,
Ehedeg wnawn dros foroedd mawr,
Nes bod yn ngolwg Seion wiw,
Lle mae fy Mhrïod i yn byw.

2 Gwŷn fyd 'gawn rodio gyda Duw,
Fel Enoch fyddlawn, tra f 'wyf byw ;
Ehedeg wnawn o'r byd i maes,
Heb ofni briw yr angeu glâs.

3 Yn Peniel 'r wyt, fy enaid, clyw,
Ymdrecha'n deg âg angel Duw ;
Pwy ŵyr na châf, cyn c'odi'r wawr,
Wir etifeddu'r fendith fawr. W.

## 509 (75) *Byw yn ngolwg y nefoedd.*

M. H.—Angels' Hymn. Ombersley.

1 PAN caffwyf wel'd y nefol wledd,
A phrofi blâs Dy ddwyfol hedd,
'R wy'n gwel'd gogoniant mwya'r byd
Fel peth annheilwng o fy mryd.

2 Yn ngweledigaeth nefoedd fry
'R wy'n prisio pethau'n werthfawr sy ;
Pan yr agoro pyrth y nef
'R wy'n canfod Ei ogoniant Ef.

3 'R wy'n gwel'd dirgelion yn Ei waed
Na chafwyd eto mo'u mwynhâd ;
Grâs a gogoniant, ynddo'i Hun,
Uwch law erioed feddyliodd dyn.

4 Wel, dyma'r unig fàn, fy Nuw,
Dymunaf aros tra f'wy' byw ;
Blaen ffrwyth yw hyn o'r hyfryd wledd
Gâf ei mwynhau tu draw i'r bedd.

5 O! boed fy nghlustiau'n gwrando o hyd
Ddirgelion distaw nefol fyd,
A'm pleser unig ddydd a nôs,
Yn nwfn wirioneddau'r groes. W.

## 510 (86) *Difyrwch dàn y groes.*

M. H.—Whitburn. Melancthon.

1 'DOES dim ar wyneb daear lawr,
A eilw meibion Adda'n fawr,
A bwysa yn y glorian fry
Dragwyddol hedd fy Iesu cu.

2 A thyna'r cyfoeth ro'ed i mi,
Anfeidrol drysor Calfari,
A brynwyd yno ar y groes
Trwy ddagrau cryf a chwerw loes.

3 O! gariad o anfeidrol ryw!
Rhaid marw'n lân o Iesu, 'm Duw;
'D oedd yn y nefoedd ronyn llai
A roisai daliad am fy mai.

4 Wel, minnau bellach wnaf fy nyth
O dàn Ei aden dawel byth,
Ac mi adawaf îs y ne'
Bob peth yn angof ond Efe.

5 Cymmeraf fy nifyrwch mwy
Fyfyrio ar Ei ddwyfol glwy';
Mi dreuliaf ddiwedd bỳr fy oes
Ar ben Calfaria, dàn y groes. W.

## 511 (99) *Gweddi am sancteiddrwydd.*

M. H.—Leipsic. Ceredigion.

1 FY Iesu, atat 'r wyf yn d'od,
Y truenusaf ddyn erioed,
I ymguddio dàn Dy aden glŷd,
Dàn demtasiynau maith y byd.

2 'D oes unrhyw gyflwr, unrhyw fàn,
Heb dorf yn curo ar f'enaid gwàn;
Ond er Dy ogoniant, Arglwydd cun,
Lladd Dy elynion câs Dy Hun.

3 Gwisg fi â'r fantell ddisglaer iawn
A wnaed ar Galfari brydnawn;

A golch aneirif feiau f'oes
Yn nwfr pur a gwaed y groes.

4 Gwasgara y cymylau sydd
Yn cadw'th nefol wedd yn nghudd;
A nertha fi â'th hyfryd hedd,
Yn erbyn ofnau, angeu, a'r bedd. W.

## 512 (65) *Nefoedd ar y ddaear.*

M. H.—Rockingham. Carey.

1 NEF yw i'm henaid yn mhob màn
Pan brofwyf Iesu mawr yn rhan;
Ei weled Ef â golwg ffydd
Dry'r dywell nôs yn oleu ddydd.

2 Mwynhâd o'i râs maddeuol mawr,
Blaen brawf o'r nef yw yma'n awr;
A darllen f'enw ar Ei fron
Sy nefoedd ar y ddaear hon.

3 Ac er na welaf ond o ràn,
Ac nad yw profiad ffydd ond gwàn;
Y defnyn bach yn fôr a fydd,
A'r wawr a ddaw yn berffaith ddydd. R. W.

## 513 (50) *Meddwl am y nefoedd.*

M. H.—Kent. Mainzer.

1 MAE meddwl am y nefol fro
I mi'n hyfrydwch lawer tro;
O! na b'ai'r munyd o fwynhâd
Yn oesoedd mewn tragwyddol wlad.

2 'R wyf am gael profi dàn fy mron
Dystiolaeth o fy hawl yn hon;
Cael profi'r gwynfyd pur, di-lŷth—
Digonedd heb ddigoni byth.

3 'D yw oesoedd byd mo'r munyd awr
Wrth oesoedd tragwyddoldeb mawr;
O fewn i'r diderfynol dir
Bydd cartref f'enaid cyn b'o hir. D. T.

## 514 (146) *Hiraeth am Dduw.*

8. 8. 8.—Gweddi Luther. Hwyrfryn.

1 'DOES unrhyw bleser yn y byd
Trafferthus a all lanw 'mryd,
Dim ond cael edrych ar Dy wedd:

Fy nymuniadau oll yn un
Derfynant ynot Ti Dy Hun,
  Fy holl ddigrifwch a fy hedd.

2 Mi dòra'r c'lymau oll i gyd
Sydd rhyngwyf a gwrthrychau'r byd,
  A phob cariadau gwâg y llawr;
Gadawaf enwau brawd a ffrynd,
A châr a phrïod anwyl, fyn'd
  Yn ddim er mwyn Dy enw mawr.

3 O! rhwyga'r cwmwl dudew sy
Yn cuddio gwedd Dy wyneb cu,
  Yr hwn yn llanw'r nefoedd sydd;
Pelydrau pur Dy ddwyfol wedd
Oleuant gonglau t'w'lla'r bedd,
  Gan droi y nôs yn berffaith ddydd.

4 Pan 'drychwy' i'r dwyrain, neu i'r de,
'D oes neb yn anwyl fel Efe;
  Mae'n llanw f'ysbryd oll o'r bron;
Dioddefaf golled o bob rhyw
Yn mhresennoldeb pur fy Nuw,
  A holl gystuddiau'r ddaear hon. W.

## 515 (147) *Digonolrwydd llawenydd ger Dy fron.*

8. 8. 8.—Pantycelyn. Hengoed.

1 TYDI, fy unig Arglwydd, yw
  Terfyniad cystudd o bob rhyw,
  A diwedd gofal, diwedd gwae:
Pob trallod sydd o fewn y byd
Sy'n darfod ynot Ti ynghyd;
  'D oes yn Dy gwmni boen na thrai.

2 Pa bryd y ffŷ cymylau'r nôs,
Sy'n cuddio rhinwedd gwaed y groes?
  Pa bryd câf wel'd yn oleu clir
Yr etifeddiaeth ddaeth i'm rhan,
Wrth goelbren nef, yn oreu fàn
  O'r hyfryd, sanctaidd, nefol dir?

3 Mae meddwl am yr oriau pur
Câf rodio paradwysaidd dir,
  Ac yfed pleser sy'n parhau,

Mewn gwlad heb lewyrch haul na lloer,
Na therfysg tir, na thwrf y môr,
Yn awr yn gwneyd im' lawenhau. W.

## 516 (132) *Yr un testyn.*

8. 8. 8.—Llangoedmor. Llangollen.

1 YR holl greadigaeth faith ynghyd,
Neu yn y môr, neu yn y byd,
Yn eitha'u rhwysg, eu rhif, a'u rhyw,
Yr holl ogoniant maith yn un
A welodd neu a glywodd dyn,
Grynhow'd yn hollol yn fy Nuw.

2 Tydi yw'r ffynnon fawr ddi-drai
Sy'n rhoddi dyfroedd i barhau,
A ffrydiau o anfeidrol ryw ;
Rhyw dir o gariad yw Dy hedd,
A nef y nef yw gwel'd Dy wedd,
Y nawdd a'r cysur mwya'n fyw.

3 'D oes doniau dàn y wybr lâs
A ddŷd Dy enw mawr i maes,
Na geiriau ettyb îs y rhôd ;
Ac nis gall yr angylion, chwaith,
Trwy gymmysg pur ganiadau maith,
Ddadseinio'r ganfed ran o'th glôd.

4 Pa bryd câf deimlo'r awel gref
Sy'n chwythu i ffwrdd gymylau'r nef ?
I mi gael gweled Salem bur—
Gogoniant dwyfol uwch y rhôd,
Nas gwelodd llygad dyn erioed,
Ac nas mwynheir mewn anial dir. W.

## 517 (142) *Llef y llesg pan ar ddiffygio.*

8. 8. 8.—Gweddi Luther. Hwyrfryn.

1 O ! P'LE mae'r manna perffaith gwir,
A'r dyfroedd tawel, sanctaidd, pur ?
Mae'm syched, Arglwydd, yn parhau :
'R wy'n methu tŷnu dŵr yn awr,
Fy anghrediniaeth sydd mor fawr ;
O ! hollta 'r graig ; 'r wyf bron llesgau.

2 'R wyf oll yn friw, 'r wyf oll yn wàn,
A neb ond Ti a'm deil i'r làn;
Dy Hunan wyt yn fwy na'r byd:
Yr olwg leiaf ar Dy wedd
Sy'n drech nag angeu, trech na'r bedd;
Dy Hunan wy'n ddymuno i gyd.

3 Na phall fy nghais, mae yn brydnawn,
A minnau'n llesg ac eiddil iawn,
A'r afon fawr heb fyned trwy;
'R wy'n ofni ei llêd a'i dyfnder du,
A'i thònau maith cynddeiriog sy
Yn magu ynof ofnau mwy.

4 Pa bryd câf gario'n lân y maes
Ar holl derfysgoedd angeu glâs,
Heb mwy frawychu wrth ei wedd?
Dy gariad dyro o'r fath rym,
A wnelo wyneb angeu'n ddim;
Dy unig gariad goncra'i gledd. W.

## 518 (144) *Hiraeth am wlad o hedd.*

8. 8. 8.—Gweddi Luther. Hwyrfryn.

1 P'AM, Arglwydd, yma, p'am mae draw,
Ryw elyn marwol ar bob llaw—
Pleser a gofid bob yn ail,
Yn tŷnu'm llygaid, tŷnu'm bryd,
At ryw wrthrychau sy'n y byd—
Rhyw dwyll disylwedd a di-sail?

2 Trwy darth, trwy niwl, mi wela'r fàn
Ddymunai'm henaid gael i'w ràn
Ardaloedd grâs, ardaloedd hedd;
Y wlad mae cariad pur di-drai,
Fel afon, yn ei dyfrhau,
Tu hwnt i angeu du a'r bedd.

3 Myfi gâf yno'n dawel fyw
Uwch brâd gelynion o bob rhyw—
Uwch pob rhyw drafferth, pob rhyw wae:
Câf dreulio tragwyddoldeb mwy
I ganu am Ei ddwyfol glwy',
Mewn anthem fythol i barhau.

4 Pwy a chwennychai fyw'n y byd
Sy'n dwyll, sy'n drafferth trwyddo i gyd—
Mil mwy ei ofid nag ei flâs,
Yn lladd o hyd, heb fyth fywhau,
A'i groesau trymion yn parhau?
O! am drigfanau nefol râs. W.

## 519 (129) *Heddwch Duw.*

8. 8. 8.—Mawl. Altorf.

1 O BOB trysorau dàn y nef,
Y penaf yw Ei heddwch Ef,
Ei fath ni fedd yr India fawr;
Yn unig, hwn a'm ceidw'n gryf
Yn erbyn fy ngelynion hyf,
Na chaffont byth fy mhen i lawr.

2 O! gariad uchaf fu erioed,
Fry oddi ar, neu îs, y rhôd,
Blaen brawf o'r gwleddoedd nefol, pur:
Ni cheisiaf byth, tra dàn y nef,
Ond teimlo'i awel hyfryd ef,
Digonir fi yn y nefol dir.

3 O! dowch yn mlaen, yn ddi-nacâd
Mi glywaf sŵn caniadau'r wlad—
Peth o'r gorfoledd, peth o'r clôd:
Difyrwch sydd yn nghwmni Duw
Nad oes o dàn y sêr yn byw
A wybu am ei fath erioed. W.

## 520 (138) *Digon yn Nuw.*

8. 8. 8.—Nashville. St. Paul's.

1 'DOES bleser dâl tu yma i'r ne',
Nac un diddanwch leinw le
Cymdeithas fy Iachawdwr cun;
'D oes gwagder, tlodi, o un rhyw,
Nac eisieu dim lle b'o fy Nuw,
Mae'n llanw'r nefoedd fawr ei hun.

2 Y sawl a'th gaffo, gwŷn fyd hwy,
Ni allant fyth ddymuno mwy;
Ti lenwi eu heisieu i gyd o'r bron:

Mae môr, a thir, a da, a dyn,
Oll yn Dy heddwch Di Dy Hun;
A mwy nag fedd y ddaear hon.

3 Anghenus wyf, bechadur gwàn,
Am hyn 'r wy'n tỳnu tua'r làn,
Yn gweled digon gan fy Nuw—
Trysorau, pe cawn eu mwynhau,
A laddai 'ngofid, laddai 'ngwae,
Ac a'm gwnai'n llawen tra fa'wn byw. W.

## 521 (145) *Haeddiant Crist yr unig obaith.*

8. 8. 8.—Gweddi Luther. Hwyrfryn.

1 FY ngwrthgiliadau o bob rhyw,
A'm beiau mwyaf, dua'u lliw,
Wyf, Iesu, 'n roddi i Ti'n un;
'D oes neb all sefyll dros fath rai,
Na neb anturia 'nghyfiawnhau
O flaen y nef ond Ti Dy Hun.

2 Pe gwypent hwy, 'r annuwiol fyd,
Y ganfed ran o'm beiau i gyd,
Hwy haerent nad oes im' iachâd;
Ond o'u hardaloedd 'r wyf yn troi,
A thua'r nefoedd 'r wyf yn ffoi,
At haeddiant llawn y dwyfol waed.

3 Yr ochr draw i'r anial hyn,
Lle nad oes niwl, na ffôs, na llŷn,
Ond haul yn c'odi foreu clir,
'R wyf yn hiraethu bod fy lle,
Yn agos i gynteddau'r ne',
Ar sanctaidd, nefol, hyfryd dir. W.

## 522 (143) *Erfyniad am gymmorth ar y daith.*

8. 8. 8.—Gweddi Luther. Hwyrfryn.

1 DUW, bydd yn gymmorth ar fy nhaith,
'R wy'n ofni morio'r cefnfor maith,
Tymhestloedd angeu sydd o'm blaen;
Am hyny, Arglwydd, bydd ger llaw,
Yn cadw dychryniadau draw,
Mewn cyfyngderau dŵr a thân.

2 Ti'm dygaist, trwy Dy anfeidrol râs,
O'r elyniaethol Aipht i maes,
Tir o euogrwydd a phob gwae :
Dŵg fi eto trwy'r anialwch maith,
Heb gyfeiliorni, i ben fy nhaith,
Lle ca'i 'n dragwyddol Dy fwynhau.

3 Er amled, cryfed, ac mor hy',
Yw y gelynion imi sy,
Mwy ydyw nerth Dy anfeidrol râs ;
Distawa'r dorf, gorchfyga'r gâd,
Sydd am fy rhoddi dàn eu traed,
A dŵg fi o'u cadwynau i maes. W.

## 523 (149) *Nerth yr addewidion.*

8. 8. 8.—Pantycelyn. Hengoed.

1 'DOES arall fàn i ro'i fy mhwys
Ond ar Dy addewidion dwys—
Y geiriau dyngwyd yn y nef :
Ni ildiaf o fy ngobaith ddim,
Fy ngobaith yw fy unig rym,
Yn Ei addewid gadarn Ef.

2 A thyna'r trysor sydd yn well,
Na golud maith yr India bell,
Nis gâd i iota fyn'd ar goll ;
Disgwyliaf foreu a phrydnawn,
Nes gwlawio'r fendith berffaith, lawn,
Ar f'enaid egwan, oll yn oll.

3 Mae'th drugareddau maith eu rhîn
Yn d'od i lawr fel melus wîn,
O oes i oes, heb dranc, heb drai ;
Dy gariad sy'n anfeidrol 'stôr,
Yn gyflawn berffaith fel y môr,
Ac yn dragwyddol yn parhau. W.

## 524 (155, 156) *"Ti ydwyt loches i mi."*

8. 8. 8. 6.—Tobleria. Cariad.

1 ER uched yw y bryniau fry,
A sŵn tymhestloedd tywyll, du,
A'r holl freuddwydion ofnau sy,
Anturiaf eto 'mlaen ;

Mae nerth y nefoedd fry yn fwy
Na myrdd o'u dychryniadau hwy ;
Mae haeddiant dwyfol farwol glwy'
Yn drech na dŵr na thân.

2 Fy noddfa gadarn, fythol, yw
Y gair a ddaeth o enau Duw—
Y ceidw Ef fi byth yn fyw,
Ffyddlondeb yw Ei râs :
Mi welaf olion traed Ei saint,
Dàn y cystuddiau mwya'u maint,
Yn cadw'u cysur, cadw'u braint,
Yn wyneb angeu glâs.

3 Os rhaid cyfarfod ar fy nhaith
Â rhyw gystuddiau mawrion, maith,
A thrallod eto erioed ni ddaeth
Yn gawod ar fy mhen ;
Câf yfed o'r afonydd clir
Sy'n tarddu fry yn Salem dir,
O dàn yr orsedd ddwyfol, bur—
Cysuron nefoedd wèn. W.

## 525 (157) *Cariad Crist a'i ddarpariaeth.*

8. 8. 8. 6.—Barnsfield. Beulah.

1 FY nghoelbren syrthiodd ar y wlad,
Yr etifeddiaeth oreu gaed,
Bwrcasodd dwyfol, nefol, waed
F' Anwylyd a fy Nuw ;
Fy Mrawd a 'Mhrïod yw Efe,
F' Eiriolwr addfwyn yn y ne'
Ag sydd Ei Hun yn llanw lle
Pob rhyw gariadau'n fyw.

2 Yn mhlith plant dynion, ni cheir un
Yn para'n gywir fel Ei Hun,
Nid yw Ei gariad, megys dyn,
Yn gŵyro yma a thraw ;
Ond rhâd anfeidrol yw Ei râs,
I bechaduriaid cyndyn, câs ;
A garodd Ef, fe'u dŵg i maes
O'u pechod ac o'u braw.

3 O addfwyn Iesu! gâd im' fôd
O fewn Dy gorlan, dàn Dy nôd,
A phob rhyw nwydau dàn fy nhroed,
Yn gyflawn o Dy hedd;
Yn nghanol terfysg a phob gwae,
Croes a chystuddiau yn amlhau,
Heb fedru dim ond llawenhau,
Nes gorwedd yn y bedd. W.

## 526 (159) *Ymbil am gynhaliaeth.*

8. 8. 8. 6.—Darowain. Llanddewi.

1 'RWYF bron, 'r wyf bron a llwfrhau
Wrth wel'd grasusau yn llesgau,
A'm temtasiynau yn parhau
Yn danllyd yn y blaen;
O! dowch, awelon sanctaidd dir,
Dàn aden dawel Ysbryd pur,
Disgynwch arnaf cyn b'o hir,
Diffoddwch uffern dân.

2 'R wy'n blino, eisieu gwel'd y wlad
Ro'w'd imi mewn addewid râd,
A phrofi cyflawn wir fwynhâd
O sypiau'r Ganaan wiw;
Awn dros fynyddau mawrion, maith,
A'r bryniau mwyaf ar fy nhaith,
Heb flino dim, na gorphwys chwaith,
Nes awn i dŷ fy Nuw.

3 Rhaid imi gael rhyw faint o'r grawn
Sy'n werthfawr, ac yn felus iawn,
Yn tarddu o'r Winwydden lawn
A wasgwyd ar y groes;
'D oes dim a ddeil fy ysbryd gwàn,
I ddringo creigydd hyll i'r làn,
Nes teimlwyf i mi brofi rhan
O'i ddwyfol, farwol loes. W.

## 527 (161) *Yr enaid yn wâg heb gariad Crist.*

8. 8. 8. 6.—Darowain. Llanddewi.

1 NID yw y ddaear fawr i gyd
Yn deilwng o fy serch a'm bryd,
Nac unrhyw wrthrych yn y byd,
'R wy'n caru gwrthrych mwy:

Nid llai y sawl wy'n garu yw
Na pherffaith ddyn a pherffaith Dduw ;
Dioddefodd unwaith farwol friw :
O! werthfawrocaf glwy' !

2 Ni fyddai bywyd maith, pe cawn,
Ond diddim a disylwedd iawn
Heb gael rhyw ran o'th nefol ddawn
Yn wastad i'w fwynhau :
'D oes un o'm holl synwyrau i gyd,
Nac un o nwydau'm henaid drud,
Â gwrthrych iddo yn y byd,
Am hyny, tyr'd yn glau.

3 'R wy'n dlawd, 'r wy'n dlawd o'r oll yn awr,
Nid wy'n cyttuno dim â'r llawr,
'R wy'n griddfan dàn anobaith mawr,
Os hebot' rhaid im' fyw :
Ac nid oes dim o dàn y ne'
Wna i fyny am ei golli 'Fe,
Na dim atteba yn Ei le ;
Anfeidrol yw fy Nuw.

4 Wel, dyma'r cariad sydd yn awr
Yn curo pob cariadau i lawr,
Yn llyncu enwau gwael y llawr
Oll yn ei enw'i hun :
O! fflam angerddol, gadarn, gref,
O dân ennynwyd yn y nef!
Tragwyddol gariad ydyw ef,
Wnaeth Dduw a minnau'n un. W.

## 528 (153) *Mwynhâd o Dduw yn llanw yr enaid.*

8. 8. 8. 6.—Tobleria. Cariad.

1 NID oes ond f' Arglwydd mawr Ei ddawn
A leinw f'enaid bach yn llawn ;
Nis gallwn ddàl dim mwy pe cawn :
Mae Ef yn ddigon mawr ;
A digon, digon, digon yw
Dy hyfryd bresennoldeb gwiw,
Yn angeu ceidw hyn fi'n fyw ;
A boddlon wyf yn awr.

2 Anfeidrol berffaith, sanctaidd Fôd,
Gwna imi wel'd na chaed erioed,
Ac na cheir pleser dàn y rhôd,
Yn rhagor na'th fwynhau ;
Wel, dyma'r oriau gofiaf mwy,
A'r pleser gefais ynddynt hwy
Ddymunaf bellach byth tra b'wy',
Yn unig i barhau.

3 Wel, ffowch ar ffrwst, bleserau i gyd,
Diflenwch, holl wrthrychau'r byd,
Na chaffoch effaith ar fy mryd
I'm dwyn oddi wrth fy Nuw :
Doed tân a diluw yn gyttûn,
Aed dŵr a daear fawr yn un,
Mi fyddaf yr hapusaf ddyn,
Mae'm Iesu eto'n fyw.

4 A phe diffoddai'r heulwen fawr,
Pe syrthiai sêr y nen i lawr,
A phe diffygiai'r foreu wawr,
A th'w'llwch gael ei le ;
Cawn drigo mewn sancteiddiol dir,
Yn llewyrch Haul cyfiawnder pur,
Tragwyddol faith ddïwrnod clir,
O fewn i furiau'r ne'. W.

## 529 (154) RHAN II.

8. 8. 8. 6.—Tobleria. Cariad.

1 PAN' collo gwellt y maes eu dawn,
A'r wybr faith ei boreu a nawn,
A distryw dd'od yn gyfan iawn
Ar nef a daear lawr ;
Câf weled sanctaidd, newydd dir
O degwch ac o bleser pur,
Yn tarddu i maes o'r Duwdod gwir,
Gyda gogoniant mawr.

2 Ac yno, f'enaid bach, ti gâi
Dragwyddol bleser i'w fwynhau,
N'all angel fyth, a dyn yn llai,
Yn hollol ddodi i maes ;

Ond digon yw i'm henaid gwàn,
Myfi gâf esgyn, gŵn, i'r làn,
Ac yfed yno yn y màn,
Fyth o afonydd grâs.

3 O! tòr fy llyffetheiriau'n glau,
Mae hiraeth arnaf Dy fwynhau,
A dŵg fi i maes o'r carchar clai,
Rho fy nghadwynau'n rhydd:
Rhy fach, rhy brin, i mi yn awr
Yw'r holl greadigaeth ëang, fawr,
'R wy'n griddfan beunydd ar y llawr,
Am wel'd y boreu ddydd.

4 Myfyrio am fyn'd sydd felus iawn;
Mae f'enaid eisoes, fore a nawn,
Am gynnefino'i nefol ddawn,
A chwareu'i aden bur,
Fel pe b'ai am anturio'n hy'
Trwy ganol y cymylau fry,
A neidio i mewn i blith y llu,
Lle mae'r Messiah gwir. W.

## 530 (160) *Bywyd yn yr anialwch.*

8. 8. 8. 6.—Darowain. Llanddewi.

1 PA beth a wnaf fi yma'n byw
Yn mhell, yn mhell, oddi wrth fy Nuw,
Mewn gwledydd sychion drwg eu rhyw,
Lle dianc pob mwynhau?
Os llewyrch bach o oleu gawn,
Ar ol cymylau duon iawn,
Daw tymmestl eilwaith cyn prydnawn
O ddychryn, aeth, a gwae.

2 O! gwna i mi wylio bob yr awr;
'R wy'n rhodio mewn peryglon mawr,
Ac nid oes dim ond llewyrch gwawr
Dy wyneb gwridog, gwŷn,
Wna imi deithio'r anial nôs,
'R hyd llwybr cyfyng angeu'r groes,
Myfyrio am Dy angeu loes,
Ac hefyd canu hyn.

3 Pan ymddattodo'r tŷ o bridd,
A'm henaid i ddihengu'n rhydd
O'r holl gadwynau cryfion sydd
  Yn dàl yn awr yn dŷn,
Câf deimlo pleser uwch y rhôd
Na ddaeth i galon dyn erioed
I feddwl, nac i gredu, fod
  Y fath fwynhâd a hyn. W.

## 531 (158) *Bywyd yn yr anialwch.*

8. 8. 8. 6.—Barnsfield. Beulah.

1 CHWY-CHWI, ffynhonau'r bywyd gwir,
  Afonydd o bleserau pur,
Chwi lifwch dros yr anial dir—
  Fy enaid llesg ei wedd ;
Chwi lènwch yr ëangder mawr—
Y nwydau sydd yn wâg yn awr
Ac yn hiraethu bob yr awr
  Am bleser 'draw i'r bedd.

2 Fe gaiff fy serch, fe gaiff fy mryd,
Ei lanw'n lân ar hyn o bryd,
Pob rhan yn llwyr o'm henaid drud
  A gaiff ei nefol ddawn ;
Pob rhyw ddymuniad gaiff fwynhâd
Anfeidrol faith, anfeidrol râd,
'N ol deffro yn y nefol wlad,
  Ac ar Dy ddelw'n llawn.

3 Pob hiraeth, pob sychedig ddawn,
Fydd marw mewn llawenydd llawn,
Ac enw gobaith mwy nis cawn,
  Nac eisieu byth, na thrai ;
Ond rhyw bleserau maith di-lŷth,
Heb drai na therfyn iddynt byth,
Yn sicr fel mynyddau syth,
  Gawn bellach i'w mwynhau.

4 Fy Nuw, fy Nuw, i gyd Ei Hun,
Fydd fy anfeidrol gariad cun,
Llawenydd anchwiliadwy'n un,
  A chariad 'hono dardd :

Eangder o oleuni clîr ;
Mwy disglaer nag o'r dwyrain dir ;
Môr o bleserau perffaith pur,
  Gwrthrychau nefol hardd. W.

## 532 (165) *Ymestyn at y pethau o'r tu blaen.*

8. 8. 6.—Llanelli. Howden.

1 O IESU byw ! Iachawdwr byd,
  Dŵg fi yn glau i'th fynwes glŷd,
  'Gael prawf o'th gariad cu,
Sydd well na'r gwîn i'm henaid gwàn,
Am hyn'r wy'n daer am gael d'od dàn
  Dy dirion aden Di.

2 Dy gariad dwys yn f'enaid dôd,
Ac ynddo fyth gâd imi fôd,
  Yn nofio tua'r ne',
Nes gado'n deg yr anial dir,
A glànio o fewn i Salem bur
  O'm gofid, ac o'm gwae. W.

## 533 (243) SALM XVII. 6, 7, 8, 15.

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 'RWY'n galw arnat, am Dy fôd
  Yn Dduw parod i wrando ;
Gostwng Dy glust, a chlyw yn rhodd
  Fy holl ymadrodd eto.

2 Yn anwyl cadw fi rhag twyll,
  Fel anwyl ganwyll llygad ;
Yn nghysgod Dy adenydd Di,
  O ! cuddia fi yn wastad.

3 A mi mewn myfyr, fel mewn hûn,
  A welaf lun D' wyneb-pryd ;
A phan ddihunwyf o'r hûn hon
  Y byddaf ddigon hyfryd. E. P.

## 534 (199) SALM LXIII. 3, 4, 5, 7.

M. S.—Oldenburg. Trallwm.

1 DY faith drugaredd, O Dduw byw !
  Rhagorach yw na'r bywyd ;
Â'm genau rhoddaf i Ti fawl,
  A cherdd ogonawl hyfryd.

2 Fel hyn tra fyddwyf byw y gwnaf,
Fel hyn y'th folaf eto,
Ac yn Dy enw Di sydd gu
Y câf ddyrchafu 'nwylo.

3 Digonir f' enaid fel â mêr,
A chyflawn frasder hefyd,
A'm genau gân y moliant Tau,
Â phur wefusau hyfryd.

4 Ac am Dy fod yn gymmorth im',
Drwy fawr rym Dy drugaredd,
Dàn gysgod Dy adenydd clau
Y mae fy holl orfoledd. E. P.

## 535 (177) Salm ciii. 1, 2, 11—13.

M. S.—Llangranog. Langdale.

1 FY enaid, mawl Sanct Duw yr Iôn,
A chwbl o'm heigion ynof;
Fy enaid, n'âd fawl f' Arglwydd nef,
Na'i ddoniau Ef yn angof.

2 Yr Hwn sy'n maddeu dy holl ddrwg,
Yr Hwn a'th ddŵg o'th lesgedd;
Yr Hwn a weryd d'oes yn llon,
Drwy goron o'i drugaredd.

3 Cyhyd ag yw'r ffurfafen fawr
Oddi ar y llawr o uchder,
'R un faint i'r rhai a'i hofnant Ef,
Fydd nawdd Duw nef bob amser.

4 Os pell yw'r dwyrain oleu hîn
Oddi wrth orllewin fachlud,
Cyn belled ein holl bechod llym
Oddi wrthym Ef a'i symmud.

5 Ac fel bydd nawdd, a serch, a chwant,
Tad da i'w blant naturiol,
Cawn ninnau serch ein Tad o'r nef,
Os ofnwn Ef yn dduwiol. E. P.

## 536 (254) Salm cxxx.

M. S.—Saxony. Arenig.

1 O'R dyfnder gelwais arnat, Iôn;
O Arglwydd tirion! gostwng

Dy glust, ystyria y llais mau—
Clyw fy ngweddïau teilwng.

2 Duw, pwy a sai'n Dy wyneb Di,
Os creffi ar anwiredd?
Ond fel y'th ofner Di yn iawn,
Yr wyt yn llawn trugaredd.

3 Disgwyliais, f' Arglwydd, wrth fy rhaid,
Disgwyliodd f' enaid wrtho;
Rho'is fy holl obaith yn Ei air,
Fy enaid gair yn effro.

4 Ei drugareddau ânt ar lêd,
Fe rŷdd ymwared ini;
Fe weryd Isräel:—fel hyn
Fe'i tŷn o'i holl ddrygioni.
E. P.

## 537 (239) *Gorphwysfa yn nghariad Duw.*

M. S.—Gwilym. Paradwys.

1 YN mynwes glŷd yr anwyl Oen,
Heb friw na phoen, 'r wy'n llechu;
Ac oddi fewn Ei glwyfau cu
Mae f'enaid i'n cartrefu.

2 Nid llygad wêl, na chlust a glyw,
Nac un dyn byw ddychymyg,
Y tawel hedd rŷdd Duw bob dydd
I'r rhai sydd ddewisedig.

3 Er bod yn hir mewn anial fàn,
Yn 'mofyn am orphwysfa,
O'r diwedd de's—O! ryfedd fraint!
I'r màn mae'r saint yn gwledda.

4 Wrth linyn rhâd fe ddaeth i'm rhan
Y lle a'r màn hyfryta',
Mewn brasder bro 'mhlith brodyr lu
Sy'n canu Aleluwia.

5 Mi ŵn, pe cawn dafodau hy'
Angylion fry sy'n canu,
Mi ro'wn y rhai'n i gyd o'r bron
I ganmol graslon Iesu.

6 Mi ŵn y dŵg fi i deyrnas ne',
Ar ben fy mhererindod;

Ac yno byth mewn tawel fàn,
Câf eistedd tàn Ei gysgod.

7 Câf fwyta ffrwythau prenau plàn
Ar hyd glàn afon bywyd,
Tragwyddol Sabbath gyda'r Oen,
Heb friw, na phoen, na gofid. W.

## 538 (255) *Profiad o lesgedd.*

M. S.—Saxony. Arenig.

1 FE ddarfu'm nerth, 'r wy'n llwfrhau,
Yn D' allu mae f' ymddiried;
Nerth mawr difesur, fel y môr,
A feddi'n stôr i'r gweiniaid.

2 Ti'm tŷnaist i o ganol tân,
A mi o'r blaen yn ofni;
Gwna hyny eto'r funyd hon,
Mae f'enaid bron a threngu.

3 Mi bwysaf atat eto'n nês;
Pa lês im' ddigaloni?
Mae sôn am danat yn mhob màn
Yn c'odi'r gwàn i fyny. W.

## 539 (252) *Hiraeth am y nef.*

M. S.—Saxony. Arenig.

1 FFARWÈL, mi âf yn mlaen i'r wlad
Lle mae fy Nhad yn trigo,
Yn mhlith myrddiynau rif y gwlith,
A gwynfyd fyth f'ai yno.

2 Mi ddringa' i'r làn; yn uchel fry
Mae'r hyn wyf fi'n ei geisio;
Gadawa'r byd o'm hôl, heb lai,
Yn wastad mae'n fy rhwystro.

3 'B'le tro'f fy wyneb, Arglwydd cu,
Ond atat Ti Dy Hunan?
Pob peth gweledig, 'thâl ef ddim,
Ond gwneuthur imi riddfan.

4 Mae brodyr im' ar ben eu taith,
Mewn newydd iaith yn canu;
Pa bleser sy yma imi mwy?
Dŵg fi atynt hwy i fyny.

## 540 (253) *Rhyddid o gaethiwed.*

M. S.—Saxony. Arenig.

1 YN Dy gyfammod, mae'n fy nghô'
Fod myrdd o addewidion,
Rhai yn cyhoeddi llwyr iachâd,
Trwy rîn Dy waed, i'r cleifion.

2 'R wy'n gwaeddi wrth Dy borth yn ewn
Am dd'od i mewn i wledda ;
Nid boddlawn wyf i fod tu faes
I gaerau'r ddinas noddfa.

3 O! hollta'r môr, gwna'r ffordd yn rhydd
I weled dydd y rhyddid,
A chael teyrnasu cyn b'o hir
Yn ngwledydd yr addewid.

4 Yn disgwyl'r wyf, a hyn bob cam,
Fel gwyliwr am y boreu,
I brofi cryfder braich Dy râs
I'm tŷnu 'maes o'm beiau. W.

## 541 (245) *"Yr ydym ni yn Ei garu Ef."*

M. S.—Roche Abbey. St. Trond.

1 TRWY râs 'r wyf, Arglwydd, ger Dy fron
Yn rho'i fy nghalon i Ti ;
Ti'm ceraist i er maint fy mai,
Ni allaf lai na'th garu.

2 Mi haeddais fod yn awr â'm nyth,
Yn uffern byth yn poeni ;
'R wyt wrthyf wedi trugarhau—
Ni allaf lai na'th garu.

3 Câf ddyfod i'r gogoniant maith,
I ben fy nhaith at Iesu ;
Câf fyned at y màn lle mae—
Ni allaf lai na'i garu.

4 I'r Tad, i'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Rho'f glôd ar dân heb dewi ;
Y Tri yn Un, a'r Un yn Dri,
Mae f'enaid yn Ei garu. J. J.

## 542 (219) *Dedwyddwch y saint.*

M. S.—Cemmaes. Dyfroedd Siloah.

1 GWỲN fyd y rhai dilê'st eu bai,
Eu pechod a'u hanwiredd,
Gan ro'i iddynt nerth, er cnawd a byd,
I bara hyd y diwedd.

2 Y rhai sy'n cadw'th hedd o hyd,
Er gwaetha'r byd a'i ddrygau,
Gan wylio beunydd yn ddi-goll
Ar gadw'th holl gyfreithiau.

3 Pa ddrwg wna'r gelyn i'r rhai hyn
Sy'n rhodio yn Dy ddeddfau?
Cyfeillach dawel bur â Duw
Gânt yn mhob rhyw gyflyrau. W.

## 543 (260) *Cyfaddefiad a deisyfiad yr edifeiriol.*

M. S.—Dymuniad. Adelaide.

1 NA thro Dy wyneb, Arglwydd glân!
Oddi wrth un truan agwedd,
Y sydd o flaen Dy borth yn awr
Mewn cystudd mawr yn gorwedd.

2 Yr wyf yn gorwedd wrth Dy ddôr,
Attolwg, agor imi;
Er imi wrthryfela 'n ffôl,
'R wy'n edifeiriol, gweli.

3 Na alw mo'nof ger Dy fron,
I roddi union gyfrif;
Yr wy'n cydnabod, fy Nuw hael,
Y bywyd gwael oedd genyf.

4 Mi ddeuaf felly at Dy borth,
I ddisgwyl cymmorth ddigon,
Sef Dy drugaredd i lanhau
Fy holl welïau budron.

5 Trugaredd, f' Arglwydd! heb ddim mwy,
Yw 'r cwbl 'r wy'n ei geisio;
Trugaredd yw fy newis lwydd,
Trugaredd, f' Arglwydd, dyro! C. R. F.

## 544 (300) *Y difyrwch penaf yw heddwch Duw.*

M. C.—French. St. Stephan.

1 FE flinodd f'enaid bach yn nghri
A dwndwr oer y byd ;
Ond mae difyrwch llawer mwy
Gaiff hollol lanw 'mryd.

2 Nid yw trysorau'r India bell,
A chyfoeth maith Peru,
Ond rhyw ddisylwedd sorod gwael
I'w pwyso â fy Nuw.

3 Mae yn Ei heddwch bethau mwy
Nag fedd y byd yn un ;
A phrawf o'i gariad ydyw'r fraint
Oruchaf gafodd dyn.

4 Fy nymuniadau maith eu rhif,
Pe cawn hwy oll yn un,
Yw cael meddiannu Ei nefol hedd,
Anfeidrol, ddwyfol rîn.

5 Mi ymddigrifwn yn Ei râs
Mewn cystudd ac mewn gwae ;
A byddwn lawen, doed a ddêl,
Mewn sylwedd sy'n parhau. W.

## 545 (347) *Disgwyl wrth yr addewid.*

M. C.—Windsor. Burford.

1 'RWY'n disgwyl wrth Dy addewid bur,
O'r boreu hyd y nawn ;
Ac os câf brofi'r gloyw ddŵr,
Mi fyddaf ddedwydd iawn.

2 Ti dd'wedaist fod rhinweddau'th waed
Yn fwy na beiau'r byd ;
O ! rho i mi weled dwyfol glwyf
Yn dofi anfeidrol lîd.

3 Gâd imi brofi'r heddwch llawn,
Y dŵr rhinweddol, gwiw,
Ag sydd yn tarddu'n loyw ffrŵd
O orsedd bur fy Nuw.

4 Rho imi yfed cariad rhâd
Mewn dyrys anial dir ;

A phrofi rhinwedd dwyfol ddawn
Cysuron gloyw, clir.

5 Mi deithia'n ddifyr yn y blaen,
Dros greigydd serth i'r làn;
A dôf i olwg Seion bur
Yn gynnar yn y màn. W.

## 546 (348) *Y serchiadau ar Grist.*

M. C.—Burford. Culross.

1 O! CYMMER fy serchiadau'n glau,
Fy Iesu, bob yr un;
A gwna hwy yn eisteddfa bur,
Sancteiddiaf it' Dy Hun.

2 A gwna bob meddwl, a phob chwant,
I dŷnu fyny fry;
Nas gwthio holl derfysgoedd byd
Fi 'maes o'th gariad cu.

3 Ni wnaed yr enaid hwn erioed
I garu llwch y llawr;
Ond i gael meddu'r fraint a ro'ed
I gadw i f'Arglwydd mawr. W.

## 547 (335) *Neb ond Iesu.*

M. C.—St. Agnes. Winchester Old.

1 FFOED negeseuau gwâg y dydd,
Trafferthion o bob rhyw;
Ac na pharhaed o dàn y nef
Ond cariad pur fy Nuw.

2 Aed tegwch byd a'i gariad 'ffwrdd,
A'i swynion oll yn ddim;
Ni welaf heddyw îs y nef
Ond cariad Crist o rym.

3 Meddiannodd Ef â'i ddwyfol râs
Fy holl serchiadau'n un;
Na chaed o fewn i'm hysbryd fod
Neb ond fy Iesu Ei Hun.

4 Mae'r Iesu'n fwy na'r nef ei hun,
Yn fwy na'r ddaear lâs;
Ac Iesu'n unig fydd fy oll
Fyth, fyth o hyn i maes.

5 Cyflawnder nerth, cyflawnder grâs,
Cyflawnder nef y nef,
Uwch deall seraphim a saint,
Sy'n trigo ynddo Ef. W.

## 548 (302) *Ymnerthu yn Nuw.*

M. C.—Tallis. Tiverton.

1 WEL, f'enaid, gorfoledda mwy,
Tra f' Arglwydd mawr yn Dduw,
Mae'r gair a dd'wedo'n llawer mwy
Na phechod o un rhyw.

2 Dàn bob cystuddiau, fwy na mwy,
Rhuadau cnawd a byd,
Mae nerth i'w gael mewn marwol glwy'
I'w maeddu oll ynghyd.

3 'D oes genyf mwy ond Duw yn Dad
Yn erbyn pob rhyw wae ;
'D oes genyf ond Ei gariad rhâd
Yn sylfaen i barhau. W.

## 549 (339) *Nerth wyneb Crist.*

M. C.—Martyrs. Cologne.

1 YN nyfnder profedigaeth ddu,
Dôs Di Dy Hun o'm blaen ;
Ond imi gael bod gyda Thi,
Nid ofnaf ddŵr na thân.

2 At wedd Dy wyneb nid yw ddim
Trysorau maith y llawr ;
Mae hanner gair o'th enau'n fwy
Ei rym nag uffern fawr.

3 Mae angeu, a'r bedd, ac uffern ddu,
Yn hongian wrth Dy groes ;
Mil o elynion goncraist Ti
Trwy ddioddef angeu loes.

4 Dy allu yw fy nerth a'm grym,
Yn D'allu byddaf byw ;
'R wy'n wàn, 'r wy'n llesg, ni allaf ddim
Un funyd heb fy Nuw. W.

## 550 (284) *Cyflawnder trugaredd.*

M. C.—Christchurch. Solomon.

1 GWELL yw'th drugaredd a Dy hedd
Na'r byd, na'r bywyd chwaith ;
Ac nid oes angel gyfri' eu gwerth
I dragwyddoldeb maith.

2 Ac mae pob peth yn eiddo im'
Heb eisieu, ac heb drai ;
Ac nid oes diffyg ddaw i'r lle
Y ceffir Dy fwynhau.

3 Mae pob dymuniad, a phob chwant,
Fyth yno'n eithaf llawn ;
A thystio'r wyf nad oes ond Duw
A'm gwna yn ddedwydd iawn.

4 Doed y tymhestloedd penaf ddêl,
Digonol gallu'r ne' ;
A rhued moroedd dros y tir,
Anfeidrol yw Efe.

5 Mi waeddaf yn y storom fawr,
Dàn dònau fwy na rhi' ;
Ac fe esgyna'm drylliog lef
I entrych nefoedd fry. W.

## 551 (289) *Dedwyddwch yn Nghrist.*

M. C.—St. George. St. Saviour.

1 EFE yw ffynnon fawr pob dawn,
Gwraidd holl ogoniant dyn ;
A rhyw drysorau fel y môr
A guddiwyd ynddo'i Hun.

2 'R wyf yn hiraethu am gael prawf
O'r maith bleserau sy
Yn cael eu hyfed, heb ddim trai,
Gan yr angylion fry.

3 Mae 'nymuniadau'n hedeg fry
Uwch crëadigol fyd ;
Ac yn diystyru'r ddaear hon,
A'i da o'r bron i gyd.

4 Fe'm gânwyd i lawenydd uwch
Nag sy 'mhleserau'r llawr,

I gariad dwyfol gwleddoedd pur
  Angylion nefoedd fawr.

5 O! p'am nas câf fi ddechreu'n awr
  Fy nefoedd yn y byd;
A threulio 'mywyd mewn mwynhâd
  O'th gariad gwerthfawr drud? W.

## 552 (341) *Cariad at Grist.*

M. C.—St. Mary. Cologne.

1 'RWY'n edrych, dros y bryniau pell,
  Am danat bob yr awr;
Tyr'd, fy Anwylyd, mae'n hwyrhau,
  A'm haul bron myn'd i lawr.

2 Trôdd fy nghariadau oll i gyd
  'N awr yn anffyddlon im';
Ond yr wyf finnau'n hyfryd glâf
  O gariad mwy ei rym.

3 Tỳn fy serchiadau'n gryno iawn
  Oddi wrth wrthrychau gau,
At yr un gwrthrych ag sydd fyth
  Yn ffyddlon yn parhau.

4 'D oes gyflwr dàn yr awyr lâs
  'R wyf ynddo'n chwennych byw;
Ond fy hyfrydwch fyth gaiff fod
  O fewn cynteddau'm Duw. W.

## 553 (331) *Pob peth yn ddim yn ymyl Crist.*

M. C.—St. Agnes. Winchester Old.

1 PAN byddo f'Arglwydd imi'n rho'i
  Ond golwg ar Ei wedd,
Mae'r oll a welir dàn yr haul
  Yn ddiddim wrth Ei hedd.

2 Mae ardderchowgrwydd, rhwysg, a grym
  Y ddaear fawr i gyd,
Wrth deimlo'r gronyn lleia' o'th hedd,
  Oll yn diflanu 'nghyd.

3 Mi ro'f f'ymddiried ynddo Ef,
  Mae'n noddfa lawn i'r gwàn:
Ac er y curo sy arna'i lawr,
  Fe g'od fy mhen i'r làn. W.

## 554 (333) *Yr aflan yn anturio at yr orsedd.*

M. C.—St. Agnes. Winchester Old.

1 ER maint fy llygredd o bob rhyw,
Er cymmaint yw eu rhif,
Ac er fy nwydau cyndyn, chwith,
Sy'n para fyth yn gryf;

2 Âf at yr orsedd fel yr wyf—
Anfeidrol orsedd grâs,
Dadguddiaf yno 'nghlwyfau maith,
A'm holl archollion câs.

3 Mi welaf lu anfeidrol wỳn,
Yn aml fel y sêr,
A fu fel finnau'n aflan oll,
Yn bur yn nghwmni'm Nêr.

4 Wel, finnau'r eiddil, gwàna'i lun,
Heb ddim ond ffiaidd friw,
Anturiaf at drysorau'r nef—
Cyfiawnder pur fy Nuw. W.

## 555 (318) "*Na wrthod fi.*"

M. C.—Abergele. Engedi.

1 AT un a wrendy weddi'r gwàn
'R wyf yn dyrchafu 'nghri;
Yn mhob cyfyngder, ing, a phoen,
O Dduw! na wrthod fi.

2 Er mor annheilwng o fwynhau
Dy bresennoldeb Di,
A haeddu 'mwrw o ger Dy fron,
O Dduw! na wrthod fi.

3 Pan fo'm cydnabod îs y nen
Yn cefnu arna'i 'n rhi',
A châr a chyfaill yn pellhau,
O Dduw! na wrthod fi.

4 Er bod yn euog o dristau
Dy Ysbryd sanctaidd Di,
A themtio Dy amynedd mawr,
O Dduw! na wrthod fi.

5 Er mwyn Dy grôg a'th angeu drud
Ar fynydd Calfari,

A'th ddwys eiriolaeth yn y nef,
O Dduw! na wrthod fi.

6 Pan yn wynebu ymchwydd yr
Iorddonen ddofn ei lli',
A theithio'n unig drwy y glỳn,
O Dduw! na wrthod fi.

7 A phan y deui yr ail waith,
Mewn mawredd, parch, a bri,
I farnu'r byw a'r marw 'nghyd,
O Dduw! na wrthod fi. E. E.

## 556 (358) *Profiadau cymmysg.*

M. C. D.—Yr Hen 9fed.

1 GALARU 'r wyf mewn dyffryn du,
Wrth deithio i dŷ fy Nhad;
Ar ben y bryniau'n llawenhau
Wrth weled cỳrau'r wlad:
'R wy'n ddu fy lliw, a'm gwisg yn wèn:
'R wy'n llawen ac yn brudd;
'R wy'n agos iawn, ac eto 'mhell;
'R wy'n waeth, 'r wy'n well, bob dydd. T. E.

## 557 (423) *Grâs yr Iesu, a thrueni pechadur.*

7. 6. D.—Pwllheli. Caerlleon.

1 ANGYLION doent yn gysson,
Rifedi gwlith y wawr,
Rhoent eu coronau euraidd
O flaen y fainc i lawr,
Chwareuent eu telynau
Ynghyd â'r saint yn un;
Fyth, fyth ni chanent ddigon
Am Dduwdod yn y dyn.

2 Ni fuasai genyf obaith
Am ddim ond fflamau syth,
Y pryf nad yw yn marw,
A'r t'w'llwch dudew byth,
Oni buasai i'r Hwn a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari,
O ryw anfeidrol gariad,
I gofio am danaf fi.

3 'R wy'n edrych arnaf f' hunan
  Â rhyw gasineb mawr;
Mwy diddim, mwy disylwedd,
  Na phryfed mân y llawr;
'D oes ond yr aberth hwnw
  Wnaed ar Galfaria fryn,
A'm crëa oll yn newydd,
  A'm golcha oll yn wỳn. W.

## 558 (424) *Sefyll yn y farn.*

7. 6. D.—Pwllheli. Caerlleon.

1 TI, Farnwr byw a meirw,
  Sydd âg allweddau'r bedd,
Terfynau eitha'r ddaear
  Sy'n disgwyl am Dy hedd;
'D yw grâs i Ti ond gronyn,
  Mae grâs ar hyn o bryd
Ryw filoedd maith o weithiau
  I mi yn well na'r byd.

2 O flaen y fainc rhaid sefyll,
  Ië, sefyll cyn b'o hir;
Nid oes a'm nertha yno
  Ond Dy gyfiawnder pur:
Myfi anturia'n ëon
  Trwy ddyfroedd a thrwy dân,
Heb oleu ac heb lewyrch,
  Ond Dy gyfiawnder glân. W.

## 559 (429) *Cyfranogiad o rinwedd y gwaed.*

7. 6. D.—Abertawe.

1 O! YSBRYD pur nefolaidd,
  Cyn 'r elwyf lawr i'r bedd,
Trwy ryw athrawiaeth hyfryd,
  Gâd imi brofi'th hedd:
Maddeuant! O maddeuant!
  Maddeuant cyfan, rhâd,
Yw'r cyntaf peth wy'n geisio
  Yr awrhon yn y gwaed.

2 O haeddiant annherfynol,
  A grâs o nefol ryw,

Rhaid imi gael, a wnelo
  Fy heddwch llawn â Duw :
'D yw gwaith, a dyledswyddau,
  Ganmolir trwy'r holl fyd,
Yn abl i faddeu pechod,
  Pe byddent fyrdd ynghyd.

3 Mae ynddo nerth diderfyn,
  Doethineb maith yn rhâd ;
Deng miliwn o rinweddau,
  A rhagor, yn Ei waed :
Mae ynddo at bob angen
  Sydd ar bechadur gwàn,
Dàn filoedd o amheuon,
  I g'odi ei ben i'r làn.

4 O ! crêd, O ! crêd, cei gymmorth
  I dŷnu'r llygad de ;
O ! crêd, O ! crêd, cei allu
  I dòri'r fraich o'i lle :
Trwy gredu, ti orchfygi
  Elynion rif y gwlith ;
Crêd yn yr Oen yn unig,
  A'th wna yn hapus byth. W.—TH.

## 560 (425) *Gweddi am gymmorth mewn gwendid.*

7. 6. D.—Pwllheli. Whitford.

1 O ! TYRED, Iôr tragwyddol,
  Mae ynot Ti Dy Hun
Fwy moroedd o drugaredd
  Nag a feddyliodd dyn :
Os deui at bechadur,
  A'i g'odi ef i'r làn,
Ei galon gaiff, a'i dafod,
  Dy ganmol yn y màn.

2 Gwaredu'r saint rhag uffern
  A phechod drwg ei ryw,
O safn y bedd, ac angeu,
  A'u dwyn i fynwes Duw ;
Eu harwain dros fynyddau,
  A thrwy yr anial chwith,

A grëa nef y nefoedd
  Yn gân heb ddiwedd byth. W.—TH.

## 561 (440) *Pwyso ar Grist.*

7. 6. D.—Talybont. Caerllyngoed.

1 WEL, pwysaf arnat, Arglwydd,
  Tra yma byddwyf byw ;
Dy angeu sydd yn deilwng,
  Ti wyt anfeidrol Dduw :
O ! atteb dros fy meiau,
  A chliria fi â'th waed,
Yn ngŵydd yr holl angylion,
  Yn awr ger bron fy Nhad.

2 Ni edrychaf ar ddim arall
  Yn unig ond Tydi,
Dàn hoelion dur yn griddfan
  Ar fynydd Calfari ;
Fy lloches rhag euogrwydd
  Tra ar y ddaear hon
Fydd ôl yr hoelion geirwon,
  A chlwyf y waywffon.

3 Yn awr 'r wy'n gorfoleddu,
  Can's gosod wne's y sail
Ar gadarn Graig yr oesoedd,
  Sef haeddiant Adda'r ail ;
Dim arall dàn y nefoedd
  All roddi imi hedd,
A thawel orfoleddu
  Yn wyneb angeu a'r bedd. W.—G. D. C.

## 562 (441) RHAN II.

7. 6. D.—Talybont. Caerllyngoed.

1 MI ro'f fy nwylaw bellach
  Ar ben yr Aberth mawr ;
Mi rifaf yno'n gryno
  Fy holl bechodau i lawr ;
Fe'u rho'f yn bŵn i orphwys
  Ar ysgwydd Brenin nen ;
Fe'i gwela'n crymu danynt
  Wrth farw ar y pren.

2 Duw, rho i mi ffydd i edrych,
Yn mhob caethiwed du,
A phechod arna'i 'n gwasgu,
Ar fynydd Calfari :
Gwna i fy nghalon deimlo
Dy anghydmarol loes ;
A'm lloches gynnes, dawel,
F'o'n wastad dàn y groes. W.—G. D. C.

## 563 (445) *Pwyso ar drugaredd.*

7. 6. D.—Talybont. Caerllyngoed.

1 ATTOLWG, Arglwydd, gwrando,
'R wy'n curo wrth Dy ddôr,
Gan deimlo 'maich yn drymach
Na thywod mân y môr :
Er cymmaint yw fy llygredd,
Mwy yw'th drugaredd Di ;
O ! crëa anian fywiol,
Anfarwol, ynof fi. R. W.

## 564 (437) *Ymbil am faddeuant.*

7. 6. D.—Llydaw. Jabez.

1 PECHADUR wyf, O Arglwydd !
Yn curo wrth Dy ddôr ;
Erioed mae Dy drugaredd
Ddiddiwedd yn ystôr :
Er i Ti faddeu beiau
Rifedi'r tywod mân,
Gŵn fod Dy râd drugaredd
Lawn gymmaint ag o'r blaen.

2 Dy hên addewid rasol
A gadwodd rif y gwlith
O ddynion wedi eu colli
A gân am dani byth ;
Er cael eu mynych glwyfo
Gan bechod îs y nen,
Iacheir eu mawrion glwyfau
Â dail y bywiol bren.

3 Gwasgara'r tew gymylau
Oddi yma i dŷ fy Nhad ;

Dadguddia imi beunydd
  Yr iachawdwriaeth râd;
A dywed air Dy Hunan
  Wrth f'enaid clwyfus, trist,
Dy fod yn maddeu 'meiau
  Yn haeddiant Iesu Grist.

M. R.

## 565 (448) *Pechadur a'r Iesu.*

7. 6. D.—Wilton Square.

1 O'TH flaen, O Dduw! 'r wy'n dyfod,
  Gan sefyll o hir-bell;
Pechadur yw fy enw—
  Ni feddaf enw gwell;
Trugaredd wyf yn geisio,
  A cheisio eto wnaf;
Trugaredd imi dyro,
  'R wy'n marw oni châf.

2 Pechadur wyf, mi welaf,
  O Dduw! nad allaf ddim;
'R wy'n dlawd, 'r wy'n frwnt, 'r wy'n euog,
  O! bydd drugarog im';
'R wy'n addef nad oes genyf,
  Trwy 'mywyd hyd fy medd,
O hyd ond gwaeddi—'Pechais!
  Nid wyf yn haeddu hedd.'

3 Mi glywais gynt fod Iesu,
  A'i fod Ef felly'n awr,
Yn derbyn publicanod
  A phechaduriaid mawr;
O! derbyn, Arglwydd—derbyn
  Fi hefyd gyda hwy,
A maddeu 'm holl anwiredd,
  Heb gofio'm camwedd mwy.

T. W.

## 566 (449) SALM LI. 1, 2, 7, 8.

M. B. C.—Wirksworth. Addfwynder.

1 TRUGAREDD dôd i mi,
  Duw, o'th ddaioni tyner;
Tŷn ymaith fy anwiredd mau
  O'th drugareddau lawer.

2 A golch fi yn llwyr ddwys
Oddi wrth fawr bwys fy meiau;
Fy Iôr, yn hollol lân gwna fi,
Rhag brynti fy nghamweddau.

3 Âg isop golch fi'n lân,
Ni byddaf aflan mwyach;
A byddaf drwy y golchi hyn
Fel eira gwỳn, neu wỳnach.

4 Pâr imi weled hedd,
Gorfoledd a llawenydd,
I adnewyddu f'esgyrn i,
A ddrylliaist Ti â cherydd. E. P.

## 567 (450) Rhan ii. Adn. 10, 11, 12, 15, 17, 18.

M. B. C.—Wirksworth. Addfwynder.

1 DUW, crëa galon bur,
Dôd imi gysur beunydd;
I fyw yn well tra f'wy'n y byd,
Dôd ynof ysbryd newydd.

2 O Dduw! na ddyro chwaith
Fi ymaith o'th olygon;
Na chymmer byth Dy Ysbryd Glân
Oddi wrthyf, druan gwirion.

3 Gorfoledd dŵg i mi
Drwy roddi im' Dy iechyd;
A chynnal fi â'th nefol ddawn
I fyw yn uniawn hefyd.

4 Duw! agor Di'r mîn mau,
Â'm genau mi a ganaf,
O Arglwydd! gerdd o'th fawl a'th nerth,
Fel dyna'r aberth penaf.

5 Aberthau Duw i gyd
Yw ysbryd pur drylliedig;
Ac ni ddiystyri, O Dduw Iôn!
Y galon gystuddiedig.

6 Bydd dda wrth Seion fryn,
O Arglwydd! hyn a fỳni;
Ac wrth Gaersalem, Dy dref-tâd,
A gwna adeilad arni. E. P

## 568 (455) *Grâs, y trysor goreu.*

M. B.—Tytherton. Colchester.

1 POB pleser îs y rhôd
A dderfydd maes o law;
Ar bleser uwch y mae fy nôd,
Yn nhir y bywyd draw.

2 Pe meddwn aur Peru,
A pherlau'r India bell,
Mae gronyn bach o râs fy Nuw
Yn drysor canmil gwell.

3 Gwell na phleserau'r byd
Un funyd o'th fwynhau;
Gwedd Iesu hardd rŷdd imi o hyd
Wir fywyd i barhau.

4 Dymunwn ado'n lân
Holl wâg deganau'r llawr,
A phenderfynu myn'd yn mlaen
Ar ôl fy Mhrynwr mawr. W. L.

## 569 (477) *Anfarwol fywyd lle b'o Duw.*

M. B. D.—Leominster. Kingscroft.

1 MEWN anial, dyrys le,
Heb gwmni neb rhyw ddyn,
Y gallwn, ond cael cwmni Duw,
Yn dawel fyw fy hun:
Fe leinw oll yn lân,
Tu fewn, ac o'r tu faes;
Nid yw'r creadur, er ei rym,
Yn helpu dim o'i râs.

2 Mae tywell anial nôs,
Peryglon o bob rhyw,
Holl ofnau'r bedd, pob meddwl gwàn,
Yn ffoi o'r fàn b'o'm Duw:
Ond tegwch dwyfol clir,
A chariad pur a hedd,
Gaiff fod yn wleddoedd pur di-drai
I'r rhai sy'n gwel'd Ei wedd.

3 Y fàn b'ost Ti, fy Nuw,
Anfarwol fywyd sy,

Yn tarddu, megys dŵr o'r graig,
  I'r làn i'r nefoedd fry :
Rhyw wawr ddisgleirwen sydd
  Yn t'wỳnu o hono Ef,
Yn arwain, trwy bob ffôs a phant,
  Holl ffyddlon blant y nef.

4 Ffarwèl, chwi haul a lloer,
  Ffarwèl, chwi sêr y ne' ;
Mae presennoldeb pur fy Nuw
  Yn well yn llanw'r lle :
Rhyw faith dragwyddol ddydd—
  Goleuni sydd yn fwy,
Yw'r hwn sy'n d'od oddi wrth Ei wedd,
  Na'u holl ddisgleirdeb hwy. W.

## 570 (482) *Pwyso ar ffyddlondeb Duw.*

M. B. D.—St. Barnabas. Llanllyfni.

1 'RWY'n ofni'm nerth yn ddim
  Pan elwy' i rym y dòn :
Mae terfysg yma cyn ei dd'od,
  A syndod dàn fy mron :
Mae ofnau o bob rhyw,
  Oll fel y diluw 'nghyd,
Yn bygwth i fy nhòri i lawr,
  Pan ddêl eu hawr ryw bryd :

2 A minnau sydd am ffoi,
  Neu ynte droi yn ol,
Yn methu credu saif i'r làn
  Un truan, gwàn, a ffol ;
Ac eto 'r wyf o hyd
  Yn symmud peth yn mlaen ;
Nid fi yw'r cyntaf eiddil ŵr
  Goncwerodd ddŵr a thân.

3 'R wyf yn terfynu 'nghrêd,
  'N ol pwyso oll ynghyd,
Mai cyfnewidiol ydyw dyn,
  Ond Duw sy'r un o hyd ;
Ar Ei ffyddlondeb Ef,
  Sy'n noddfa gref i'r gwàn,

Mi gredaf dôf, 'mhen gronyn bach,
O'r tònau'n iach i'r làn.

4 Cyfiawnder marwol glwyf,
A haeddiant dwyfol loes,
Y prîs, y gwerth, yr aberth drud,
A dalwyd ar y groes,
A gliria 'meiau'n llwyr,
A'm golcha'n hyfryd lân ;
Ac nid oes arall dàn y nef
A'm nertha i fyn'd yn mlaen. W.

## 571 (481) *"Bydd drugarog wrthyf, bechadur."*

M. B. D.—St. Barnabas. Llanllyfni.

1 'RWY'n gorwedd dàn fy mhŵn,
Yn isel wrth Dy draed,
Yn adde' 'môd yn waelach dyn
Nag eto un a gaed ;
Rhyw ddyfnder sy yn fy nghlwy'
Mwy nag a ddeall dyn,
Ac nid oes yn f'adnabod sy
Neb ond Tydi Dy Hun.

2 O ! gwrando weddi'r tlawd ;
On'd ffyddlawn Frawd wyt Ti
I'r rhai cystuddiol, clwyfus, gwàn,
Sy'n 'mofyn rhan o fry ?
Ti wyddost am fy mhlâ,
Fy ngofid, a fy mhŵn,
Ac nid oes ond D'anfeidrol rym
All symmud dim o hwn.

3 Mi ro'f fy meiau o'r bron
Yn gysson o Dy flaen ;
Tafl hwy i fôr o angof pur,
Mewn anial dir yn lân ;
Na safed y rhai hyn
Fyth yn fy erbyn draw,
Pan y cyhoeddir beiau cudd
O fewn y dydd a ddaw.

4 Ond boed maddeuant rhâd,
Yn hyfryd waed yr Oen,

Yn destyn moliant yn mhob màn
I mi sydd dàn fy mhoen ;
Yr anthem faith ei hyd
F'o i gyd am Galfari ;
A'r iachawdwriaeth fawr ei dawn
Ro'w'd un prydnawn i ni. W.

## 572 (528) *Gweddi am wyneb Duw.*

6. 8.—Dolgellau. Alexandria.

1 DISGLEIRIA, foreu wawr,
'R ol nôs o faith barhâd ;
Dadguddia imi'n awr
Ryw ran o'm hyfryd wlad,
Lle rheda cariad pur i maes,
Fel môr di-drai, dros feusydd grâs.

2 Mae dyddiau'r Aipht yn faith,
Mae'r t'w'llwch yno'n hir ;
A dyrys iawn yw'r daith
I'r Ganaan nefol, bur :
O ! tyr'd yn glau, a dàdglo'r bedd,
Byrhâ yr oriau sy'n dwyn hedd.

3 'R wy'n blino'r funyd hon
Dàn draed pob gelyn câs ;
Mi roddwn fyd o'r bron
Am deimlo nerth Dy râs :
Dim ond Dy wel'd dros funyd awr
A'm gwna yn fwy na choncrwr mawr.

4 'R wyf yno wrth fy môdd
Ond edrych ar Dy wedd
Fy nghalon galed dôdd
Wrth brofi o Dy hedd :
Ti wyt fy oll, fy Arglwydd mawr,
O fewn y nef ac ar y llawr.

5 Aed goleu'r dydd yn nôs,
Teyrnased nôs o'r bron ;
Doed moroedd mawrion dros
Holl wyneb daear gron ;
Aed y greadigaeth faith i'w bedd—
Mae'n well i mi na cholli'th hedd. W.

## 573 (506) *Cyfoeth yn Nuw.*

6. 8.—Ramoth. Alun.

1 Y CYFOETH imi ddaeth
Nid oes ei fath, na'i ryw,—
'Tifeddiaeth hyfryd râd
Pereiddiaf wlad fy Nuw :
Mwy nid oes dim o dàn y nef
All fy ngwahanu oddi wrtho ef.

2 O ! uchder heb ei faint,
O ! ddyfnder heb ddim rhi',
O ! lêd a hŷd heb fâth,
Yw'n hiachawdwriaeth ni :
Pwy ŵyr, pwy dd'wêd—seraphiaid, saint,
O'r ddae'r i'r nef, beth yw fy mraint ?

3 Mae'r ddaear a'i holl swyn
Oll yn diflanu'n awr ;
A'i themtasiynau cryf
Sy'n cwympo'n llu i'r llawr ;
Holl flodau'r byd sydd heb eu lliw ;
'D oes dim yn hyfryd ond fy Nuw.

4 Mae haul a sêr y rhôd
Yn darfod o fy mlaen ;
Mae t'w'llwch dudew'n d'od
Ar bob peth hyfryd, glân :
Fy Nuw Ei Hun sy'n hardd, sy'n fawr,
Ac oll yn oll mewn nef a llawr.

5 " Ti, Iesu, yw ein Duw,"
Yw sŵm caniadau'r nef,
A'r anthem, gyda blâs,
Sy'n myn'd i'w glustiau Ef :
'D oes engyl, seraphim, na saint,
Nad iachawdwriaeth yw eu braint. W.

## 574 (514) *Trysorau gwell.*

6. 8.—Beverley. Darwell.

1 NID y llawenydd gwâg,
Mawrhydi plant y byd,
Eu balchder maith, a'u rhwysg,
Pan ceir hwynt oll ynghyd ;

Ond pleser gwell—cael Dy fwynhau,
Ac yfed dŵr sydd yn parhau.

2 Y cariad hyfryd sy
Yn boddi cwmni 'r nef,
Ac yn difyru 'r llu
Wrth edrych arno Ef—
Y trysor hwn 'r wyf am fwynhau,
Sydd yn dragwyddol yn parhau.

3 Y pethau mawrion hyn
'R wyf yn eu ceisio i gyd ;
Ac nid oes dim a'u tŷn
Hwy'n hollol o fy mryd ;
Mi ro'f ffarwèl, heb gŵyn na llef,
I bob peth arall îs y nef. W.

## 575 (535) *Trysorau angeu 'r groes.*

6. 8. 4.—Dolyddelen. Covenant.

1 O F'ENAID ! hêd i'r làn,
Dros fryniau ucha'r byd,
A gwêl dy gyfoeth, gwêl dy ran,
Anfeidrol ddrud ;
Trysorau o ddwyfol rîn
Bwrcaswyd imi 'n llawn,
Gan fy Ngwaredwr addfwyn, cun,
Ar un prydnawn.

2 'Fe bellach fydd fy nghân,
A'm hamddiffynfa glyd,
Fy nhŵr, fy nghraig, a'm noddfa lân,
Tra yn y byd ;
Pan'talodd ddwyfol waed,
Pwy ofyn imi mwy ?
Can's anfeidroldeb maith a gaed
Mewn dwyfol glwy'.

3 Mae angeu 'r groes yn fwy
Na haeddiant yr holl fyd :
Y mae griddfanau dwyfol glwy'
Yn gyfoeth drud ;
Fe gènir myrdd yn wŷn,
Oll fel yr eira mân ;

Ceir gwel'd rhai ffiaidd ar ol hyn
Yn berffaith lân.

4 Myfi anturiaf mwy,
Er cymmaint yw fy mai,
Trwy 'r haeddiant dwyfol sy'n Ei glwy',
Heb lwfrhau,
O flaen yr orsedd wèn,
Ffieiddiaf ddyn o'r blaen,
Gan gredu gall Tywysog nen
Fy ngwneyd yn lân. W.

## 576 (552) *Gwaed y groes yn unig feddyginiaeth.*

6. 6. 4.—Harlan. Moreb.

1 IACHAWDWR dynol-ryw,
Tydi yn unig yw
Fy Mugail da:
Mae angeu'r groes yn llawn
O bob rhinweddol ddawn,
A ffrwythau melus iawn;
Rhai'n a'm hiachâ.

2 'D oes dim a laesa'm poen
Ond gwaed yr addfwyn Oen—
Pur waed fy Nuw;
Mae'i Hun yn fwy na'r byd,
A'r trysor sy ynddo i gyd;
A thecach yw Ei bryd
Na dynol-ryw.

3 Mae torf aneirif fawr
Yn ddisglaer fel y wawr,
'N awr yn y nef:
Trwy ganol gwawd a llîd,
A gwrth'nebiadau'r byd,
Ac angeu glâs ynghyd,
A'i carodd Ef.

4 Ni thâl pleserau'r byd,
Na phob teganau 'nghyd,
Ddim i'm boddhau;

Y gwrthrych mwya' erioed
O gariad ac o glôd,
Sydd uwch neu îs y rhôd,
Wyf yn fwynhau. W.

## 577 (544) *Rhinweddau y groes.*

6. 6. 4.—Malvern. Moscow.

1 O! TYRED, Arglwydd mawr,
Dihidla o'r nef i lawr
Gawodydd pur ;
Fel byddo i'r egin grawn,
Foreuddydd a phrydnawn,
I darddu'n beraidd iawn,
O'r anial dir.

2 Mae peraroglau'th râs
Yn taenu o gylch i maes
Awelon hedd ;
Estroniaid sydd yn d'od
O'r pellder eitha 'rioed,
I gwympo wrth Dy droed,
A gwel'd Dy wedd.

3 Mae tegwch D'wyneb-pryd
Yn maeddu oll i gyd
Ar ddaear lâs ;
Mae pob rhyw nefol ddawn
Oll yno yn gryno lawn,
Yn tarddu 'n hyfryd iawn
O'th glwyfau i maes. W.

## 578 (545) RHAN II.

6. 6. 4.—Malvern. Moscow.

1 AROSAF ddydd a nôs,
Byth bellach dàn Dy groes,
I'th lon fwynhau ;
Mi ŵn mai'r taliad hyn,
Wnaed ar Galfaria fryn,
A'm càna oll yn wŷn,
Oddi wrth fy mai.

2 Yn nyfnder dŵr a thân,
Calfaria fydd fy nghân,
Calfaria mwy :

Y bryn ordeiniodd Duw
Yn nhragwyddoldeb yw
I g'odi'r marw'n fyw,
Trwy farwol glwy'.
3 Âf bellach tua'r wlad
Bwrcaswyd imi â gwaed;
'R wyf yn nesau:
Câf yno oll i'm rhan
Sydd eisieu ar f'enaid gwàn,
A hyny yn y màn,
I'w bur fwynhau. W.

## 579 (555) *Gwaredigaeth o gaethiwed pechod.*

6. 6. 4.—Dinbych. Llanddowror.

1 O! GWAWRIA, foreu ddydd,
Pan gaffwyf fyn'd yn rhydd
O'm carchar caeth—
Pan gwympo'r muriau prês,
A'r dôrau sydd yn rhês,
A minnau fyn'd yn nês
I ben fy nhaith.
2 Pryd hyny mi âf trwy
Elynion fwy na mwy;
O! ddedwydd ddydd!
Mae meddwl am y wawr,
A'r Jubil' hyfryd fawr,
Yn peri imi'n awr
Bron fyn'd yn rhydd. W.

## 580 (551) *Digonolrwydd presennoldeb Duw.*

6. 6. 4.—Harlan. Moreb.

1 NID oes, fy Arglwydd mawr,
Ar wyneb daear lawr,
Neb ond Dy Hun,
A ddeil fy enaid gwàn
Yn mhob cystuddiau i'r làn,
A'i gweryd yn y màn
O bob yr un.
2 Yr wyt yn fwy na'r byd,
A'r trysor sy ynddo i gyd;
Yr wyt Ti'n Dduw;

Y gronyn lleia' o'th hedd
Sydd yn wastadol wledd,
Fe goncra angeu, a'r bedd ;
Mor hyfryd yw.

3 Caersalem hyfryd wiw,
Cartrefle pur fy Nuw,
Dinas yr hedd :
'D yw'r ddaear, er ei dawn,
O foreu hyd brydnawn,
Yn 'nabod dim yn iawn
O'm hyfryd wledd. W.

## 581 (571) *Crefydd dda cyn angeu.*

7. 3.—Trefeglwys. Twrgwyn.

1 MAE arnaf eisieu beunydd,
Cyn fy medd,
Cael gafael ar wir grefydd,
Cyn fy medd :
Cael sicrwydd y cyfammod,
A'r gwaed sy'n golchi pechod
I glirio fy nghydwybod,
Cyn fy medd :
A'm gwneyd yn buraidd barod,
Cyn fy medd. P.

## 582 (572) *Fel yr wyf.*

7. 3.—Trefeglwys. Twrgwyn.

1 MYFI'r pechadur pena',
Fel yr wyf,
Wynebaf i Galfaria
Fel yr wyf ;
Nid oes o fewn i'r holl-fyd
Ond Hwn i gadw bywyd ;
Yn nghanol môr o adfyd,
Fel yr wyf,
Mi ganaf gân f'Anwylyd,
Fel yr wyf. *Cas.* S. R., *ar.*

2 Mae'r Oen fu ar Galfaria
Wrth fy modd :
Efengyl a'i thrysorau
Wrth fy modd :

Mae llwybrau Ei orch'mynion,
A grym Ei addewidion,
A hyfryd wleddoedd Seion,
  Wrth fy modd;
A chwmni'r pererinion,
  Wrth fy modd.
T. Y. III. *dyf.*

## 583 (574) *Gwaedd y truan.*

7. 6. 8.—Atonement. Gest.

1 LLAWN o ofid, llawn o wae,
  A llawn euogrwydd du,
Byth y byddaf yn parhau
  Heb gael Dy gwmni cu:
Golwg unwaith ar Dy wedd
  A'm c'od i'r làn o'r pydew mawr;
O fy Nuw! nac oeda'n hwy,
  Rho'r olwg imi'n awr.

2 Gwel y truan, gwel y tlawd,
  Yn gorwedd wrth Dy draed;
O Samariad! bydd yn frawd,
  Adfera im' iachâd;
Dyro olew yn fy mriw,
  A ch'od fi ar D'anifail cun;
Ac nis gall fyth, fyth, fy nwyn
  Ond D'allu Di Dy Hun.

3 'Mofyn am orphwysfa glŷd
  Heb gwrdd â stormydd mwy,
Lloches nid oes yn y byd
  At hyn ond yn Dy glwy';
Tro fy ngolwg at y fàn
  Y llaesa f'ofnau oll a'm braw;
Na ddychrynwyf byth i wel'd
  Y boreu ddydd a ddaw.

4 Dyrys daith, a mi sydd wàn,
  A bryniau maith o'm blaen,
Mi frawychais lawer gwaith
  Wrth wel'd y fflamau tân;
Mae'r Iorddonen heddyw'n fawr,
  Os gwir ddychymyg f'enaid gwàn;

Tyred, Arglwydd, iddi i lawr,
  Ac yna dôf i'r làn. W.

## 584 (712) *Gweddi a gobaith.*

8. 7. D.—Henryd. Tanymarian.

1 Y MAE arnaf fil o ofnau—
  Ofnau mawrion o bob gradd,
Oll yn gwasgu gyda'u gilydd
  Ar fy ysbryd, bron fy lladd :
Nid oes gallu all goncwerio
  Torf o elynion sydd yn un—
Concro ofn, y gelyn mwyaf,
  Ond Dy allu Di Dy Hun.

2 Ofni'r wyf na che's faddeuant,
  Ac nas câf faddeuant mwy ;
Ofni'n fynych na che's olwg
  Eto ar Dy farwol glwy' ;
Ofni fod fy meiau'n taro
  Yn erbyn iachawdwriaeth râd,
Ac na chaiff fy enaid egwan
  Fyth ei olchi yn y gwaed.

3 Deuwch, yr awelon hyfryd,
  Deuwch dros y bryniau pell,
Dàn eich aden dawel, rasol,
  Dygwch y newyddion gwell :
Dygwch newydd at fy enaid—
  Fy enw innau yno gaed,
Dedwydd enw'n argraphedig
  Yn yr iachawdwriaeth râd. W.

## 585 (713) RHAN II.

8. 7. D.—Henryd. Tanymarian.

1 BOED cyfiawnder maith y nefoedd
  Yno i sefyll o fy mlaen,
Yn nyfnderoedd mwyaf ofn,
  Yn nyfnderoedd dŵr a thân ;
O gyfiawnder ! aros yno,
  Ar fy mron ar hyny o bryd,
Pan f'o angeu yn gwahanu'm
  Corph a'm henaid yn ei lîd.

2 Annioddefol ydyw meddwl
  Marw heb im' wybod p'un
A yw Dy gyfiawnder perffaith
  Wrth fy enaid bach ynglŷn ;
Dyna'r awr yr wy'n ei hofni,
  Dyna'r awr yn gyfyng sydd ;
Rho i mi nerthoedd y pryd hyny,
  Nes b'o im' ddihengu'n rhydd. W.

## 586 (662) *Gorfoleddu yn yr addewidion.*

8. 7. D.—Censorinus. St. Nicholas.

1 RHYW drysorau heb eu mesur,
  Rhyw drysorau heb ddim rhi',
Rhyw ddyfnderoedd heb ddim gwaelod,
  Yn Dy addewidion sy ;
Crŷnu'r wyf, ac ymafaelyd,
  Glynu'n galed wrth Dy air ;
F'enaid byth tra ar y ddaear,
  Dyna'r unig fàn y'i cair.

2 Os gwaredi fi o'm cyfyngder,
  Ac os sefi ar fy rhan,
Os gostegi rym y storom,
  Os cynheli fi i'r làn ;
Ti gai 'nhafod, Ti gai 'nghalon,
  Ti gai 'feddwyf yn y byd,
Ti gai'r clôd, a Thi gai'r moliant,
  Ti gai'r enw it' i gyd.

3 Addunedau fy nghyfyngder,
  Deuent, Arglwydd, ger Dy fron ;
Er Dy enw, er Dy ogoniant
  Tòr fy ofnau i lawr o'r bron ;
Duw tosturi yw Dy enw
  Duw sy'n arfer trugarhau ;
C'od fy ysbryd llesg o'r moroedd,
  Tỳn fy enaid bach o'r ffau. W.

## 587 (684) *Llef yr enaid am gyfiawnder.*

8. 7. D.—Diniweidrwydd.

1 MAE odfäon yn myn'd heibio,
  Dyddiau wedi eu treulio i maes

Heb ddim cyfrif 'n awr o honynt
  Ond griddfanu am Dy râs :
Rhaid i mi gael mwy na hyny—
  Dy gyfiawnder imi'n rhan,
Onid ê, yn wir mi drengaf
  Cyn y delwyf byth i'r làn.

2 O ! gyfiawnder pur tragwyddol !
  O ! gyfiawnder maith di-drai !
Rhaid i'm henaid noeth, newynllyd
  Gael yn fuan dy fwynhau :
Rho Dy wisg ddisgleirwen, oleu,
  Cuddia'm noethni hyd y llawr,
Fel nad ofnwyf mwy ymddangos
  Fyth o flaen Dy orsedd fawr.

3 Nid oes genyf ddim ond bratiau,
  Dail yw'm gwisgoedd goreu i gyd ;
Tân digofaint oll a'u difa,
  Llysg y sofl crâs ynghyd ;
Gem a pherlau gwerthfawrocaf,
  Gwell nag eiddo'r India draw,
Yw'th gyfiawnder i ymddangos
  O fy mhlaid y dydd a ddaw.

4 Wrth yr orsedd n'âd fi feddwl
  Am ddim haeddiant tra b'wyf byw,
Nac adduned, na dymuniad,
  Na dyledswydd o un rhyw :
Iesu'n unig dàn y fflangell,
  Iesu'n hongian ar y groes,
Bydded imi yn ddifyrwch
  O foreuddydd hyd y nôs.

5 Dyma'r fàn, a thyma'r cysgod,
  Dyma'r trysor gwerthfawr drud,
Ddeil fy enaid yn y corwynt,
  Dyfroedd mawr anfeidrol lîd :
Dyma'n unig wyf yn geisio,
  Dyma geisiaf tra b'wyf byw :
Bwyta, yfed, fyth, a gwisgo,
  O gyfiawnder pur fy Nuw. W.

## 588 (611) *Gweddi am wyneb Duw.*

8. 7. D.—Dusseldorf. Innocence.

1 GWRANDO 'nghŵyn, Dywysog heddwch,
Mae eiddigedd ynwy'n llawn ;
Ofni nad wyt yn fy ngharu,
'Ngharu'n ffyddlon ac yn iawn ;
Nid oes unrhyw feddyginiaeth
Rhagddo bellach all iachau,
Ond cael gweled gwedd Dy wyneb,
A chael hefyd Dy fwynhau.

2 Pan y cuddiech Di Dy wyneb,
Y mae ofnau o bob gradd,
O'r tu fewn, ac o'r tu allan,
Gyda'u gilydd bron fy lladd ;
Gwasgant ar fy enaid eiddil,
Ffaelu symmud troed o'r fàn ;
Dïau derfydd fyth am danaf
Oni ch'odi Di fi i'r làn.

3 Mae rhyw foroedd o drugaredd,
Arglwydd, ynot Ti Dy Hun ;
Annherfynol a thragwyddol
Yw Dy gariad at y dyn ;
Mewn cyfyngder buost ffyddlon,
Yno rho'ist Dy nerth i maes :
Yn y dyfnder mawr 'r wyf finnau
'N awr yn llefain am Dy râs.

4 Wrth y beddrod 'r wyf yn gwaeddi,
Mae'n agored imi'n awr ;
Nid oes dim ond rhai munydau
Cyn rhaid gorwedd yno i lawr :
Nid oes arnaf ofn angeu
Os Ti sefi wrth fy nghlun ;
Fe fu'r bedd a'i ddychryniadau
Gynt yn wely i Ti Dy Hun.

5 Derfydd imi garu ac ofni
Dim, o'r nefoedd fawr i'r byd,
Pan y caffwy'r olwg gyntaf
Deced yw Dy wyneb-pryd :

Gwedd Dy wyneb sy'n dwyn bywyd,
Gwedd Dy wyneb sy'n dwyn hedd,
Gwedd Dy wyneb ydyw'r cwbl,
Yma, a thu draw i'r bedd. W.

## 589 (659) *Ffydd yn gweithio trwy gariad.*

8. 7. D.—Lux Eoi. Bethany.

1 MAE Dy gariad uwch pob ofnau,
Mae'n Dy gariad fentro 'mlaen,
Trwy'r afonydd dyfnion, geirwon,
Dros fynyddau, a thrwy dân :
Caru goncra fy mhechodau,
Caru ddeil fy enaid gwàn,
Er pob dim a guro arnaf,
Yn gadarnaf un i'r làn.

2 Dring i fyny i'r balmwydden,
Mi gâf fwyta'r sypiau pur
Sy'n digoni y rhai sychedig—
Pererinion Salem dir :
Mi gâf weled Gwlad 'r Addewid
Sydd yn llifo o laeth a mêl,
Mi gâf fyned i'w meddiannu,
Doed y croesau penaf ddêl. W.

## 590 (656) *Cariad at yr Anweledig.*

8. 7. D.—Lux Eoi. Bethany.

1 ANWELEDIG ! 'r wy'n Dy garu,
Rhyfedd ydyw nerth Dy râs,
'Dỳnu f'enaid i mor hyfryd
O'i bleserau pena' i maes ;
Ti wne'st fwy mewn un munydyn
Nag a wnaethai'r byd o'r bron—
Ennill it' eisteddfa dawel
Yn y galon gareg hon.

2 'Chlywodd clust, ni welodd llygad,
Ac ni ddaeth i galon dyn,
I ddychymyg, nac i ddeall,
Natur D' hanfod Di Dy Hun ;
Eto'r ydwyf yn Dy garu
'N fwy na dim sydd îs y rhôd,

A thu hwnt i ddim a glywais,
Neu a welais eto erioed.

3 Uchder nefoedd yw Dy drigfan,
Llawer uwch na meddwl dyn,
Minnau mewn iselder daear,
Bechadurus, waelaf un;
Eto, agosach wyt i'm henaid,
A'th gyfeillach bur sydd fwy,
A chàn' gwell, pan fyddost bellaf,
Na'u cyfeillach benaf hwy. W.

## 591 (657) *Llawenychu yn hanfod Duw.*

8. 7. D.—Lux Eoi. Bethany.

1 GLYNU wrthyt mae fy nghalon,
Fel ei noddfa gadarn glŷd,
Ac 'r wy'n ffeindio ynot ffynnon
O gysuron dirgel, drud:
Dyma'r dyfroedd a'm diddana,
Dyma'r dyfroedd hyfryd flâs,
A wna imi'n ddiddig, ddiddig,
Dreulio'm dyddiau oll i maes.

2 'R wyf yn dyfod at Dy orsedd
O ryw hyder cryf yn llawn,
Ac yn edrych ar Dy hanfod
Fy hapusrwydd, foreu a nawn;
Ac mae'r olwg hyny'n ennyn
Yn fy ysbryd ryw gryfhau,
Gan ro'i clwyf ar fy mhechodau
Yn Dy wyddfod sy'n gwanhau.

3 Llawen ydwyf fod Dy hanfod
Fawr yn ddedwydd ynddo Ei Hun,
Ac na raid i Ti ymddiried
Mewn creadur unrhyw lun:
O! teyrnasa fel y mynost,
Doed Dy amcan mawr i ben;
Seinied pawb, mewn nef a daear,
Haleluwia fyth, Amen.

4 Minnau, bryfyn gwael o'r ddaear,
Ro'f fy llais yn mhlith y llu—

Saint, cerubiaid, ac angylion,
A'r seraphiaid bywiog fry;
O! na chawn i ymgymmysgu
Â sêr y boreu mewn un dôn,
Rho'wn fy llais i mewn i'r anthem
Am ddioddefaint addfwyn Oen. W.

**592** (597) *Y nefoedd i foliannu grâs Duw.*

8. 7. D.—Moriah.

1 'RWY 'n Dy garu, addfwyn Iesu!
Uwch pob geiriau i ddodi 'maes
Yw Dy gariad, yw Dy heddwch,
Yw D'anfeidrol ddwyfol râs;
Yn nhafodiaith nefoedd oleu,
Câf fi draethu, 'mhlith y llu,
Gyda blâs na ellir deall,
Hên ddirgelion nefoedd fry.

2 Yno câf fi ddechreu hanes—
Hanes o lawenydd pur,
Fyth na chlywir diwedd arno
Yn y paradwysaidd dir;
Bob munydyn bydd yn dechreu
Seinio i maes, heb dewi a sôn,
Ddoniau maith, anfeidrol, hyfryd,
Croeshoeliedig, addfwyn Oen.

3 Bydd Dy degwch fyth yn newydd,
Fyth o newydd ennyn dân,
Trwy holl oesoedd tragwyddoldeb,
Fyth heb flino yn y blaen;
Fflam angerddol, heb un terfyn,
Trwy holl raddau'r nef yn un,
Hi barha i losgi'n oleu
Tra parhao Duw Ei Hun.

4 Nid oedd ond Dy fawredd dwyfol,
Yn y nef nac ar y llawr,
All'sai ennyn y fath gariad
Ag wy'n brofi ynwy'n awr:
Pwy sefydlai'm hysbryd gwammal
Pwy'm gosodai yn fy lle,

Ond yr Hwn, heb derfyn arno,
  Sy'n berffeithrwydd dae'r a ne' ? w.

## 593 (703) *Pob peth yn ofer heb wyneb Duw.*

8. 7. D.—Eifionydd. Llanidloes.

1 OFER imi wel'd y ddaear
  Yn egino'i hegin grawn,
Ofer imi wel'd yr heulwen
  Fawr yn estyn ei phrydnawn,
Ofer imi wel'd y blodau
  Yn dadguddio'u di-rif liw,
Tra f'o neb rhyw un creadur
  Yn cysgodi gwedd fy Nuw.

2 O! pa bryd câf wel'd Dy wyneb,
  Oll yn heddwch, oll yn râs,
Heb un pechod yn fy nghlwyfo,
  Nac yn dirgel gario'r maes,
Heb fod rhyngof lèn a'r bywyd,
  Nac un ysbryd marw, syth,
Heb un waedd yn fy nghydwybod,
  Ond tangnefedd pur di-lŷth ?

3 'Bryd câf wel'd y tir dymunol,
  Hyfryd baradwysaidd wlad,
Lle mae brodyr i mi filiwn,
  Lle mae 'Mhrïod, lle mae 'Nhad ;
Lle câf orphwys o fy llafur,
  Lle câf wella'm clwyf a'm briw,
A chael gwledd dragwyddol, gysson,
  Fyth yn nghwmni'm Tad a'm Duw ? w.

## 594 (630) *"Fy Anwylyd sydd eiddof fi."*

8. 7. D.—Llangan. Tanycastell.

1 EIDDOF fi yw fy Anwylyd ;
  Gwnawd cyfammod gwerthfawr, rhâd,
Nid â pherlau'r byd y'i seliwyd,
  Ond â dwyfol nefol waed :
Nerth tragwyddol a ymrwymodd,
  Holl ddoethineb mawr y nen,
I gael gwel'd yr iota leiaf
  O'r cyfammod hwn i ben.

2 Ymadewch, fy ofnau, bellach,
Pa beth rhagor all'sai'r nef?
P'odd dangosai gariad ragor
Nag ar bren ddanghosodd Ef?
Rhoddai 'i fywyd dros elynion,
Tuag at eu cael yn un
Brïod ferch addasaf, ffyddlon,
Gywir iddo Ef Ei Hun.

3 Cadarnhaw'd fy ffydd grynedig,
Ni ro'i 'ngobaith ddim i lawr,
Ac o'm hawl ni ildiaf ronyn
I gyfammod sydd mor fawr,
Ac ni chym'ra'i 'r India helaeth,
A'i thrysorau sydd heb ri',
Am fy mraint, ac ni chymmeraf,
Holl feddiannau'r nefoedd fry. W.

## 595 (616) *Pob peth yn ddiwerth heb Grist.*

8. 7. D.—Ledforth. Gaerwen.

1 OFER iawn mae'r nef ei hunan
Yn fy ngheisio oll i gyd,
Tra b'o hanner lawn o'm calon
Mewn rhyw eilun yn y byd:
Natur wrthryfelgar, gyndyn,
Sy'n fy nàl i yma'n dỳn,
Tra b'o'm henaid gwàn am hedeg
'Fyny'n llwyr i Seion fryn.

2 Ni all ympryd trist a gweddi
Fyn'd yn lân â mi i'r làn,
Nac un cylch o ddyledswyddau
'Ngh'odi ronyn bach o'r màn;
Grym y llygredd sy'n fy nghalon,
Cryf ac anorchfygol yw;
Nid oes fythoedd a'i gorchfyga
Ond yn unig nerth fy Nuw.

3 Rhêd, fy enaid, i'w gyfeillach,
Cyntaf màn y caffech E';
Trist yw'm henaid wrth ymofyn
Un creadur yn Ei le:

Blino'n edrych 'r wyf o gwmpas ;
Nid oes meddyg ar y dòn
Ond yn unig Ti Dy Hunan,
Wella'r archoll dàn fy mron.

4 Llawn a llawen, iach a diddig,
Wyf pan byddwy'n teimlo'th hedd ;
Ond meddylgar iawn ac athrist,
Pan yn ffaelu gwel'd Dy wedd ;
'R wy'n diflasu ar y cwbl
Pan na welwy'th wyneb cu,
Ond mae'm bywyd imi'n nefoedd
Pan b'wy'n agos atat Ti. W.

## 596 (609) *Grym cariad.*

8. 7. D.—Dusseldorf. Innocence.

1 MAE fy nghalon am ehedeg
Unwaith eto i fyny fry,
I gael profi'r hên gymdeithas
Gynt fu rhyngof â Thydi :
Mi a grwydrais anial garw,
Heb un gradd o oleu'r dydd ;
Un wreichionen o Dy gariad
Wna fy rhwymau oll yn rhydd.

2 Pe b'ai'r holl gystuddiau mwya'
'N gwasgu ar fy enaid gwàn,
A'r gelynion oll yn rhwystro
'R nefol dân i g'odi i'r làn ;
Pan ddechreuo, nid oes derfyn ;
Cadarn natur cariad yw,
Sydd yn distaw fyn'd â'm henaid
O hono'i hun i fynwes Duw.

3 Mae fy nghalon yn 'sgrifenu,
Ac yn adrodd wrthi ei hun,
Enw hyfryd a rhinweddol
Duw yn gwisgo natur dyn :
Iachawdwriaeth, iachawdwriaeth,
Iachawdwriaeth werthfawr iawn,
Ydyw enw fy Ngwaredwr
Genyf foreu a phrydnawn. W.

## 597 (672) *Hiraeth am oleuni cymdeithas Duw.*

8. 7. D.—Deus Omnipotens. Burry Port.

1 GWLAD o d'w'llwch yw lle trigaf,
Aipht yw'r màn lle'r wyf yn byw ;
Mae tywyllwch wedi'm d'rysu—
T'w'llwch anorchfygol yw :
Cyfod, Haul Cyfiawnder goleu,
'N awr llewyrcha yn Dy nerth ;
Danfon feddyginiaeth rasol
Dros y creigydd mawrion, serth.

2 D'wêd pa bryd câf yfed dyfroedd—
Dyfroedd gloyw sy'n iachau ;
Pob rhyw bleser wedi darfod
Ond yn unig Dy fwynhau :—
Pwyso'm henaid ar Dy fynwes,
Edrych yn Dy wyneb llon ;
Caru nes anghofio'r oriau
Sy imi ar y ddaear hon. W.

## 598 (696) *Duw a digon.*

8. 7. D.—Bohemia.

1 O! AM nerth i dreulio'm dyddiau
Yn nghynteddoedd tŷ fy Nhad ;
Byw yn nghanol y goleuni,
T'w'llwch obry dàn fy nhraed ;
Byw heb fachlud haul un amser,
Byw heb gwmwl, byw heb boen,
Byw ar gariad anorchfygol,
Pur, y croeshoeliedig Oen.

2 Dyro olwg ar Dy haeddiant—
Golwg ar Dy deyrnas râd,
Brynwyd imi, ac a seliwyd—
Seliwyd imi â Dy waed ;
Rho i mi gyrchu tuag ati,
Peidio byth a llwfrhau :
Ar fy nhaith ni cheisiaf genyt
Ond yn unig Dy fwynhau.

3 Ac ni cheisiaf drysor arall
Ond Tydi tra b'wy'n y byd ;

'R wyt yn ddigon byth Dy Hunan,
  Dim ond Ti a leinw'm bryd:
Nid oes cystudd fyth wna niwed
  Pan b'wy'n pwyso ar Dy rym;
Hebot', nid oes rwyd gan Satan
  Na wna rywfodd niwed im'.

4 Gyda Thi mi âf drwy'r fyddin,
  Gyda Thi mi âf drwy'r tân;
'D ofnaf ymchwydd yr Iorddonen
  Ond i Ti fyn'd o fy mlaen:
Ti yw'm hamddiffynfa gadarn,
  Ti yw' Mrenin a fy Nhad;
Ti Dy Hunan oll yn unig
  Yw fy iachawdwriaeth râd. W.

## 599 (704) *Ymbil am ymwared.*

8. 7. D.—Eifionydd. Llanidloes.

1 MAE addewid nef o'm hochr,
  Fod fy Iesu'n ffrynd i'r gwàn;
O'r pydewau dŵg Ei Hunan
  Garcharorion llesg i'r làn:
Tòr y bolltau prês yn gandryll,
  Tỳn y bàrau heiyrn yn ôl,
Gâd i'm henaid, o'r dyfnderoedd,
  Hedeg yna i' Dy gôl.

2 Nid wy'n haeddu dim trugaredd;
  Tro'is fy nghefn ar y nef,
A chofleidiais fy eilunod
  'N ol meddiannu Ei gariad Ef;
Gwerthais drysor mwy na'r ddaear
  Am bleserau munyd awr,
Ac 'r wy' mron a thòri 'nghalon
  Am Ei heddwch Ef yn awr.

3 T'wŷned heulwen ar fy enaid,
  Blinais ganwaith ar y nôs;
Nid yw 'mhleser, na 'nheganau,
  Na'm heilunod, ond fy nghroes;

Mynwes Iesu yw'm hapusrwydd ;
O ! na chawn i yno fod !
Fe ro'i cariad dwyfol, perffaith,
Fy mhleserau dàn fy nhroed.

4 Eto unwaith mi ddyrchafaf
Un ochenaid tua'r nef,
Ac a wylaf ddagrau'n hidyl
Am Ei bresennoldeb Ef ;
Pwy a ŵyr na wrendy clustiau
'R Hwn a grëodd ddae'r a nen,
Ac na ddaw fy nymuniadau
Trist, hiraethlawn, oll i ben. W.

## 600 (695) *Meddyliau crwydredig.*

8. 7. D.—Jersey. Hebron.

1 FY meddyliau sydd yn hedeg
Weithiau i'r dwyrain, weithiau i'r de ;
Treulio'm dyddiau gwerthfawr, goreu,
Bob munydyn, 'r wyf o dre' ;
Lleng 'n ol lleng olynol ganlyn
Ynwyf o feddyliau gau,
Heddyw yn newid, ddoe yn d'rysu,
Ddoe a heddyw yn parhau.

2 Ti 'sgrifenaist gynt ar geryg
Ddeddfau cywir, sanctaidd, pur ;
Nid anhawddach it' 'sgrifenu
Eto'n awr ar galon ddur ;
Os buost farw dros un ffiaidd,
Aflan, Arglwydd, fel myfi,
O ! na âd im' fod yn ddieithr
I rasusau'r nefoedd fry.

3 Rho i mi heddwch fel yr afon,
Rho faddeuant fel y môr,
Rho i mi ronyn bach o brofi
'N awr o'th annherfynol stôr ;
Na newynwyf yn yr anial,
Lle nad oes na dŵr na gwîn,
Ond cael teimlo'r pur gawodydd
A addewaist Ti Dy Hun. W.

## 601 (693) *Bywyd mewn angeu.*

8. 7. D.—Jersey. Hebron.

1 SAITH o weithiau, ôl a gwrth-ôl,
Tòrais Dy orch'mynion glân ;
Saith adduned fawr a wnaethum
I ymgadw rhag y tân ;
Yn y dyfnder cefais gyntaf
Wel'd Dy wridog wyneb gwỳn ;
Oni buasai fflam euogrwydd,
'Ddaethwn byth i Seion fryn.

2 Fe wnaeth pechod, fe wnaeth uffern,
Fe wnaeth t'w'llwch dudew'r nôs,
Im' ro'i naid trwy ddyledswyddau,
Cael neu golli, at waed Dy groes ;
Ar fîn uffern cefais nefoedd,
Ac yn angeu cefais fyw,
Yn nharanau mynydd Sinai
De's i gynta' i gwrdd â Duw.

3 Mellt, taranau, mŵg, a chenllysg,
Oedd euogrwydd imi'r pryd
De's i wel'd maddeuant pechod
Fil o weithiau'n fwy na'r byd ;
Gwnaf, mi gofia'r oriau hyny—
Oriau fy mhrïodas gun,
Pan ddaeth Crëwr nef a daear
A'r pechadur gwaela'n un. W.

## 602 (683) *Gweddi am ail ymweliad.*

8. 7. D.—Diniweidrwydd.

1 NID yw 'ngweddi, nid yw 'nagrau,
Nid yw f'addunedau ddim ;
Ni wna mil o ddyledswyddau
Unrhyw bechod lai ei rym ;
Cofia'r Hwn fu ar Galfaria
Dàn yr hoelion llymion, main,
Gwêl y waywffon a'r gorsen,
Mantell goch, a'r goron ddrain.

2 Ac er mwyn y gwaed a gollwyd,
Cymmysg ddŵr, o'i ystlys Ef,

Tŷn bob cwmwl dudew, tywyll,
  Ag sydd rhyngwyf 'n awr a'r nef;
Maddeu imi feiau mawrion—
  Beiau lawer fwy na rhi',
Dim ond edrych i Galfaria,
  Nid wrth edrych arnaf fi.

3 Golchi'm henaid yn yr afon,
  Gwneyd yr euog brwnt yn lân,
Llanw 'nghalon oer, ddigariad,
  O Dy nefol hyfryd dân;
A chael rhan o bob rhinweddau
  Ag sydd ynot Ti Dy Hun;
Ddoe yn aflan, wedi'm dychwel
  Heddyw'n berffaith ar Dy lun;

4 Fel b'o'm dyddiau oll yn ganu,
  Nid yn alar fel mae'n awr,
Cariad yn concwerio'm henaid,
  Ac yn boddi sŵn y llawr;
Ar adenydd pur yn hedeg,
  Trwy bob rhwystrau maith yn mlaen;
Credu, caru, gorfoleddu,
  Yn y dyfroedd mawr a'r tân. W.

## 603 (716) *Gweddi am ryddid a maddeuant.*

8. 7. D.—Bodawen. Engedi.

1 IESU, dyro Dy gymdeithas
  Nefol yn yr anial fyd,
Lle mae maglau ar ol maglau
  Yn fy n'rysu 'mron o hyd;
Y mae hiraeth yn fy nghalon,
  Ac och'neidiau heb ddim trai,
Am wel'd oriau 'ngwaredigaeth
  Ddedwydd, hyfryd, yn nesau.

2 Ti faddeuaist fil o feiau—
  Beiau cynddeirioca'u rhyw,
Ac a guddiaist rhag y werin
  Rai fel porphor coch eu lliw:
Cliria fy nghydwybod euog,
  Càna f'enaid yn y gwaed,

A rho'r bai ag sy'n fy maeddu,
A fy nryllio, dàn fy nhraed.

3 O! na ildia, f'enaid, ronyn,
Er ei bod yn fyr brydnawn,
Y mae trugareddau'r nefoedd
Fel y moroedd mawrion llawn;
F'allai try deheuwynt tawel,
Cyn machludo'm haul yn lân,
Ac yn lle rhyw drwm och'neidio,
Câf fi seinio'r hyfryd gân. W.

## 604 (705) *Crist yn bob peth.*

8. 7. D.—Eifionydd. Llanidloes.

1 MI âf heibio i'r creadur,
'D oes ond gwagedd ynddo i gyd;
Twyll a golwg, heb ddim sylwedd,
Yw a welais yn y byd;
Dacw'r unig wlad o sylwedd,
Draw i'r bryniau, màn lle mae
Afon bywyd, fel y grisial,
Feusydd grâs yn dyfrhau.

2 Ti Dy Hunan wyf yn 'mofyn,
Ynot Ti mae heddwch llawn;
Ynot Ti câf fod yn ddedwydd,
Ynot Ti yn hyfryd iawn;
Nid oes ofn i'r sawl a'th garo,
I Dy garo nid oes gwae;
Fe gaiff pob rhyw dristwch atgas
Iddynt droi yn llawenhau.

3 Tyred, bellach, o'r creadur,
Mae'r creadur bron dy ladd—
Troi, ymddadrys, ac ymdd'rysu,
Fwy-fwy 'mlaen, o radd i radd;
Fyth ni chaiff fy enaid egwan
Loches hyfryd mwy ond un,
Rhag y stormydd sy'n fy nghuro—
Yn Dy glwyfau Di Dy Hun. W.

## 605 (678) *Hiraeth am sicrwydd.*

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 DROS bechadur buost farw,
Dros bechadur, ar y pren
Y dioddefaist hoelion llymion,
Nes it' orfod crymu'th ben ;
D'wêd i mi, ai fi oedd hwnw
Gofiodd cariad rhâd mor fawr—
Marw dros un bron a suddo
Yn Gehenna boeth i lawr.

2 D'wêd i mi, a wyt yn maddeu
Cwympo ganwaith i'r un bai ?
D'wêd a ddeui byth i galon
Nas gall gynnyg 'difarhau ?
'Beth yw pwysau'r beiau mwyaf
Wyt yn faddeu ?—o ba ri' ?
Pa un drymaf yw fy mhechod
Ai griddfanau Calfari ?

3 Arglwydd, rhaid i mi gael bywyd ;
Mae fy meiau yn rhy fawr,
Fy euogrwydd sy'n cyd-bwyso
Â mynyddau mwya'r llawr :
Rhâd faddeuant, gwawria bellach,
Gwna garcharor caeth yn rhydd,
Fu'n ymdreiglo mewn tywyllwch,
'N awr i weled goleu'r dydd. W.

## 606 (598) *Golwg ar y nefoedd.*

8. 7. D.—Moriah.

1 DACW'r ardal, dacw'r hafan,
Dacw'r nefol hyfryd wlad,
Dacw'r llwybr pur yn amlwg
'R awrhon tua thŷ fy Nhad ;
Y mae hiraeth yn fy nghalon
Am fod heddyw draw yn nhref,
Gyda myrdd sy'n canu'r anthem—
Anthem cariad, " Iddo Ef."

2 Mae fy hwyliau heddyw'n chwareu
'N llawen yn yr awel bur,

Ac 'r wy'n clywed sŵn caniadau
Peraidd paradwysaidd dir ;
Ffàrwel haul, a lloer, a thrysor,
Ffàrwel ddaear, ffàrwel ddyn,
Nid oes dim o dàn yr wybren
Sydd yn fawr ond Duw Ei Hun. W.

## 607 (685) *Gafael ar y bywyd.*

8. 7. D.—Diniweidrwydd.

1 DYRO afael ar y bywyd,
Bywyd yw fy nghri o hyd ;
N'âd fi gario lamp neu enw,
Heb yr olew gwerthfawr drud :
Adeilad gref—y graig yn sylfaen,
Arglwydd, dyro imi'n awr ;
Llanw'm henaid â Dy gariad
Tra f'wy'n teithio daear lawr. A. E.

## 608 (681) *Cŵyn yr enaid mewn tywyllwch.*

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 HIR ddisgwyliais am foreuddydd,
Eto tew dywyllwch sy
Yn parhau i'm hamgylchynu,
Oddi waered, oddi fry ;
Beichiau trymion sy'n fy ngwasgu,
Minnau'n egwan dàn y groes ;
Colli'th wyneb tirion, Arglwydd,
Sydd yn ychwanegu'r loes.

2 A ddaw gwawr ar ol y plygain,
Sy mor dywyll imi'n awr ?
A ddaw'm gwàr i eto'n uniawn,
Sydd yn teimlo beichiau mawr ?
A raid yfed chwerwach dyfroedd
Nag a yfodd un o fil,
Cyn fy lladd i lwybrau gwammal,
A fy nwyn i gadw'r cul ? D. M.

## 609 (637) *Iesu Grist yn nerth mewn cyfyngder.*

8. 7. D.—Carmel. Port Penrhyn.

1 WYNEB siriol fy Anwylyd
Yw fy mywyd yn y byd,

Ffàrwel bellach, bob eilunod,
  Iesu 'Mhrïod aeth â'm bryd ;
Brawd mewn myrdd o gyfyngderau,
  Ffrynd mewn môr o ofid yw ;
Ni chais f'enaid archolledig
  Neb yn Feddyg ond fy Nuw.

2 Dyddiau blîn fy mhererindod
  Sydd ar ddarfod, yn ddi-lai ;
Ffàrwel yfed dyfroedd Marah,
  I wlad arall 'r wy'n nesau ;
Teimlo f'enaid 'r wyf yn 'madael
  Â'r creaduriaid ar y llawr ;
Ac mewn hiraeth am fyn'd adre'
  I'r dedwydd dragwyddoldeb mawr. M. R.

## 610 (622) *Ymhyfrydu yn Nghrist a'i groes.*

8. 7. D.—Esther.

1 NIS dichon byd â'i holl deganau
  Foddloni fy serchiadau'n awr,
A ennillwyd, a ëangwyd
  Yn nydd nerth fy Arglwydd mawr ;
Efe, nid llai, a all eu llenwi,
  Fythol ddiamgyffred Dduw ;
O ! am syllu ar Ei Berson !
  Rhyfeddod pob rhyfeddod yw.

2 O ! na chawn i dreulio 'nyddiau
  Yn fywyd o ddyrchafu Ei waed ;
Llechu'n dawel dàn Ei gysgod,
  Byw a marw wrth Ei draed ;
Cario'r groes, a phara i'w ch'odi,
  Am mai croes fy Mhrïod yw,
Ymddifyru yn Ei Berson,
  A'i addoli Ef, fy Nuw. A. G.

## 611 (621) *Crist yn bob peth.*

8. 7. D.—Esther.

1 NID oes wrthrych ar y ddaear
  Leinw'm henaid gwerthfawr, drud ;
Fy unig bleser a'm diddanwch
  Yw hyfryd wedd Dy wyneb-pryd ;

Gwedd Dy wyneb dŷr y c'lymau
  Â phob crëadur ar y llawr ;
A gwna enw câr a chyfaill
  Yn ddim ér mwyn Dy enw mawr.

2 Arogli'n beraidd mae fy nardus,
  Wrth wledda ar y cariad rhâd ;
Sêl yn tànio yn erbyn pechod,
  Caru delw sancteiddhâd ;
Tỳnu ymaith law a llygad,
  Ynghyd âg uchel drem i lawr ;
Neb yn deilwng o'i ddyrchafu
  Ond fy Iesu, Frenin mawr !

3 O ! am yfed yma beunydd
  O ffrydiau'r iachawdwriaeth fawr,
Nes fy nghwbl ddisychedu
  Am ddarfodedig bethau'r llawr ;
Byw dàn ddisgwyl am fy Arglwydd,
  Bod pan ddelo'n effro iawn
I agoryd iddo'n ebrwydd,
  A mwynhau Ei ddelw'n llawn.

4 Rhyfeddu wnaf â mawr ryfeddod
  Pan ddêl i ben y ddedwydd awr
Câf fy meddwl, sy yma'n gwibio
  Ar ol teganau gwael y llawr,
Wedi ei sefydlu'n gyfan
  Ar wrthrych mawr Ei Berson Ef,
A dïysgog gydymffurfio
  Â phur a sanctaidd ddeddfau'r nef. A. G.

## 612 (667) *Craig yr Oesoedd.*

8. 7. D.—Scopas. Balducci.

1 ARGLWYDD Iesu, arwain f' enaid
  At y Graig sydd uwch na mi—
Craig safadwy mewn tymhestloedd,
  Craig a ddeil yn ngrym y lli' ;
Llechu wnaf yn Nghraig yr Oesoedd,
  Deued diluw, deued tân,
A phan chwalo 'r grëadigaeth,
  Craig yr Oesoedd fydd fy nghân !

2 Pan b'o creigiau 'r byd yn rhwygo
Yn rhyferthwy 'r farn a ddaw,
Stormydd creulawn arna'i 'n curo—
Cedyrn, fyrdd, o'm cylch mewn braw—
Craig yr Oesoedd ddeil pryd hyny,
Yn y dyfroedd, yn y tân!
Draw ar gefnfor tragwyddoldeb
Craig yr Oesoedd fydd fy nghân. S. J. G.

## 613 (690) *Galar am bechod.*

8. 7. D.—Diniweidrydd.

1 O! NA roddid calon imi,
F'o 'n galaru am bob bai;
Nid oes drefn im' gael fy nghadw
Heb im' wir edifarhau:
Plant y dagrau a'r och'neidiau
Welir fry yn dyrfa hardd,
Yno 'n canu am yr ucha'
I'r Gŵr fu 'n chwysu yn yr ardd! *Cas.* R. E.

## 614 (663) *Yr Arglwydd yw fy ngoleuni.*

8. 7. D.—Censorinus. St. Nicholas.

1 IESU tirion, edrych arnaf
Mewn iselder, poen, a chur;
Dyro im' Dy ddwyfol Ysbryd,
A'i ddiddanwch sanctaidd, pur;
Pan b'ost Ti yn rho'i Dy wyneb
Y mae llewyrch yn Dy wedd
Sy'n gwasgaru pob amheuaeth,
Ac yn trechu ofnau'r bedd.

2 Edrych arnaf mewn tosturi
Pan f'o cysur byd yn ffoi;
Yn nghyfyngder profedigaeth
Atat Ti Dy Hun 'r wy'n troi;
Pan f'o natur wàn yn methu,
Pan f'o t'w'llwch o bob tu,
Pan diffoddo lampau'r ddaear,
Dyro lewrych oddi fry. L. E.

## 615 (750) *Ceisio Duw.*

8. 7. 4.—St. Garmon. Caersalem.

1 'CHEISIAIS, Arglwydd, ddim ond hyny,
Dim ond treulio'm dyddiau i maes
I Dy garu a'th ryfeddu,
Ac ymborthi ar Dy râs:
Dyna ddigon;
'Cheisiaf 'nabod dim ond hyn.

2 Dàl fy llygad, dàl heb ŵyro,
Dàl ef ar D'addewid wir;
Dàl fy nhraed heb gynnyg ysgog
Allan o Dy gyfraith bur:
Boed D'orch'mynion,
Imi'n gysur ac yn hedd.

3 O! darfydded imi garu
Unrhyw bleser îs y ne',
A darfydded im' fyfyrio
Ar un gwrthrych yn Dy le:
Aed fy ysbryd
Oll o'i fron yn eiddot Ti.

4 Os rhaid dwyn y groes dymhestlog,
A'r cystuddiau sydd o'i hôl,
O! gâd imi, Iesu, orphwys
Yna yn Dy gynnes gôl:
Yn mhob cystudd,
Dŵg fy meichiau oll Dy Hun. W.

## 616 (728) *Dyfnderoedd yr iachawdwriaeth.*

8. 7. 4.—Peniel. Frankfort.

1 'RWY'n Dy garu er nas gwelais;
Mae Dy gariad fel y tân;
Nis gall nwydau cryfa'm natur
Sefyll mymryn bach o'th flaen;
Fflam angerddol,
Rywbryd ddifa'm sorod yw.

2 Pell uwch geiriau, pell uwch deall,
Pell uwch rheswm goreu'r byd,
Yw cyrhaeddiad perffaith gariad,
Pan ennyno yn fy mryd:

Nid oes tebyg
Grâs o fewn y nef ei hun.

3 Yno câf fi dd'weyd yr hanes
P'odd y dringodd eiddil gwàn
Trwy afonydd, a thros greigydd
Dyrys, anial, serth, i'r làn :
Iesu Ei Hunan,
Gaiff y clôd trwy eitha'r nef.

4 Nid oes yno ddiwedd canu,
Nid oes yno ddiwedd clôd,
Nid oes yno ddiwedd cofio
Pob cystuddiau fu yn bôd ;
Byth ni dderfydd
Canmawl Duw yn nhŷ fy Nhad.

5 Dechreu canu, dechreu canmawl,
Yn mhen mil o filoedd maith,
Iesu, bydd y pererinion
Hyfryd draw ar ben eu taith :
Ni cheir diwedd
Byth ar sŵn y delyn aur. W.

## 617 (803) *Gorphwys wrth yr orsedd.*

8. 7. 4.—Llanilar. Catharine.

1 WRTH Dy orsedd 'r wyf yn gorphwys,
Llefain arnat foreu a nawn,
Am gael clywed llawn ddistawrwydd
Ar f'euogrwydd tanllyd iawn,
A thangnefedd
Pur o fewn yn cadw'i le.

2 'D oes ond grâs yn eitha'i allu
Ddaw â'm henaid idd ei le ;
Grâs yn unig all fy nghadw
O fewn muriau'i gariad Ef :
Uwch law dyfais
Dyn a'i allu, mae ei rym.

3 Llef ddrylliedig gref y croesbren
Sydd yn abl maddeu 'mai :
Llef y croesbren sydd yn abl
Gwneyd i'm henaid 'difarhau :

Ar Galfaria,
Fynydd sanctaidd, mae fy ngrym.

4 Mi ddisgwyliaf yno'n dawel,
Ac mi gredaf rywbryd daw
Gwaredigaeth i garcharor
Bur oddi yno maes o law :
Doed pan ddelo,
Mi ddisgwyliaf nes ei d'od. W.

## 618 (794) *Ffordd o waredigaeth.*

8. 7. 4.—St. Peter.

1 FFORDD nid oes o waredigaeth
Ond a agorwyd ar y pren—
Llwybr pechaduriaid euog
'Mewn i byrth y nefoedd wèn :
Dyma'r gefnffordd,
Gwna i mi ei cherdded tra f'wyf byw.

2 Nid myfi sydd yn rhyfela,
'D yw fy ngallu penaf ddim ;
Ond mi ro'is fy holl ryfeloedd
I'r un godidoca'i rym :
Yn Ei allu,
Minnau ddôf trwy'r anial maith. W.

## 619 (777) *Gweddi am fendithion yr iachawdwriaeth.*

8. 7. 4.—Hapus Dyrfa. St. Hildebert.

1 DISGYN, Iesu, o'th gynteddoedd,
Lle mae moroedd mawr o hedd ;
Gwêl bechadur sydd yn gorwedd
Ar ymylon oer y bedd ;
Rho i mi brofi
Pethau nad adnabu'r byd.

2 Rho oleuni, rho ddoethineb,
Rho dangnefedd f'o'n parhau,
Rho lawenydd heb ddim diwedd,
Rho faddeuant am bob bai ;
Triged D'Ysbryd
Yn Ei deml dàn fy mron.

3 Ynot' mae fy iachawdwriaeth,
On'te'n wir mi lwfrhawn ;

Ac mae'r poenau a ddioddefaist
Ar Galfaria'n berffaith Iawn
Dros bechodau
'R pechaduriaid dua'u lliw.

4 Yn y ffynnon hon agorwyd
Yn Dy ystlys ar y pren,
'R wyf fi'n d'od, â'm gwisg yn aflan,
Idd ei chànu'n awr yn wèn:
Mi ddôf allan,
Fel yr eira ar y bryn. W.

## 620 (802) *Gweddi am lwyr lanhâd.*

8. 7. 4.—Llanilar. Catharine.

1 CUDD fy meiau rhag y werin,
Cudd hwy rhag cyfiawnder ne';
Cofia'r gwaed un waith a gollwyd
Ar y croesbren yn fy lle;
Yn y dyfnder
Bôdd y cyfan sy ynwy'n fai.

2 Rho gydwybod wedi ei chànu
'N beraidd yn y dwyfol waed,
Cnawd a natur wedi darfod,
Clwyfau wedi cael iachâd;
Minnau'n aros
Yn fy ninas foreu a nawn.

3 Rho fy nwydau, fel cantorion,
Oll i chwareu'u bysedd cun
Ar y delyn sydd yn seinio
Enw Iesu mawr Ei Hun:
Neb ond Iesu
F'o'n ddifyrwch ddydd a nôs. W.

## 621 (752) *Noddfa yn Nuw.*

8. 7. 4.—St. Garmon. Caersalem.

1 DARFU noddfa mewn creadur,
Rhaid cael noddfa nês i'r nef;
Nid oes gadarn le i mi orphwys
Fythol ond Ei fynwes Ef;
Dyma'r unig
Fàn caiff f'enaid wir iachâd.

2 Dyma'r euog, ofnus, aflan,
Eto'n chwennych bod yn wŷn,
Yn yr afon gymmysg liwiau
Dòrodd allan ar y bryn:
Balm o Gìlead,
Anghydmarol yw Dy waed.

3 Dàn Dy aden cedwir f'enaid,
Dàn Dy aden byddaf byw,
Dàn Dy aden y gwaredir
Fi o'r beiau gwaetha'u rhyw;
'R wyt yn gysgod
Rhag euogrwydd yn ei rym. W.

## 622 (784) *Ymddiried yn y gair.*

8. 7. 4.—Hyder.

1 HEDDYW yw'r dydd 'r wy'n ofni syrthio,
Dïau heddyw yw efe;
Eto, sefyll 'r wyf, er gwàned,
Trwy awdurdod mawr y ne';
'R wyf yn credu
'R âf dàn ofni i ben fy nhaith.

2 Nid oes ond fy nghnawd yn ofni,
F'ysbryd sydd yn cadw'i le,
Ac ni fŷn ef golli ei afael
Ar addewid Brenin ne';
Gair Dy enau
Bair im' sefyll tra b'o chwŷth.

3 Y mae yn y gair leferaist
Fwy o fywyd, fwy o râs,
Nag sy o rym yn uffern dywell,
A'i byddinoedd cyfrwys, câs:
Dywed sillaf,
Dyna'r nef yn cario'r dydd.

4 Mi ddisgwyliaf, doed a ddelo,
Deued boreu, deued nôs,
Deued corwynt, deued tymmestl,
Nes cael teimlo gwaed y groes:
Gwel'd Dy glwyfau
Yw'r ddedwyddaf awr i mi.

5 Hyn yw'm nefoedd, hyn yw'm hawddfyd
Yn nhymhestloedd oer y byd—
Câf fyn'd dros y bryniau stormus,
I gael gwel'd Dy wyneb-pryd:
Fe ä heibio
Sŵn y dymmestl gref a'r gwynt. w.

## 623 (781) *Ymwared mewn ofn.*

8. 7. 4.—Hyder.

1 DACW uffern yn ei harfau,
Dyma bechod yn ei rym,
Dyma f'ofnau innau'n bygwth
Na allaf eu concwerio ddim:
Gallu'r nefoedd,
Tyr'd i waered, dyma'r awr.

2 Dadrys rwydau sydd heb rifo
Wedi eu taenu draw o 'mlaen;
Llosg bob gefyn sy'n fy rhwymo,
Â Dy ddwyfol nefol dân;
Gwna i garcharor
Heddyw gael ei draed yn rhydd.

3 Dysg y galon drist i chwerthin,
Dysg i'r mudan seinio cân,
Dysg yr ofnus gwàn i gludo
Uffern fawr i lawr o'i flaen:
Dôd wylofain
Yn ganiadau Calfari. w.

## 624 (782) Rhan ii.

8. 7. 4.—Hyder.

1 O! NA ro'i'r winwydden hyfryd
Beth o'i ffrwythau i lawenhau
Enaid flinodd gan och'neidio,
Enaid flinodd gan dristau:
Deued bellach—
Deued blodau, deued hâf.

2 Llais y durtur doed i lòni
Rhai na cha'dd ond gaua' 'rioed—
Mi, yr hwn ag sydd yn methu
Cael fy meiau dàn fy nhroed:

Attal, Arglwydd,
Angeu nes cael gweled dydd.

3 Pe cawn gredu i Ti farw,
A dïoddef, yn fy lle,
Ac i Ti bwrcasu trigfan
I fy enaid yn y ne',
Byth ni phwyswn
Faint fy ngofid, faint fy ngwae. W.

## 625 (799) *Mwynhâd helaethach o heddwch.*

8. 7. 4.—Ardudwy. Watford.

1 DACW'r màn dymunwn drigo—
Wrth afonydd gloywon, llawn,
Sydd yn llifo o ddŵr y bywyd
O lâs foreu hyd brydnawn,
Lle cawn yfed
Hyfryd gariad fyth a hedd:

2 Lle cawn wel'd yr Hwn wy'n garu,
'R Hwn fu farw ar y groes,
A myfyrio ar Ei gariad
Yn dïoddef angeu loes;
A chael gorphwys
Draw yn mhell o dwrf fy mhlâ.

3 Yno cawn orchfygu ofnau,
Âg anadliad pur y nef;
Yno cawn goncwerio angeu,
A'i hên golyn gydag ef:
Tyred, amser—
Tyred bellach, mae'n brydnawn. W.

## 626 (783) *Ymgeledd mewn tir sychedig.*

8. 7. 4.—Hyder.

1 Y MAE syched ar fy nghalon
Heddyw am gael gwir fwynhau
Dyfroedd hyfryd ffynnon Bethle'm—
Dyfroedd gloyw sy'n parhau;
Pe cawn hyny,
'Mlaen mi gerddwn ar fy nhaith.

2 Y mae gwrês y dydd mòr danbaid,
Grym fy nwydau fel y tân,

A gwrthrychau gwâg o'm cwmpas
Am fy rhwystro i fyn'd yn mlaen ;
Rho i mi gysgod,
Addfwyn Iesu, ganol dydd. W.

## 627 (758) *Gorfoledd yn Nuw.*

8. 7. 4.—Bridport. Abbeycombe.

1 WRTH Dy orsedd 'r wyf yn gorwedd,
Disgwyl am y ddedwydd awr,
Pan gâf glywed llais gorfoledd,
Pan gâf wel'd fy meiau i lawr:
Ti gai enw
'R fuddugoliaeth it' Dy Hun.

2 Doed Dy heddwch bryd y delo,
Mi ddisgwyliaf ddydd a nôs ;
Annherfynol ydyw haeddiant—
Haeddiant pur Dy angeu loes:
Tyr'd yn fuan,
Mae Dy hedd yn fwy na'r byd.

3 Bywyd perffaith yw'th gymdeithas,
Diliau mêl yw'th heddwch drud ;
Gwerthfawrocach yw Dy gariad
Na holl berlau'r India i gyd :
Gwlad o gyfoeth,
Yw yn unig Dy fwynhau. W.

## 628 (788) *Hiraeth am gymdeithas gysson â Christ.*

8. 7. 4.—St. Peter.

1 BOED fy nghalon i Ti'n deml,
Boed fy ysbryd i Ti'n nyth,
Ac o fewn y drigfan yma
Aros, Iesu, aros byth :
Gwledd wastadol
Fydd Dy bresennoldeb im'.

2 Awr o Dy gymdeithas felus,
Awr o wel'd Dy wyneb-pryd,
Sy'n rhagori fil o weithiau
Ar bleserau gwâg y byd :
Mi ro'r cwbl
Am gwmpeini pur fy Nuw.

3 Dadrys, dadrys fy nghadwynau,
Gâd i'm hysbryd fyn'd yn rhydd;
'R wyf yn blino ar y t'w'llwch,
Deued, deued goleu'r dydd:
Yn y goleu
Mae fy enaid wrth ei fodd.

4 Gwawrddydd, gwawrddydd yw fy mywyd;
Gwel'd y wawrddydd, 'r wyf yn iach:
Mi arosaf hyd nes delo,
Daw, hi ddaw 'mhen gronyn bach:
Tyred, tyred,
Im' gael gwel'd fy ngwlad fy hun. W.

## 629 (766) *Hiraeth am ryddid y nef.*

8. 7. 4.—Llandinam. Islwyn.

1 DYMA'r màn dymunwn aros,
O fewn pabell bur fy Nuw,
Uwch terfysgoedd ysbryd euog,
A themtasiwn o bob rhyw;
Dàn awelon
Peraidd hyfryd tir fy ngwlad. W.

## 630 (786) *Gweddi am bresennoldeb Duw.*

8. 7. 4.—Hyder.

1 NID oes arnaf faich yn gorphwys,
Dim ond eisieu Dy fwynhau;
Nid oes arall dàn y nefoedd
All yn hollol fy iachau:
Rho Dy gwmni,
Cyn im' fyn'd i'r cefnfor glâs.

2 Tŷn yr ofn hên o farw
Sydd yn llechu dàn fy mron;
Rho i mi heddwch, rho orfoledd,
Tra b'wyf ar y ddaear hon:
Na therfysged
F' enaid gwàn yn ngrym y dŵr.

3 Nid wy'n caru fy mhechodau,
Poenau ydynt oll i gyd;
Hwnw sy'n fy mhoeni fwyaf
Ag sy'n ceisio myn'd â 'mryd:

Tòr hwy'n fuan,
Dyna finnau wrth fy modd.

4 Dyma'n gwbl fy neisyfiad,
Imi gael bôd yn Dy gôl ;
Er na theithiais eto nemawr,
N'âd fi dỳnu hyny'n ol :
Gwna i mi gadw
'Ngolwg tua'r hyfryd wlad. W.

## 631 (791) *Grâs yn gorchfygu.*

8. 7. 4.—St. Peter.

1 LLWCH wyf fi, o'r llwch y daethum,
Pryf yw 'mrawd, y ddae'r yw 'mam ;
Eto'r wyf yn 'mofyn teyrnas
Ddi-sigledig, bur, ddi-nam :
Pryf y ddaear,
A ddaw hwnw i mewn i'r nef ?

2 Dôf, mi ddôf trwy'r anial garw,
Dôf er gwaetha'r moroedd glâs ;
Dôf trwy'r cenllysg a'r tymhestloedd
Sydd yn curo ar fy ngrâs ;
Am mai cadarn
Yw yr Hwn 'r wyf yn Ei gôl.

3 Fe ennynwyd ynof fflamau,
Tân mor hyfryd, tân mor gry',
Nid o'r ddaear daeth ei wreiddyn,
Cariad pur y nefoedd fry :
Awel beraidd
O fynyddau hyfryd râs.

4 Chwi, angylion, sydd yn edrych
Ar Ei wyneb gwridog, gwỳn,
Traethwch im' pa fodd dechreuodd
Fflam mor berffaith bur a hyn :
Nef ei hunan
'Nynodd ynwy'i helfen bur. W.

## 632 (736) *Nerth y groes.*

8. 7. 4.—Eli. Regent Square.

1 CYMMER, Iesu, fi fel 'r ydwyf,
Fyth ni allaf fod yn well ;

Dy allu Di a'm gwna yn agos,
F'ewyllys i yw myn'd yn mhell:
Yn Dy glwyfau
Bydda'i 'n unig fyth yn iach.

2 Mi ddiffygiais deithio'r crasdir
Dyrys, anial, wrthyf f' hun;
Ac mi fethais â choncwerio
O'm gelynion lleiaf un:
Mae Dy enw
'N abl rhoddi'r cryfa' i ffoi.

3 Gwaed Dy groes sy'n c'odi 'fyny
'R eiddil yn goncwerwr mawr;
Gwaed Dy groes sydd yn darostwng
Cewri cedyrn fyrdd i lawr:
Gâd im' deimlo
Awel o Galfaria fryn.

4 Mwy yw D'eiriau ar y croesbren,
Geiriau gwerthfawr, geiriau drud;
Mwy yw'r leiaf sill' o honynt
Na fy nyledswyddau i gyd:
Edrychaf yno;
Yno mae fy nerth a'm grym.

5 Clywed Dy riddfanau chwerwon
Wna i'm henaid lawenhau;
Teimlo'th gariad wna i'm gelynion
Cynddeirioca' i lwfrhau:
Yna, yna,
Mae fy nhrigfa fyth i fôd. W.

## 633 (762) *Ffydd yn syllu ar wlad yr addewid.*

8. 7. 4.—Calfari. Blaencefn.

1 O! NA ddôi'r amseroedd bellach
Imi gael mwynhau o hyd
Pethau leinw fy nymuniad,
Pethau nad y'nt yn y byd:
Ni ddaw'r ddaear
Fawr a minnau byth yn un.

2 Mae fy enaid yn ehedeg
Ar adenydd ysgafn ffydd,

Ac yn syllu trwy'r ëangder
Uchel, maith, at bethau fydd :
'N awr mi welaf
Wlad o hedd yn agoshau.

3 Rhwng cymylau duon, tywyll,
Gwelaf draw yr hyfryd wlad ;
Mae fy ffydd yn llefain allan—
Dacw o'r diwedd dŷ fy Nhad :
Digon, digon ;
Mi anghofia'm gwae a'm poen.

4 O ! gwasgerwch, dew gymylau,
I'r addewid rhoddwch le ;
Nid i'r ddaear hon y'm ganwyd,
Tragwyddoldeb yw fy lle :
'N ol tywyllwch,
C'od o'r diwedd foreu wawr. W.

## 634 (753) *Gweddi am weled tegwch y Gwaredwr.*

8. 7. 4.—Bridport. Abbeycombe.

1 MI ddymunwn wel'd yn rhwygo
Holl gymylau du y nef,
I bechadur weled gronyn
O'i ogoniant hyfryd Ef :
O ! dadguddia
Imi ran o'th enw mawr.

2 Rhan o'th degwch a wna'n dywyll
Ddisglaer bethau gwych y byd ;
Îs y nefoedd a ddiflana
Yn ngoleuni'th wyneb-pryd :
Rai munydau,
Rho i mi brofi'r hyn sydd fry. W.

## 635 (761) *Edrych trwy ffydd ar y wlad well.*

8. 7. 4.—Calfari. Blaencefn.

1 O ! FY enaid, gorfoledda,
Er mai tristwch sy yma'n llawn ;
Edrych dros y bryniau mawrion,
I'r ardaloedd hyfryd iawn :
Uwch tymhorol
Feddiant mae fy nhrysor drud.

2 Gwêl tu hwnt i fyrdd o oesoedd,
Gwêl hapusrwydd maith y nef;
Edrych ddeng mil eto 'mhellach,
Digyfnewid byth yw ef;
Tragwyddoldeb,
Hwn sy'n eiddo i mi fy hun.

3 'R wyf yn edrych ar y cwbl
Ag sydd yn y bydoedd draw;
Pethau pell yn bethau agos,
Pethau fu yn bethau ddaw:
Môr heb waelod
O bleserau ddaeth i'm rhan.

4 Nid oes terfyn ar fy ngobaith,
Cyrhaedd mae yn mlaen o hyd;
Gyda'r Duwdod mae'n cydredeg,
Dyddiau'r ddau sydd un ynghyd:
Annherfynol
Ydyw fy llawenydd mwy.

5 Anfeidroldeb maith ei hunan
Sydd yn awr yn eiddof fi;
Yn rhâd y ca'dd ei roddi imi
Draw ar fynydd Calfari:
Tyr'd yn fuan,
Hyfryd hâf o berffaith hedd. W.

## 636 (821) *Ymgysuro yn Nuw.*

8. 7. 3.—Holstein. Neander.

1 TI Dy Hunan yw fy Mhrïod,
Ti Dy Hunan yw fy Nuw;
Ti Dy Hunan yw fy ngobaith
A'm hapusrwydd tra f'wy' byw
'R wyf yn llawn, ddiddig iawn,
'Ddaliaf ragor ddim pe cawn.

2 Tyr'd grëadigaeth, rhàna'th gyfoeth,
Peth i'r dwyrain, peth i'r de,
A chais lanw awydd dynion,
Gwna hwy'n ddiddig yn eu lle:
'D all y byd lanw 'mryd,—
Dim ond cariad gwerthfawr, drud.

3 ’N awr ’r wy’n darfod â marwoldeb,
Holl bleserau cig a gwaed,
Ac yn clywed plant afradlon
Heddyw’n canu’n nhŷ fy Nhad:
Blant y byd, de’wch ynghyd,
Cym’rwch ei bleserau i gyd.

4 Y mae genyf bleser ddigon
Yn ngoleuni pur y nef;
’R wyf yn bwyta pur ddanteithion,
Dim ond edrych arno Ef:
Gwel’d Ei wedd, profi Ei hedd,
Sydd yn rhyw dragwyddol wledd. w.

## 637 (823) *Ymddedwyddu yn Nuw.*

8. 7. 3.—Stepney. James Street.

1 YMNEILLDÜWCH, bethau’r ddaear,
Pethau natur, pethau’r byd;
’R wy’n dymuno peidio gwrando
Ar eich holl ddeniadau ’nghyd;
Unig Un, uwch na dyn,
Mae fy enaid wrtho ’nglŷn.

2 Doed y diluw i deyrnasu
Eto unwaith fel o’r blaen;
Deued annhrefn i gymmysgu
Daear, awyr, dŵr, a thân;
Dedwydd fi yn y lli’,
Tra f’o’m Duw’n teyrnasu fry.

3 Colled pob blodeuyn hyfryd
Ei holl degwch îs y rhôd;
Deued hacrwch ar wynebau
Pob creadur sydd yn bôd;
Tegwch byd fydd ynghyd
Oll yn wyneb Prynwr drud.

4 Pe diffoddai’r heulwen ddisglaer
Yn yr awyr deneu, lâs,
A phe treuliai’r sêr y fflamau
Ynddynt sydd o dân i maes;
Mi gâf fyw, gyda’m Duw,
Mewn disgleirdeb heb ei ryw.

5 Mi gâf fod o flaen yr orsedd,
Mi gâf ganu'r anthem bur,
Pan ddarfyddo sôn am ddaear—
Sôn am foroedd, sôn am dir:
Dwyfol loes angeu'r groes
Fydd y canu ddydd a nôs. W.

## 638 (822) *Disgwyl am iachawdwriaeth.*

8. 7. 3.—Neander. Talgarth.

1 Y MAE lluoedd Pharaoh'n canlyn—
Beiau llidiog, cedyrn, cry';
Moroedd maith sy'n rhuo'u tònau—
Rhwystrau creulon o bob tu;
Tyr'd yn mlaen, Iesu glân,
Ti bïau 'r dyfroedd mawr a'r tân.

2 Mi dybygwn gwelai'r boreu,
Haul yn c'odi oddi draw,
Iachawdwriaeth râd yn nesu,
Hedd a phardwn yn ei llaw;
Y mae'r wawr, hyfryd awr,
Bron a thòri 'maes yn awr.

3 Minnau ar y mur ddisgwyliaf,
Gẁn na oeda dim o'i droed;
Ni w'radwyddwyd îs y nefoedd
Neb ddisgwyliodd wrtho erioed:
Pan ddêl dydd, âf yn rhydd
O'r hyn yn fy mhoeni sydd. W.

## 639 (838) *Y pererin yn yr anialwch.*

8. 7. 3.—Rheidol. Gwahoddiad.

1 RHO i mi yfed, 'r wy'n sychedig,
Ddŵr y ffynnon loyw, lawn,
Darddodd allan o Dy ystlys
Ar Galfaria un prydnawn:
Gwaed fy Nuw, 'n unig yw,
Ylch fy meiau dua'u rhyw.

2 Edrych arnaf mewn tangnefedd—
Dy dangnefedd hyfryd, mae
Fel rhyw afon fawr, lifeiriol,
Yn ddiddiwedd yn parhau:

Môr o hedd yw Dy wedd
Sy'n goleuo'r byd a'r bedd.

3 Maddeu fel y cyfeiliornais,
Weithiau i'r dwyrain, weithiau i'r de;
Maddeu drachwant câs fy nghalon
I ymado 'maes o dre';
Dŵg yn ol f' ysbryd ffôl,
I Dy dirion, dawel gôl. W.

## 640 (831) *Gweddi am brofi nerth y groes.*

8. 7. 3.—Priscilla. Dolfor.

1 TYRED, Arglwydd, â'r amseroedd
Mae fy enaid am fwynhau—
Pur dangnefedd heb dymhestloedd,
Cariad hyfryd a di-drai:
Gwledd o hedd tu yma i'r bedd,
Nid oes ond Dy blant a'i medd.

2 Rho i mi arwydd cryf, disigl,
Heb amheuaeth ynddo ddim,
Gan nad beth f'o arnaf eisieu,
Dy fod Di yn Brïod im':
Gwel'd fy rhan, ddeil i'r làn,
Yn mhob brwydr, f'enaid gŵan.

3 Nid all dim o'r storom danbaid,
Nid all dim o'r gwyntoedd cry',
Guro i lawr yr enaid egwan
Welo'i drysor ynot Ti:
Teimlo'th hedd, gwel'd Dy wedd,
Goncra angeu tu yma i'r bedd.

4 Âf ar hyd fy ffordd yn ddiddig,
Âf ar hyd fy ffordd yn hy',
Teithia'r anial mewn gorfoledd
O hyd golwg atat Ti:
D'eiriau Di, melus cu,
Sydd yn ddigon byth i mi.

5 Pan y collwyf wel'd Dy wyneb,
Pan anghofiwyf waed Dy groes,
Dyna'n dyfod, fel y diluw,
Dywell, anial, ddyrys, nôs:

Gradd o ffydd wed'yn sydd,
Dawel, deg, yn d'od â dydd. W.

## 641 (832) *Hiraeth am ben y daith.*

8. 7. 3.—Priscilla. Dolfor.

1 ARGLWYDD, tyred â'r newyddion
Sydd yn gweithio llawenhau,
Ac aed heibio'r noswaith dywell
O och'neidio a thristau:
Imi'n glir wel'd y tir
Brynwyd trwy ddioddefaint gwir.

2 Gâd i'm henaid lànio yno,
Y mae'r tònau'n fawr eu grym,
Ac ni all fy enaid ofnus
Ddàl eu pwysau anferth ddim:
D'angeu drud, tra 'n y byd,
Fydd fy nghysur oll i gyd.

3 O! na welwn gopa'r bryniau,
Mae f'Anwylyd yno'n byw;
'R wyf yn caru'r gwynt sy'n hedeg
Dros fy Nghanaan hyfryd wiw:
'Fedd y llawr ddim yn awr
Leinw le fy Arglwydd mawr. W.

## 642 (818) *Noddfa yn Nuw.*

8. 7. 3.—Groeswen. Revel.

1 DYMA'r eiddil yn ymdreiglo
At y ffynnon loyw râd;
Dacw'r aberth pur yn gwaedu,
Golch fy enaid yn y gwaed;
Rhoddwyd briw i fy Nuw—
Golchir beiau dua'u lliw.

2 Dinas noddfa gaed o'r diwedd
Fry o fewn ystlysau'r nef,
Ag nas gall fyth mo'r dïalydd
Dreiddio mewn i drothwy'r dref;
Tŷ fy Nhad, dinas râd,
A bwrcasodd dwyfol waed.

3 Minnau, bellach, orfoleddaf,
Mae fy mywyd gwerthfawr iawn

Wedi ei roddi 'nghudd i gadw
Mewn Cyfryngwr perffaith lawn :
Abl yw, mae yn Dduw,
Ceidw f'enaid byth yn fyw. W.

## 643 (830) *Hiraeth am fwynhau Canaan.*

8. 7. 3.—Priscilla. Dolfor.

1 O! NA ddeuai oriau hyfryd
Nefol wŷnfyd Dy fwynhau ;
Gwîn Dy gariad i fy llòni,
Blâs o'th hedd i'm llawenhau ;
O ! na chawn, foreu a nawn,
Brofi rhîn Dy ddwyfol ddawn.

2 Sypiau grawnwin dyffryn Eschol,
Pomgranadau'r Ganaan wlad :—
'Beth yw hyn ond ffrŵd lifeiriol
Pur dangnefedd tŷ fy Nhad ?
Nef yn awr, ar y llawr,
Yw Dy hedd, fy Arglwydd mawr.

## 644 (848) *Cwyn yr edifeiriol.*

7au. 4ll.—Nottingham. Elijah

1 DYMA'r tlawd a'r llesga' erioed,
Fethodd ddilyn ôl Dy droed ;
Llwybrau pur yw'th lwybrau Di,
Oll yn sanctaidd, oll yn gu.

2 Miloedd o feddyliau gau
Yn fy nghalon sy'n parhau ;
Nes 'r wy'n treulio 'm dyddiau i gyd
Yn gystuddiol yn y byd.

3 Danfon imi 'r olew gwir,
Ysbryd y llawenydd pur ;
Dangos Dy fod imi 'n Dduw,
Gwella'r esgyrn wne'st yn friw.

4 Mae 'nghydwybod foreu a nawn
Yn fy marnu'n euog iawn ;
Gwaeddi 'maes mae'r ddeddf yn hy'
Na faddeuwyd imi fry.

5 Golch f' euogrwydd yn Dy waed,
Bôdd'bob bai, rho im' iachâd ;

O! cyhoedda'r tawel hedd,
Iesu, 'r ochr yma i'r bedd. W.

**645** (854) *Mwy o gymdeithas â Duw.*

7au. 6ll.—Gethsemane. Bhoi Lymbong.

1 ARGLWYDD, ffoed cymylau mwy,
Grym euogrwydd damniol glwy';
Rho i mi brofi'th ddwyfol hedd,
Afon bur, tu yma i'r bedd,
Fel y gallwyf, ddydd a nôs,
Ymddigrifo yn Dy groes.

2 Ffàrwel bob peth yn y byd,
Twyll a gwagedd y'ch i gyd;
Y melusdra penaf gawn,
Gwenwyn du sydd ynddo'n llawn:
Iesu, 'd oes o nefol rîn,
Ond Dy wleddoedd Di Dy Hun.

3 Nid wy'n ceisio gan fy Nuw
Heddyw hawddfyd o un rhyw;
Rho i mi feddu'th Ysbryd cun—
Llechu'n agos it' Dy Hun,
Ti gai'm cynnal dàn bob croes,
Goleu ddydd neu dywell nôs.

4 Ac er lleied yw fy ngrym,
Dàn Dy aden 'd ofnaf ddim;
Mymryn bach o'th gariad drud
Sydd yn fwy nag uffern lîd;
Gwel'd Dy wedd, a chredu'th waith,
F'enaid ddŵg i ben ei daith.

5 F'enaid, gwêl Galfaria fryn,
Yno concrwyd angeu'n llyn,
Yno maeddwyd gallu'r bedd,
Yno prynwyd dwyfol hedd;
Y greadigaeth heddyw sy
Dàn awdurdod Iesu cu. W.

**646** (847, 861) *Canu am y gwaed.*

7au. 8ll.—Aberystwyth. Nottingham. Elijah.

1 'BETH sydd imi yn y byd,
Ond gorthrymder mawr o hyd?

Gelyn ar ol gelyn sydd
Yn fy nghlwyfo nôs a dydd.
Meddyg archolledig rai,
Tyr'd yn fuan i'm hiachau;
Yna canaf am Dy waed
Nes meddiannu 'r nefol wlad.

2 O! na allwn, tra fa'wn byw,
Rodio bellach gyda 'm Duw;
Treulio f' oriau iddo 'n llwyr
O foreuddydd hyd yr hwyr!
Iesu hawddgar! tyr'd i lawr,
Gâd im' wel'd Dy wedd yn awr;
Yna, canaf am Dy waed
Nes meddiannu 'r nefol wlad. M. R.

## 647 (859) *Tŷ fy Nhad.*

7au. 8ll.—Presburg. Aberystwyth.

1 YMA'n griddfan ar y llawr
Wyf yn ngwlad y cystudd mawr;
Methu marw, methu byw,
Wedi colli gwedd fy Nuw;
O fy Iesu! clyw fy nghri,
Gâd im' dd'od i'th fynwes Di;
Yn Dy iachawdwriaeth râd,
Dŵg fi'n ol i Dy fy Nhad.

2 Maith yw'r nôs a marwol ddu,
Llawn gofidiau o bob tu;
Minnau'n aros yn yr hwyr,
Bron ag anobeithio'n llwyr;
Ond dros fryniau'r dwyfol dir
Tòra gwawr dragwyddol glir;
Henffych foreu fy rhyddhâd,
Y câf fyn'd i Dŷ fy Nhad.

3 Ar fy llwybrau yn y byd
Mae cysgodau'r bedd o hyd;
Ofnau creulon yn mhob màn
Sydd yn tòri 'nghalon wàn;
Ond mae gwedd fy Iesu gwỳn
Yn oleuni yn y glỳn;

Croesaw angeu du a'i frâd,
Draw mi welaf Dŷ fy Nhad.

4 Grâs y nef a leinw'n awr
Wagder fy nhrueni mawr;
Yn fy Iesu byth yn llawn
Mae digonedd Duw mewn Iawn;
At Ei groes yr âf o hyd,
Ac mi ganaf, gwỳn fy myd;
Y mae yno gariad rhâd
Yn rho'i hawl i Dŷ fy Nhad. E. R.

## 648 (866) *Hedd o Galfaria.*

7. 4.—Dychweliad.

1 O GALFARIA mae fy hedd,
A fy mywyd;
Ac oddi yno mae fy ngwledd
Nefol hyfryd:
Ac o tàn Ei aden wiw
Fyth arosaf,
Ac mi ganaf tra f'wyf byw,
Haleluwia.

2 Ymddifyraf wrth Ei groes,
Yn fy mlinfyd,
Ac mi gofia'i ddwyfol loes,
Nerth fy mywyd;
Yn mhob cystudd a phob gwae
Ymfoddlonaf;
Y mae'r diwedd yn nesau:
Haleluwia.

3 Dedwydd wyf, mi ganaf mwy,
Dydd sy'n gwawrio,
Câf ro'i i'm gelynion glwy',
Sy'n fy mlino;
Nes d'od allan o bob plâ
Mi ddisgwyliaf,
Ac ar fyrder canu wna',
Haleluwia. W.

## 649 (877) *Ymgeledd yr iachawdwriaeth.*

7. 4.—Patmos. Tiberias.

1 IESU! cymmer fi yn Dy gôl,
Rhag diffygio;
N'âd fy enaid bach yn ôl,
Sydd yn crwydro;
Arwain fi trwy'r anial maith,
Aml ei rwydau,
Fel na flinwyf ar fy nhaith
Nes myn'd adre'.

2 Rho Dy heddwch dàn fy mron—
Ffynnon loyw;
Ffrydiau tawel, nefol, hon,
Fyth a'm ceidw;
Os câf yfed dyfroedd pur,
Mi drafaelaf
Fryniau ucha'r anial dir—
Ni ddiffygiaf.

3 Gwedd Dy wyneb siriol sy
Yn gorchfygu
Y gelynion creulon, cry',
Oedd yn maeddu;
Gwedd Dy wyneb serchog yw
Fy holl iechyd,
Dyna alwaf tra f'wyf byw
Imi'n wŷnfyd. W.

## 650 (871) "*Byddaf hyfryd yn Nuw.*"

7. 4.—Aberafon. Llanfair.

1 PE âi'r ddaear, fawr ei rhôd,
'Lawr i'r dyfnder;
A phe'r cyfan arni'n bôd
A ddiddymer;
Ar Ei gariad dwyfol, pur,
A'i drugaredd,
Bydd fy ngobaith cadarn, clir,
Hyd y diwedd.

2 Pe âi dynion, fawr a mân,
Yn elynion,

Ac ymddifad awn yn lân
O gyfeillion ;
Un yw 'nghyfaill a fy Nuw—
Frawd ffyddlonaf ;
Minnau, 'n farw ac yn fyw,
Fyth a'i caraf.

3 Pe dôi cystudd yn ei rym
I fy mhrofi,
Gwasgu'r eiddil gwàn yn ddim,
A'i orchfygu ;
Edrych wnawn i'r dwfn fedd,
Ac ni'm syflid,
Ond cael teimlo nefol hedd
Fy Anwylyd.

4 Pe dôi dae'r ac uffern fawr
Yn eu gallu,
I daflu f'enaid gwàn i lawr,
Sy'n llewygu ;
Os o dàn Ei aden wiw
Câf ymguddio,
Safa' i 'r storom waetha'i rhyw
Nes êl heibio. W.

## 651 (875) *Cyffes yr edifeiriol.*

7. 4.—Patmos. Tiberias.

1 MYN'D a wnaf, dàn g'odi'm llef,
A chyfadde'—
Pechu wne's yn erbyn nef,
O'th flaen Dithau ;
Nid wyf deilwng fab i Ti,
Dad trugarog ;
Rho le imi yn Dy dŷ
Fel gwâs cyflog. G. 1.

2 Blinais, blinais ar y wlad
Lle mae pechu ;
Am dd'od adre' i dŷ fy Nhad
'R wy'n hiraethu ;
Bydd Dy Hunan, Iesu mawr,
Yn fy nerthu ;

N'âd im' roddi f'arfau i lawr
Nes gorchfygu. G. L.

## 652 (876) *Mawl am arbediad.*

7. 4.—Gogerddan. Tiberias.

1 RHYFEDD na buaswn 'n awr
Yn y fflamau,
Wedi cael fy nhòri i lawr
Am fy meiau ;
Gan fy mod i heddyw'n fyw,
Mi ro'f deyrnged
O glôd a mawl i'm Harglwydd Dduw
Am fy arbed.

2 Rhyfedd yw i Dduw erioed
Edrych arnaf ;
Mawr yw'm rhwymau i ro'i clôd
I'r Goruchaf ;
Os ca'i 'nwyn i ben fy nhaith
Yn ddïangol,
Moli Iesu fydd fy ngwaith
Yn dragwyddol. G. L.

## 653 (898) *Nesau tua phen y daith.*

11au.—Schubert. Gorton.

1 MAE'm hymdaith dros fryniau i'r gwledydd tu draw,
Mae'n dianc o'm golwg bob ardal ger llaw ;
'R wy'n gwel'd trwy addewid, lawn sicr a drud,
Y tiroedd bwrcaswyd cyn seiliad y byd.

2 Os melus oedd dechreu, mwy melus yr hedd
Pa nesaf cyrhaeddom i ardal y bedd ;
Mae angeu, mae pechod, o'u bron yn gwanhau,
I diroedd y bywyd â ni'n agoshau.

3 Mae enw f'Anwylyd mor anwyl, mor fawr,
Hyfrydwch y nefoedd, hyfrydwch y llawr ;
Ni dderfydd Ei garu, ni dderfydd Ei glôd,
Pan na byddo seren yn uchder y rhôd. W.

## 654 (928) *Awydd gweled diwedd y daith.*

8au. 8ll.—Trewen. Rhyl.

1 WRTH gofio'r Jerusalem fry,
Y ddinas, preswylfa fy Nuw,

Y saint a'r angylion y sy
  Yn canu caniadau o bob rhyw,
Ac yno mae 'nhrysor i gyd,
  'Nghyfeillion a'm brodyr o'r bron ;
Fy nghalon hiraetha o hyd
  Am fyned yn fuan i hon.

2 Fy enaid sychedig i sydd,
  Wrth deithio dros fryniau mor faith,
Yn disgwyl yn dawel bob dydd
  Cyfarfod â diwedd fy nhaith ;
Fel darffo fy ngofid a'm gwae,
  Fy nhrallod, fy mlinder, a'm poen,
A dechreu'm gorfoledd di-drai—
  Caniadau tragwyddol i'r Oen.

3 Er gofid a blinder o hyd,
  A rhwystrau bob munyd o'r awr,
Gelynion echryslon i gyd
  Sy'n curo fy ysbryd i lawr ;
Fy enaid lluddedig a ddaw
  Trwy stormydd, trwy dònau, trwy dân,
Er gwaethaf pob dychryn a braw,
  I'm cartref tragwyddol yn lân.

4 Mi garaf f' Anwylyd o hyd,
  Fy Mhrynwr, fy Mhrïod, a'm Pen ;
O'r diwedd fe sugnodd fy mryd
  O'r ddaear i'r nefoedd uwch ben ;
Gwỳn fyd pe cawn orwedd yn awr
  Yn llonydd yn ngwaelod fy medd,
Mi g'odwn ar dòriad y wawr
  Yn fuan i weled Ei wedd. W.

## 655 (918) *Y goncwest ddiweddaf.*

8au. 811.—Salome.

1 PECHADUR wyf, f'Arglwydd a'i gŵyr,
  Pechadur a garwyd yn rhâd ;
Pechadur a gliriwyd yn llwyr
  Yn rhyfedd trwy rinwedd y gwaed ;
Pechadur a orfu fyn'd trwy
  Ystormydd o ddyfroedd a thân ;

Pechadur na orphwys byth mwy
  Nes dringo i'r nefoedd yn lân.

2 Y rhyfel o'n hochr ni sydd,
  Er cymmaint ein tuchan a'n cŵyn ;
Pwy eto 'rioed gollodd y dydd
  Trwy waed yr Immanuel mwyn ?
Fe ddrylliwyd fy Arglwydd yn friw
  Rhwng lleiddiaid ar Galfari fry ;
Wel bellach, fe'i molaf tra'n fyw,
  Fe brynodd y nefoedd i mi.

3 Pryd hyny câf glywed y gair—
  Y gair sydd felusach nag un,
Yn seinio ffurfafen y nef
  O enau f'Anwylyd Ei Hun :
" De'wch, blant bendigedig fy Nhad,
  De'wch, etholedigion i gyd,
Meddiennwch y deyrnas yn rhâd
  Bar'toed i'ch cyn seiliad y byd." W.

## 656 (919) *Y Baradwys nefol.*

8au. 8ll.—Salome.

1 Y BARADWYS âf iddi cyn hir,
  Mae afon y bywyd yn hon,
Yn llifo fel grisial yn glir,
  I ddiodi'r sychedig o'r bron ;
Mae hefyd yn nghartref fy Nâf,
  Afonydd o laeth ac o fêl ;
Wel bellach, tuag yno mi âf,
  A deued hi fel ag y dêl.

2 Fe'm c'od i ben Nebo yn llyn,
  Câf weled Gwlad Canaan o'i bron,
Y ddinas ce's gànwaith cyn hyn
  Addewid o fyned i hon :
Ac yma câf adael fy nghnawd
  'Lawr eilwaith i'r ddaear y bu,
A'm suo yn mreichiau fy Mrawd
  I ganol Jerusalem fry. W.

**657** (937) *Sychedig yw fy enaid am Dduw.*

5. 5. 6. 5.—Cysur. Vaughan.

1 MAE 'nghalon yn friw,
Mewn syched 'r wy'n byw,
Am yfed o'r dyfroedd
Sy'n nefoedd fy Nuw:
O Arglwydd! fy Nâf,
'Bryd, dywed, y câf
Wel'd gwedd Dy wyneb-pryd,
Haul hyfryd yr hâf!

2 Côf genyf y pryd
Y buom ynghyd,
Yn rhodio mewn cariad
Uwch cyrhaedd y byd;
Tyr'd, sathra y llu,
Uffernol rai sy
Yn attal fy enaid
Rhag hedeg fry, fry.

3 Fy enaid dàn wae
Mewn syched y mae,
Drachefn am brofi
Dy hedd, a'th fwynhau:
Duw ffyddlawn erioed
Y cefais Dy fôd,
Dy heddwch fel afon
Yn dirion im' dôd. W.

---

## BYWYD CREFYDDOL.

**658** (16) *Dymuniad am fod yn ffrwythlawn.*

10au.—Bala. Griddfaniad.

1 GWNA fi fel pren planedig, O fy Nuw!
Yn îr ar làn afonydd dyfroedd byw:
Yn gwreiddio ar lêd, a'i ddail heb wywo mwy,
Yn ffrwytho dàn gawodydd dwyfol glwy':—

2 Fel byddwyf byw, yn nghanol pob rhyw blâ,
Dàn gysgod clŷd adenydd Iesu da;
A'm tegwch gwir fel olewydden wiw
O blaniad teg daionus Ysbryd Duw.

3 Ac yna câf, mewn hâf dragwyddol ddydd,
Y palmwydd teg, a'r goron ddisglaer sydd
Yn nghadw gan yr Iesu pur i'w saint
Mewn dedwydd fyd !—O nefol hyfryd fraint ! A. G.

## 659 (19) *Arwain fi.*

Sandon. Lux Benigna. Gwynfryn.

1 OLEUNI mwyn, trwy dew gysgodau'r nef,
O ! arwain fi ;
Mae'r nôs yn ddu a minnau 'n mhell o dref,
O ! arwain fi ;
Cyfeiria 'm traed, ni cheisiaf wel'd yn mhell,
I mi, mae goleu ar fy nghàm yn well.

2 Nid oeddwn gynt â'm gweddi am Dy wawr
I f'arwain i ;
Chwenychwn gael a gwel'd fy ffordd, ond 'n awr
O ! arwain fi ;
Dewiswn goegwych ddydd, er ofnau lu,
Balch oedd fy mryd ; na chofia'r amser fu.

3 Dy rasol nerth, a'm daliodd hyd yn hyn,
Fe'm harwain i
Dros greigiau serth, dros arw bant a bryn,
A'r nôs a ffŷ ;
Wynebau hoff, a gollais enyd awr,
A wênant arnaf gyda'r nefol wawr.

J. H. NEWMAN, *c.* T. LE.

## 660 (89) *Ar y daith i'r nef.*

M. H.—Staincliffe. Gibraltar.

1 TRAFAELWYR y'm i'r Ganaan glŷd,
Llesg bererinion yn y byd ;
Ni glywsom lais yn gwawdd i'r nef,
I gael teyrnasu gydag Ef.

2 Rhedwn ar frŷs, mawr yw y fraint,
Y nef yw diwedd gyrfa'r saint ;
Er maint yw'r llîd, par'tow'd ein lle
Yn mynwes Nâf o fewn i'r ne'. W.

## 661 (88) *Gweddi mewn llesgedd.*

M. H.—Fulda. Gibraltar.

1 CREAWDWR doeth y ddaear lawr,
Ffurfafen lâs, a'r nefoedd fawr,

Yn edrych rhwng y sêr i'r byd
Yr wyt ar feibion Adda i gyd.

2 Canfyddi finnau yn mhlith y llu
Wynebant ar y nefoedd fry,
Am deithio 'mlaen i'r nefol fyd,
Y llesgaf yn eu mysg i gyd.

3 Y gwànaf wyf, y rheitia' 'i ddwyn,
O'r defaid gwirion, ac o'r ŵyn ;
A dïau yw'r arosa'i 'n ôl,
Oni chŵyd y Bugail fi yn Ei gôl.

4 'D oes enw foddia'm henaid trist
Ond enw hyfryd Iesu Grist :
Wel dyma'r gwir, ni feddaf un
Rhyw ddinas noddfa ond Dy Hun. W.

## 662 (53) *Llawnder yn Nghrist.*

M. H.—Kent. Mainzer.

1 DYMA gyfarfod hyfryd iawn,
Myfi yn llwm, a'r Iesu'n llawn ;
Myfi yn dlawd, heb feddu dim,
Ac Yntau'n rhoddi pob peth im'.

2 Y bywyd 'r wyf yn awr yn fyw
Sy'n llawn hapusrwydd o bob rhyw ;
Hapusrwydd yw, O ! d'wedwch pwy
A wela ddiwedd arno mwy ? W.

## 663 (118) *Hiraeth am burdeb.*

M. H.—Golgotha. Exeter.

1 GWEDDIO'r wyf, och'neidio'n brudd,
Rhyfela'n deg am gael y dydd ;
Lleng sydd o fewn, a thorf o faes,
Uffernol lu, am faeddu'm grâs.

2 Pa bryd câf deimlo cariad rhâd
I'm henaid gwàn, a rhîn y gwaed,
I'm gwneyd yn gryf yn erbyn grym,
Ac eithaf llîd gelynion llym ?

3 'Bryd ca'i 'm glanhau o'm pen i'm traed,
Mewn grisial fôr o werthfawr waed ?
Iachâ fy mriwiau, dyfnion y'nt,
A gefais yn Mharadwys gynt.

4 Rho wîn ac olew yn fy mriw,
Gwisg fi yn deg ar ddelw Duw;
Par'to fi i fyn'd i blith y llu
Sy'n ddisglaer yn y nefoedd fry. W.

## 664 (61) *Nerth o Dduw.*

M. H.—Eisenach. Melcombe.

1 MI âf yn mlaen, er pelled yw,
I'r wlad 'r wyf am fyn'd iddi i fyw;
O'r diwedd tiria'm henaid gwàn
O ddyfnder moroedd mawr i'r làn.

2 Anialwch mawr, mi aethum trwy,
Paham y digalonaf mwy?
Yr Hwn a'm nerthodd hyd yn hyn
A'm dŵg i'r làn i ben y bryn.

3 Er imi, do, wrthgilio'n wael,
A cholli'r heddwch, wedi ei gael,
O Dduw! iachâ fi, câr fi'n rhâd,
A chàna'm henaid yn Dy waed.

4 Os na châf Dy gymdeithas wiw,
Mae'n uffern yn y byd i fyw;
'D oes bleser dàn y nef, pe cawn,
All lanw'm calon oll yn llawn.

5 Càn' mil o weithiau gwỳn fy myd
Pe cawn orchfygu 'meiau i gyd,
A bod yn bur, o fewn, o faes,
A darfod sôn am bechod câs. W.

## 665 (116) *Myfyr am y gwaed.*

M. H.—Brynteg. Spires.

1 O! TYR'D i ben, ddedwyddaf ddydd,
A gâd i'm hysbryd fyn'd yn rhydd;
Rho brawf, rho brawf ar frŷs i mi
O ddwyfol haeddiant Calfari.

2 Fel gallwyf rodio'n ddi-nacâd
Dàn awel hyfryd rîn y gwaed;
A threulio'm hamser, ddydd a nôs,
Mewn myfyr am Dy angeu loes.

3 Ac na b'o grâs o fewn y nef
Na chaffwyf ràn o hono ef;

A gwna na byddo genyf flâs
Ond yn Dy gariad a Dy râs.

4 Fy lloches, a fy noddfa glŷd,
F'o edrych ar Dy wyneb-pryd;
A'm hamser elo heibio'n llawn
Wrth ganu i'th enw foreu a nawn. W.

## 666 (117) *Ymbil am burdeb.*

M. H.—Brynteg. Spires.

1 AR fŷr rhaid sefyll o Dy flaen,
Fe brofir f' ysbryd gwàn drwy dân,
Fe chwilir gwraidd pob nwyd a dawn,
Fe'm nithir, pwysir fi yn llawn.

2 Dy Ysbryd, fel y fflamau pur,
Sy'n gwel'd fy nghalon drwyddi'n glir,
Yn tremio i mewn, yn canfod bai,
'D oes arall ŵyr y màn y mae.

3 O! trugarhâ, can's heddyw mae
Fy ngobaith oll mewn trugarhau;
Trugaredd lawn yn unig yw
A geidw f' enaid gwàn yn fyw.

4 'D oes ond rhyw faith anfeidrol râs
A'm dŵg o'm holl bechodau i maes;
Nid oes ond haeddiant Duw yn ddyn
Rŷdd nefoedd bur i aflan un. W.

## 667 (121) *Lloches yn mynwes Iesu.*

M. H.—Golgotha. Exeter.

1 'DWYF ond pererin tlawd a gwàn
I deithio o'r anial fyd i'r làn;
Am hyn, rho imi lechu o hyd
Yn dawel yn Dy fynwes glŷd.

2 Pan b'o euogrwydd tanllyd, llym,
Yn curo arnaf yn ei rym,
Dadguddia im' drysorau grâs
Yn ffrŵd o'th ystlys ddaeth i maes.

3 O! gâd im' ffoi i'r noddfa glŷd
Sydd uwch law uffern, uwch law'r byd,
Dàn gysgod y cyfammod rhâd
A seliwyd gynt â dwyfol waed.

4 Wel, dyma'r lloches ddedwydd iawn
Gaiff fod fy noddfa foreu a nawn,
Heb un difyrwch îs y nef
Ond caru ac edrych arno Ef. W.

## 668 (102) *Nerth i ddwyn y groes.*

M. H.—Leipsic. Ceredigion.

1 O IÔR! Preswylydd mawr y berth—
Y ffynnon fawr o râs a nerth!
Rho ynof lef, a chlyw fy nghŵyn—
Dy iau a'th groes, dysg im' eu dwyn.

2 Os rhaid im' beunydd ddwyn y groes,
Tra pery gyrfa fèr fy oes,
O Arglwydd! dyro help Dy fraich,
I gynnal eiddil dàn ei faich.

3 Mewn cyfyngderau, sâf o'm plaid,
Yn gadarn Dŵr, a nerth wrth raid;
Yn Dad, yn Frawd, yn Brïod bydd,
Hyd angeu, a thrwy fythol ddydd! T. J.

## 669 (93) *Cymdeithas â Christ a'i bobl.*

M. H.—Staincliffe. Gibraltar.

1 TYDI, 'r Hwn mae fy enaid drud,
Yn hoffi uwch law holl bethau 'r byd,
Mynega im', fy Mugail mwyn,
Pa le 'r wyt yn bugeilio 'th ŵyn.

2 Paham, fy Arglwydd! rhaid i mi
Droi heibio o'th ddiadell Di?
'D yw f' enaid gwàn yn chwennych bôd
Yn eiddo i neb, ond Crist a'i nôd. DR. W., *c.* D. J.

## 670 (108) *"Arwain fi."*

M. H.—Babilon. Menai.

1 O! ARWAIN fi i'th nefol ffyrdd,
Yn nghanol temtasiynau fyrdd;
Yn awr y brofedigaeth ddu,
Dragwyddol Ysbryd! arwain fi.

2 Pererin wyf yn mhell o'm gwlad,
Â'm golwg ar drigfanau 'Nhad—
Pererin rhwng gelynion lu:
Dad pererinion! arwain fi.

3 O! arwain fi 'r hyd llwybrau hedd,
Yn ufudd mwyach hyd fy medd;
Drwy 'r olaf brofedigaeth ddu,
Yn orfoleddus, arwain fi!

4 Rhyw anial erchyll yw y byd,
A maglau ei bleserau i gyd:
Yn gywir i'r Baradwys fry,
'R hyd ffordd sancteiddrwydd, arwain fi.

5 Trwy ddyfnion dònau angeu âf
Dàn ganu, os Dy gwmni gâf;
Nes cyraedd glàn y Ganaan gu;
O! Iôr anfeidrol, arwain fi! W. T.

## 671 (141) *Cynhaliaeth y Cristion.*

8. 8. 8.—Nashville. St. Paul's.

1 MI deithiais ran o'r anial maith,
'D wy'n deall pellder pen fy nhaith,
Mewn gwledydd sychion, dŵr nid oedd;
Yn awr 'r wy'n disgwyl, foreu a nawn,
O'r nefoedd ddŵr a sypiau grawn,
Wna'm henaid egwan wrth ei fodd. W.

## 672 (135) *Cynhaliaeth y Cristion.*

8. 8. 8.—Llangollen. Llangoedmor.

1 O'R graig y mae'n dylifo i maes,
Yn afon ddisglaer, loyw, lâs,
Sef Craig yr oesoedd—cadarn yw;
A thyna'r màn y gwnaf fy lle,
Dàn gysgod tawel furiau'r ne',
Lle câf ddiddanwch tra b'wyf byw.

2 'R wy'n cofio gair fy Iesu mawr
Y dôi'r Diddanydd ata'i lawr,
Na chawn i farw o dristwch mwy;
O Dduw! cyflawna'th air i ben,
Rho imi arweinydd îs y nen,
Ddangoso'r ffordd, iachao 'nghlwy'.

3 A raid i gystudd garw'r groes,
I ganlyn f'ysbryd ddydd a nôs?
Os rhaid, gwna fi yn foddlon iawn:

Dàn ganu gwna i mi fyn'd yn mlaen,
Sef canu yn y dŵr a'r tân,
O foreu 'mywyd hyd brydnawn.

4 Yn ymchwydd yr Iorddonen gref,
Dàl, f'enaid, afael ynddo Ef,
Mae'r tònau'n fawrion iawn eu grym ;
Âf trwyddynt, er nad wyf ond gwàn,
Os cedwi Di fy mhen i'r làn ;
Fydd tònau mawrion imi ddim. W.

## 673 (148) *Peryglon yr anialwch.*

8. 8. 8.—Pantycelyn. Hengoed.

1 MEWN rhyw anialwch 'r wyf yn byw,
A'r llesgaf un erioed o'm rhyw,
Peryglon mawrion sy 'mhob màn—
Mae yma Anac yn ei rym,
A draw Golïah gadarn lym,
I gyd am goncro'm hysbryd gwàn.

2 Ac oddi fewn mae mwy na mwy
O nwydau croes i'th farwol glwy',
Pob nwyd yn gadarn ac yn gref,
Yn curo'n danbaid bob yr awr
Fy ysbryd egwan, llesg, i lawr ;
Fy unig noddfa yw y nef.

3 Dy fraich sydd gadarn iawn o rym,
'D all uffern mo'i gwrth'nebu ddim ;
Dy air sydd drech na dŵr na thân ;
O ! tyr'd i'r frwydr, mae'n brydnawn,
Mae saethau'r fall yn llymion iawn ;
O ! dàl fi i'r làn, a dŵg fi 'mlaen. W.

## 674 (202) SALM I. 1, 2, 3.

M. S.—Silesia. Mary.

1 Y SAWL ni rodia, dedwydd yw,
Yn ol drwg ystryw gyngor ;
Ni saif ar ffordd troseddwyr ffol,
Nid eiste'n stôl y gwatwor.

2 Ond ei holl serch ef fydd yn rhwydd
Ar ddeddf yr Arglwydd uchod :
Ac ar Ei ddeddf rhŷdd, ddydd a nôs,
Yn ddiddos ei fyfyrdod.

3 Fel pren planedig ar làn dôl
Ceir ffrwyth amserol arno ;
Ni chrina 'i ddalen a'i holl waith
A lwydda 'n berffaith iddo. E. P.

## 675 (210) Salm xxiii.

M. S.—Morganwg. Persia.

1 YR Arglwydd yw fy Mugail clau,
Ni âd byth eisiau arnaf ;
A gorwedd gâf mewn porfa frâs,
Ar làn dwfr gloywlas araf.

2 Fe goledd f' enaid, ac a'm dŵg
'R hyd llwybrau diddrwg, cyfion ;
Er mwyn Ei enw mawr di-lŷs
Fe'm tywys ar yr union.

3 Pe rhodiwn 'd ofnwn ddim am hyn,
Yn nyffryn cysgod angeu ;
Wyt gyda mi, â'th nerth a'th ffon ;
On'd tirion ydyw 'r arfau ?

4 Gosodaist Ti fy mwrdd yn frâs,
Lle 'r oedd fy nghâs yn gweled ;
Olew i'm pen, a chwpan llawn,
Daionus iawn fu 'r weithred.

5 O'th nawdd y daw y dòniau hyn
I'm canlyn byth yn hylwydd ;
A minnau a breswyliaf byth,
A'm nyth yn nhŷ yr Arglwydd. E. P.

## 676 (251) Salm xxv. 4, 8, 10, 11.

M. S.—Saxony. Arenig.

1 IM' dangos, Arglwydd, Dy ffordd Di,
A phâr i mi ei deall ;
A dysg ac arwain fi 'r un wedd
Yn Dy wirionedd diball.

2 Yr Arglwydd uniawn yw a da,
A'i ffyrdd im' noddfa ydynt ;
Efe a arwain, fel mae'n rhaid,
Y pechaduriaid ynddynt.

3 I'r sawl a gadwo ddeddfau 'r Iôn,
A'i union dystiolaethau,
Gwirionedd a thrugaredd fydd
Ei lywydd yn ei lwybrau.

4 Er mwyn Dy enw, Arglwydd mau,
O! maddeu fy anwiredd;
Can's fy nhroseddiad i mawr yw,
Mwy ydyw Dy drugaredd. E. P.

## 677 (228) SALM XXXVII. 4, 5, 6, 18, 19, 37.

M. S.—Dominus regit me. Glanceri.

1 BYDD di gysurus yn dy Dduw,
Ti gei bob gwiw ddymuniad;
Dy ffyrdd crêd iddo, yn ddi-lŷs,
Fe rŷdd Dy ewyllys atad.

2 Crêd ynddo Ef, fe'th ddwg i'r làn,
Mŷn allan dy gyfiawnder;
Mor oleu a'r haul ar hanner dydd,
Fel hyny bydd d' eglurder.

3 Yr Arglwydd edwyn oes a gwaith
Pob rhai o berffaith helynt;
Ac yn dragywydd Duw a wnaeth
Deg etifeddiaeth iddynt.

4 Efe a'u ceidw hwynt i gyd,
Ni chânt ar ddrygfyd w'radwydd;
Yn amser newyn, hwy a gânt
O borthiant ddigonolrwydd.

5 Ystyria hefyd y gŵr pur,
Ac edrych dŷ 'r cyfiawnedd;
Ti a gei weled gyfryw ddyn,
Mai 'i derfyn fydd tangnefedd. E. P.

## 678 (179) SALM CVII. 23—32.

M. S.—Llangranog. Langdale.

1 Y RHAI a ânt mewn llongau i'r dòn,
Â'u taith uwch mawrion ddyfroedd,
A welant ryfeddodau'r Iôn,
A hyn mewn eigion moroedd.

2 Cyffroa 'i air dymhestloedd gwynt,
Y rhai a godynt dònau;
Hyd awyr fry, hyd eigion llawr,
Ac ofn bob awr rhag angeu.

3 Gan ysgwyd a phendroi fel hyn,
Dull meddwyn, sŷnai arnynt;
Ar Dduw mewn ing y rhoisant lef—
Daeth Ef â chymmorth iddynt.

4 Gwnaeth E'r ystorm yn dawel deg,
A'r tònau 'n osteg wastad;
Yn llawen ddistaw doent i'r làn,
I'r màn y b'ai 'u dymuniad.

5 Addefent hwythau ger Ei fron
Ei fwynion drugareddau,
Ac i blant dynion fel y gwnaeth
Yn helaeth ryfeddodau.

6 Holl gynnulleidfa Ei bobl Ef,
Clôd Duw hyd nef dyrchafant,
Holl eisteddfeydd penaethiaid hên
Yn llawen a'i moliannant. E. P.

## 679 (263) SALM CXLI. 1, 3, 8.

M. S.—Dymuniad. Adelaide.

1 O! BRYSIA, Arglwydd! clyw fy llais,
O brysur gelwais arnat;
O'r màn lle b'wyf, erglyw fy llef,
A doed i'r nef hyd atat.

2 O Arglwydd! gosod, rhag gair ffraeth,
Gadwraeth ar fy ngenau;
Rhag im' gam-dd'wedyd, gosod ddôr
Ar gyfor fy ngwefusau.

3 Mae 'ngolwg a'm holl obaith i,
Duw, arnat Ti Dy Hunan;
O! bydd Di 'n unig yn fy mhlaid—
Na fwrw f' enaid allan. E. P.

## 680 (271) *Arweiniad hyd ben y daith.*

M. S.—Gorphwysfa. Eidduned.

1 DUW, cadw f'enaid bach o hyd
Uwch law y byd a'i ddrygau,

Gan lwyr ddibrisio'i boen a'i wae,
  Ei drallod a'i gystuddiau.

2 Fel na b'wy'n gwrando ar ei dwrf,
  Ei gynnwrf a'i ruadau ;
Gan deithio'r llwybr cul bob cam,
  A meddwl am fy nghartre' ;

3 Heb gyfeiliorni ar un llaw
  Nes myn'd tu draw 'r Iorddonen,
At seintiau flinodd ar y byd,
  Sy'n awr i gyd yn llawen ;

4 Yn gorphwys yn y Ganaan bur,
  Preswylfa'r gwir dduwiolion,
Tir yr addewid hyfryd draw,
  Gwlad lle nas daw gelynion.

5 Gorphwysfa dawel, deg, ddi-stŵr,
  Sydd yno i'r gŵr lluddedig ;
Afonydd gloyw, pur, di-drai,
  I ddïodi'r rhai sychedig. W.

## 681 (234) *Ei lwybrau ydynt heddwch.*

M. S.—Gwilym. Paradwys.

1 DY lwybrau Di y'nt hyfryd iawn,
  Dy ffyrdd y'nt lawn hyfrydwch
Nag amlder ŷd neu wîn, fy Nuw,
  Melusach yw Dy heddwch.

2 Mae'n traed yn awr ar wddf y ddraïg,
  Trwy Hâd y wraig sy'n eiriol ;
Awn, gan fod Iesu ar ein rhan,
  I'r làn, i'r làn yn wrol.

3 Yn mlaen yr awn, trwy gyflawn ffydd,
  Tra fyddo'r dydd yn para,
Pob un ag sydd â'i sicr sail
  Yn haeddiant yr ail Adda. W.

## 682 (352) *Ymbil am gynhaliaeth.*

M. C.—Gwrecsam. Claudius Ptolemeus.

1 Y BAICH sydd arnaf ddydd a nôs,
  Ac wrthyf sydd ynglŷn,
Sydd ysgafn, er ei bwysau ef,
  I'th ysgwydd gref Dy Hun.

2 O! cymer Di fy maich a 'mhoen,
A'm hofnau maith i gyd,
A rho i mi heddwch yn Dy glwy'
Sydd lawer mwy na'r byd.

3 Fe gwymp fy ofnau i gyd o flaen
Dy gariad glân a'th hedd,
Holl ddychryniadau angeu hy',
Ac uffern ddu a'r bedd.

4 Mae prawf o'th gariad dwyfol gwir
Fel diliau pur ei flâs,
Fe ddeil, dàn demtasiynau, i'r làn
Fy enaid gwàn i maes.

5 O! fanna pur o ddwyfol brîs,
Anwylaf îs y nef,
Gâd i'r newynllyd heddyw gael
Ymborthi arno ef.

6 Fe gerdd fy nhraed yn hwylus iawn,
Dôf cyn prydnawn i'r làn;
Os câf ond bwyta'r gwleddoedd hyn,
Câf ganu yn y màn.

## 683 (326) *Serch ar Iesu.*

M. C.—St. Leonard. St. Peter.

1 NI thro'f fy wyneb byth yn ol
I 'mofyn pleser gau;
Ond mi a gerddaf tua'r wlad
Sy â'i phleser yn parhau.

2 Mae holl deganau'r ddaear hon,
Fu gynt yn fawr eu grym,
Yn ngŵydd fy Iesu'n gwywo i gyd,
Ac yn diflanu'n ddim.

3 Y mae aroglau pur Ei râs
Fel peraroglau'r nef;
Ac nid oes cymmar îs yr haul
Yn unlle iddo Ef.

4 Mae'n denu'm serch trwy wyntoedd oer,
Yn gyfan ato'i Hun;
Ac fe ddiffoddodd bob rhyw chwant
At ddaear, ac at ddyn.

5 Fe dorwyd rhyngof fi a'm chwant,
Daeth ar fy mhleser drai ;
Ond fy hapusrwydd perffaith yw
Dy garu a'th fwynhau. W.

## 684 (338) *"Duw drosom."*

M. C.—St. Mary. Cologne.

1 O! TYRED, Arglwydd, sâf wrth raid,
Yn awr o blaid y gwàn :
Mi soddaf mewn dyfnderoedd du
Oni ddèli Di fi i'r làn.

2 Mae nerth Dy râs yn llawer mwy
Na'm beiau oll o'r bron ;
Dy hyfryd wên sy'n abl lladd
Euogrwydd dàn fy mron.

3 Mae ynot foroedd pur di-lŷth,
Heb ddiffyg byth, na thrai,
O gariad anghydmarol cu,
Fyth fythoedd i barhau.

4 O ! tywallt hwn i'm henaid gwàn
Sy'n fynych dàn ei boen,
Yn methu credu i'r goncwest râd
Yn ngwerthfawr waed yr Oen. W.

## 685 (355) *Y tlawd yn llawn trwy râs.*

M. C.—Ludwig. Gwrecsam.

1 MAE ofnau yn finteioedd llawn,
Rai creulon iawn eu rhyw,
Yn pledio yn fy wyneb gwàn
Na feddaf ràn yn Nuw.

2 A minnau'n llwfrhau yn lân,
Heb wybod 'ffordd i droi,
Heb ysbryd geny' i fentro 'mlaen,
Nac ysbryd geny' i ffoi.

3 Yn chwilio, a manwl chwilio 'r wyf,
Ar aswy, ac ar dde,
Ac eto, methu symmud cam
I fyny tua'r ne'.

4 O ! edrych arnaf, Arglwydd mawr,
Mae bellach yn brydnawn ;

O! llanw'r euog tlawd sy heb ddim
  O'th nefol ddwyfol ddawn.

5 Rho brawf o'r gwîn a wasgwyd 'maes
  O'r bêr winwydden fry,
Fel gallwyf fyth i lawenhau
  Yn Dy ogoniant Di. W.

## 686 (351) *Ymbil am adferiad o'r caethiwed.*

M. C.—Windsor. Burford.

1 TYR'D, Arglwydd, â'th addewid râd,
  Pur eiriau'r nef, i ben:
Rho'ed dyddiau fy rhyddhâd dàn sêl
  Yn llyfr mawr y nen.

2 Mae dyddiau griddfan imi'n hir—
  Caethiwed Babel fawr:
O! na chawn deimlo'r Jubil fwyn
  Yn agor dorau'r wawr.

3 Tybygwn, pe b'ai'm traed yn rhydd
  O'r blîn gaethiwed hyn,
Na wnawn ond canu fyth tra f 'wyf
  Am râs Calfaria fryn. W.

## 687 (340) *Gweddi yn yr anialwch.*

M. C.—Martyrs. St. Mary.

1 PERERIN wyf mewn anial dir,
  Yn crwydro yma a thraw;
Ac yn rhyw ddisgwyl bob yr awr
  Fod tŷ fy Nhad ger llaw.

2 Ac mi dybygaf clywaf sŵn
  Nefolaidd rai o'm blaen,
Wedi gorchfygu a myn'd trwy
  Dymhestloedd dŵr a thân.

3 Tyr'd, Ysbryd sanctaidd, ledia'r ffordd,
  Bydd imi'n niwl a thân;
Ni cherdda'i 'n gywir hanner cam
  Oni byddi o fy mlaen.

4 Mi ŵyraf weithiau ar y dde,
  Ac ar yr aswy law;
Am hyny, arwain, gam a cham,
  Fi i'r Baradwys draw.

5 Mae hiraeth arnaf am y wlad
Lle mae torfeydd diri',
Yn canu'r anthem ddyddiau 'u hoes
Am angeu Calfari. W.

## 688 (346) *Ymdrech a gweddi y Cristion.*

M. C.—Bangor. St. Nicholas.

1 'RWY'n morio tua chartre'm Nêr,
Rhwng tònau maith 'r wy'n byw;
Yn ddyn heb neges dàn y sêr
Ond 'mofyn am ei Dduw.

2 Mae'r gwyntoedd yn fy nghuro'n ôl,
A minnau 'd wyf ond gwàn;
O! cymmer, Iesu, fi yn Dy gôl,
Yn fuan dŵg fi i'r làn.

3 N'âd fi ar aswy nac ar dde
I redeg o Dy flaen;
Ond dilyn llwybrau Brenin nef,
Trwy ganol dŵr a thân.

4 O! gwna i fy nghalon redeg trwy
Oll atat Ti Dy Hun;
Na b'o difyrwch genyf mwy
Mewn daear, da, na dyn.

5 A phan b'o'n curo f'enaid gwàn
Elynion rif y sêr,
Dyrchafa'm hysbryd llesg i'r làn
I fynwes bur fy Nêr.

6 Na b'o gwrthwynebiadau'r byd,
Na chroesau o un rhyw,
I'm hoeri, nac i sugno 'mryd
Un dim oddi wrth fy Nuw.

7 Boed dioddefiadau pur y groes
I laesu'm cur a'm gwae;
Griddfanau dyfnion angeu loes
I'm rhoddi i lawenhau.

8 Marwolaeth fy Ngwaredwr mawr
Yn fywyd pur i mi;
Fel gallwyf roddi'm holl i lawr
Yn gôf am Galfari. W.

## 689 (294) *Cyfoeth yn Nuw.*

M. C.—St. George. St. Saviour.

1 NID yw'r blinderau yma fu,
Neu y blinderau ddaw,
Ddim i'w cymharu â gwobr grâs
Gâf feddu 'maes o law.

2 Edrychaf ar y gwynfyd drud,
Pleserau'r byd a ddaw,
Ac mi ddibrisia'r cystudd fu,
A'r cystudd sy ger llaw.

3 Ni phery'r byd, a'i rwysg, a'i rôd,
A'i ofid o bob rhyw,
Ond megys munyd, at y wledd,
Tragwyddol hedd fy Nuw.

4 Difyru wnaf fy oes yn llwyr
Mewn myfyrdodau maith
Ar bur bleserau Seion wèn
Sy draw yn mhen fy nhaith.

5 A phe b'ai'n gorwedd yn y bedd
Gyfeillion goreu'r llawr,
Nid wyf amddifad tra f'o byw
Fy unig Arglwydd mawr.

6 Mae Ef Ei Hun yn llawer mwy
Na'r cwbl yma'n un ;
'R wyf yn gyfoethog uwch pob rhif
Heb ddim ond Ef Ei Hun. W.

## 690 (332) *Teithio trwy nerth y groes.*

M. C.—St. Agnes. Winchester Old.

1 AC er fod draw afonydd mawr—
Holl ofnau angeu loes,
Af trwyddynt, er eu grym a'u maint,
Dàn gysgod gwaed y groes.

2 Mi glywaf lais merthyron lu,
A seintiau, yn y blaen,
'N awr wedi cyrhaedd pen y daith,
Er gwaethaf dŵr a thân.

3 Fy enaid, dianc tua'r làn
Nac ofna'r drygau hyn,
A chadw d'olwg yn y blaen
Yn union at y bryn.

4 Edrychaf ar y croesbren trwm
Fu ar Ei ysgwydd Ef,
A'r goron ddrain fu ar Ei ben,
Pan brynodd imi'r nef.

5 Mae'n eiriol fry o flaen y fainc,
Yn cofio'i boen a'i waed ;
Ac wedi gwneyd tragwyddol hedd
'N awr rhyngof fi a'm Tad. W.

## 691 (297) "*Fy Nhad sydd wrth y llyw.*"

M. C.—French. St. Stephan.

1 AR fôr tymhestlog teithio 'r wyf
I fyd sydd well i fyw,
Gan wênu ar ei stormydd oll—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

2 Drwy leoedd geirwon, enbyd iawn,
A rhwystrau o bob rhyw,
Y'm dygwyd eisoes ar fy nhaith—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

3 Er cael fy nhaflu o dòn i dòn,
Nes ofni bron cael byw,
Dïangol ydwyf hyd yn hyn—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

4 Ac os oes stormydd mwy yn ol,
Yn nghadw gan fy Nuw,
Wynebaf arnynt oll yn hyf—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

5 A phan b'o'u hymchwydd yn cryfhau,
Fy angor sicr yw,
Y dôf yn ddiogel trwyddynt oll—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

6 I mewn i'r porthladd tawel, clŷd,
O sŵn y 'storm a'i chlyw,
Y câf fynediad llon ryw ddydd—
Fy Nhad sydd wrth y llyw. E. E

## 692 (283) *Gorchestion ffydd.*

M. C.—Christchurch. Solomon.

1 TRWY ffydd eheda gweddi'r gwael,
Ac yntau gyda hi,
Tỳr ei gadwynau'n chwilfriw mân
Yn ngolwg Calfari.

2 O'r dyfnder esgyn gweddi'r ffydd,
O eigion moroedd mawr;
Ac o gyfammod Duw, a'i wedd,
Mae'n tỳnu hedd i lawr.

3 Trwy ffydd mae'n cadw 'nghanol tân,
Er nerth ei anian ef;
Yn nghanol llewod, byw mae ffydd,
Â'i golwg tua'r nef.

4 Saif ffydd, trwy iachawdwriaeth Iôr
Er gweled môr yn cau;
A ffydd, â'i gwialen, gair y llŵ,
A rwyga hwnw'n ddau.

5 Pe âi'r mynyddoedd oll i'r môr,
Yr Arglwydd Iôr yw rhan
Pob perchen ffydd, ac ato rhêd
Am nodded yn mhob màn.

6 I'r làn, o'r dyfnder du, a'r dòn,
Daw etifeddion ffydd,
A'u cân yn un, er chwerw loes,
Am angeu'r groes ryw ddydd.

R. J.

## 693 (329) *Yr afael sicraf fry.*

M. C.—St. Leonard. St. Peter.

1 DYWEDWYD gànwaith na chawn fyw
Gan anghrediniaeth hy';
Ond ymddiriedaf yn fy Nuw,
Mae'r afael sicraf fry.

2 Cyfammod Duw, a'i arfaeth gref,
Yn gadarn sydd o'm tu,
Anghyfnewidiol ydyw Ef;
Mae'r afael sicraf fry.

3 Er beiau mawrion, rif y dail,
A grym euogrwydd du,

Iawn ac eiriolaeth Crist yw'm sail ;
Mae'r afael sicraf fry.

4 Rhagluniaeth fawr y nef o'm plaid,
Ei holl olwynion try,
Agorai'r môr, pe byddai raid ;
Mae'r afael sicraf fry.

5 Câf floeddio concwest yn y màn,
Pob gelyn draw a ffŷ ;
Can's er nad ydwyf fi ond gwàn,
Mae'r afael sicraf fry. P. J.

## 694 (311) *Disgwyl wrth yr Arglwydd.*

M. C.—Bedford. Ballerma.

1 MAE addewidion, melus wledd,
Yn gyflawn ac yn rhâd,
Yn y cyfammod pur o hedd,
Tragwyddol ei barhâd.

2 'R wyf finnau yn dymuno d'od
I'r wledd ddanteithiol frâs ;
Ac felly mi gâf seinio clôd
Am ryfedd rym Ei râs.

3 O ! rhwyma fi wrth byst Dy byrth,
I aros tra f'wyf byw.
I edrych ar Dy wedd a'th wyrth,
A'th foli Di, fy Nuw.

4 Tydi f'o'm cymmorth parod iawn,
I'm cynnal ar fy nhaith ;
A Thi Dy Hun f'o'm trysor llawn
I dragwyddoldeb maith. T. J.

## 695 (342) *Gweddi ffyddiog.*

M. C.—St. Mary. Martyrs.

1 AGORODD gweddi ffydd, cyn hyn,
Garcharau heiyrn a phrês,
Diddymodd amcan uffern fawr—
Trôdd wenwyn hono 'n llês.

2 Mae 'n cau, mae 'n agor nef yn un ;
Mae 'n medru 'r ffordd at Dduw ;
Gwrandewir llais ochenaid ffydd
Dàn gystudd o bob rhyw.

3 Ehed, â'i golwg ar y gwaed,
Trwy dew gymylau 'r nen;
A dŵg i'r euog wir ryddhâd,
A modd i g'odi 'i ben. R. J.

## 696 (436) *Dedwydd fuddugoliaeth yn y diwedd.*

7. 6. D.—Llydaw. Jabez.

1 OS dôf fi trwy'r anialwch,
Rhyfeddaf fyth Dy râs,
A'm henaid i lonyddwch
'R ol gànwaith golli'r maes,
A'r maglau wedi eu tòri,
A'm traed yn gwbl rydd;
Os gwelir fi fel hyny,
Tragwyddol foli a fydd. *Cas.* DE.

2 Os gwelir fi, bechadur,
Ryw ddydd ar ben fy nhaith,
Rhyfeddol fydd y canu,
A newydd fydd yr iaith;
Yn seinio "Buddugoliaeth,"
Am iachawdwriaeth lawn,
Heb ofni colli'r frwydr,
Na boreu na phrydnawn. *Cas.* H. S.

## 697 (406) *Diangfa i'r bywyd.*

7. 6. D.—Syria. Rutherford.

1 CE'S ddŵr o'r graig i yfed,
I dòri'm syched mawr;
Ce's beunydd fara i'w fwyta,
O'r nef y daeth i lawr;
Ce's delyn tu yma i angeu,
Fy holl gystuddiau ffôdd,
I ganu i'r Oen fu farw,
Mae'n Brïod wrth fy modd.

2 Mi gysgaf hûn yn esmwyth
Ar fŷr yn llwch y llawr,
Yn holliach, wedi gorphen
Milwriaeth f' Arglwydd mawr;
Heb elyn i fy mlino
I dragwyddoldeb maith;

Câf fuddugoliaeth hollol
  Yn lân ar ben fy nhaith. M. R.

## 698 (464) *O Arglwydd, tyr'd i lawr.*

M. B.—St. Bride. Dole.

1 O! ARGLWYDD, tyr'd i lawr,
  Mae'n frwydr chwerw iawn,
O foreu las-ddydd, heb ei hail,
  Hyd fachlud haul brydnawn.

2 Mae 'meiau megys llu,
  Yn gyndyn gry'o ryw,
Ac nid oes all eu cael hwy 'lawr
  Ond gallu mawr fy Nuw.

3 Am hyn rho'f arno 'mhwys
  Er maint eu cyfrwys lu ;
Fel un cystuddiol, mi ro'f floedd
  I entrych nefoedd fry.

4 Mi g'oda 'm dwylaw i'r làn—
  Lluddedig, gwàn, a gwyw,
Ac ni wàn gredaf gario'r dydd,
  Fy nghymmorth fydd fy Nuw.

5 Tyr'd, anorchfygol râs,
  Perch'noga'r maes yn awr,
A thòr elynion mawr eu llîd
  Yn gryno i gyd i'r llawr.

6 Rhaid i'r gelynion ffoi,
  Er ymgrynhôi ynghyd ;
Cwymp dyfais uffern fawr bob darn,
  Tàn farn anfeidrol lîd.

7 Ei air sy'n nerthol wir,
  A'i Ysbryd pur yn dân ;
Nas gall y gelyn mwya' ei rym
  Fyth sefyll ddim o'i flaen. W.

## 699 (469) *Mawl am brofiad o fendithion iachawdwriaeth.*

M. B. D.—Eden. Aberdar.

1 BENDIGAID fyddo'r awr
  Y clywais ddwyfol lef,

O'r anial fyd, i'm galw i maes
  Tua hyfryd deyrnas nef;
Fe g'ododd seren ddydd,
  A'i goleu sydd yn rho'i
Cymylau t'w'llaf, tewaf, llawn,
  Yn fuan iawn i ffoi.

2 Ce's brofi dwyfol hedd
  Gyda gorfoledd mawr;
'R wy'n cofio'r effaith—cofio'r pryd,
  Yn hyfryd hyd yn awr,
Pan gefais wir ryddhâd,
  Trwy werthfawr waed fy Nuw;
Ei gariad oedd yn felus braf,
  Fe'i caraf tra b'wyf byw.

3 A dyma'r cyntaf bryd
  Yr aeth y byd yn ddim,
Y collodd hithau, uffern fawr
  (O! hyfryd awr!) ei grym;
Fy enaid aeth yn rhydd,
  Pan ddaeth y dydd i ben;
Ni all cadwynau ddala awr
  Dros arfaeth fawr y nen.

4 Dangoswyd im' pryd hyn
  Y baradwysaidd wlad,
A'r holl bleserau hyfryd sy
  O fewn i dŷ fy Nhad;
Y manna nefol, cudd,
  Sy i'w gael, yn rhydd heb drai,
Dros dragwyddoldeb yn y nef
  I'r dewisedig rai.

5 'R oedd pob gwageddol flŷs
  A gefais îs y nef
Yn toddi, ac yn myn'd yn ddim,
  Yn ngrym Ei gariad Ef;
Fe ddarfu pob rhyw flâs
  Ar bleser câs ei ryw,
Pan gefais yfed dyfroedd clir
  O ffynnon bur fy Nuw. W.

## 700 (475) *Hyder yn Nuw.*

M. B. D.—Bonar. Amana.

1 WEL, f'enaid, dôs yn mlaen,
'D yw'r bryniau sydd ger llaw
Un gronyn uwch, un gronyn mwy,
Na hwy a gwrddaist draw:
Dy anghrediniaeth gaeth,
A'th ofnau maith eu rhi',
Sy'n peri it' feddwl rhwystrau ddaw
Yn fwy na rhwystrau fu.

2 'R un nerth sydd yn fy Nuw,
A'r un yw geiriau'r nef,
'R un grâs, a'r un ffyddlondeb sy
'N cartrefu ynddo Ef:
Fy ngwendid o bob math,
A'm llygredigaeth cry',
'Ddiffoddant, er eu natur gâs,
Hyd fyth mo'r grâs sydd fry.

3 Mi welaf fyrdd dàn sêl,
Fu 'n ofni fel fy hun,
'N awr wedi dringo'r creigiau serth,
I gyd trwy nerth yr Un;
Yn canu'r ochr draw,
Heb arnynt fraw na phoen,
Ganiadau hyfryd Calfari,
Dioddefaint addfwyn Oen. W.

## 701 (480) *"Awn a meddiannwn y wlad."*

M. B. D.—Leominster. Kingscroft.

1 WEL, deuwch tua'r wlad,
Y ffordd a gaed yn rhydd;
Ar ol rhyw noswaith dywell, faith,
'N awr gwawrio wnaeth y dydd:
Oddi yma i Peru
Mae efengyl Duw'n rho'i bloedd,
Cyhoedda i'r Negro du eu lliw
Drugaredd Duw ar g'oedd.

2 Y Manna pur ar g'oedd—
Diferion nefoedd fry,

Sydd yn dihidlo, foreu a nawn,
  Yn beraidd iawn i ni;
Y diliau hyfryd hyn
  Gawn brofi yn y màn—
Afonydd gloyw felus wîn,
  O nefol rîn i'n rhan. W.

**702** (484) *Nerth Duw yn y tywydd garw.*

M. B. D.—St. Barnabas. Llanllyfni.

1 'RWY'n ofni grym y dŵr,
  Yn yr Iorddonen gref;
'R wy'n syllu ar y creigydd maith
  Sydd ar fy nhaith i dref;
Duw, bydd yn nerth i'r gwàn,
  A dàl fi i'r làn yn gryf,
Dàn demtasiynau, ge'nllif llawn,
  Sy â'u tònau heb ddim rhif.

2 Cyflawnir gair fy Nuw,
  A deued fel y dêl,
Can's holl amcanion nefoedd fry,
  Bob sillaf sy dàn sêl;
Ac ar Ei air a'i nerth,
  A dwyfol werth Ei waed,
Mi âf trwy bob gelynion hyf
  I mewn i dŷ fy Nhad. W.

**703** (472) *Cynhaliaeth ar y daith.*

M. B. D.—Gobaith. Diademata.

1 CHWI, bererinion glân,
  Sy'n myn'd tua'r Ganaan wlad,
Ni thariaf finnau ddim yn ôl,
  Dilynaf ôl eich traed;
Nes elwy' i Salem bur
  Mewn cysur llawn i'm lle;
O! Ffrynd troseddwyr, moes Dy law,
  A thŷn fi draw i dre'.

2 Mi ge's arwyddion gwir
  O gariad pur fy Nuw;
Ei râs a'i dawel hyfryd hedd;
  I'm henaid, rhyfedd yw;

Yn mhell o'r babell hon
  Mae 'nghalon gydag E';
O! Ffrynd troseddwyr, moes Dy law,
  A thŷn fi draw i dre'.

3 Mae'r manna wedi ei gael,
  Mewn dyrys anial dir;
Ymborthi câf, ond myn'd yn mlaen,
  Ar ffrwythau'r Ganaan bur;
Mae yno sypiau grawn
  Yn llawn o fewn i'r lle;
O! Ffrynd troseddwyr, moes Dy law,
  A thŷn fi draw i dre'.

4 Wrth feddwl am y wlad
  A ragbar'toed i'r plant,
A chyflawn degwch tŷ fy Nhad,
  Mae ar fy nghalon chwant
I lànio uwch y nen,
  Tu draw'r Iorddonen gre';
O! Ffrynd troseddwyr, moes Dy law,
  A thŷn fi draw i dre'.

5 'R wy'n gweled, trwy fy Nuw
  Y concraf fyd a chnawd;
O dàn Ei aden gwnaf fy nyth,
  Ni fyddaf byth yn dlawd;
Mae'm hetifeddiaeth wych
  O fewn i entrych ne';
O! Ffrynd troseddwyr, moes Dy law,
  A thŷn fi draw i dre'. W.

## 704 (483) *Pererindod y Cristion.*

M. B. D.—St. Barnabas. Llanllyfni.

1 FY ngweddi, dôs i'r nef,
  Yn union at fy Nuw,
A dywed wrtho Ef yn daer,
  "Attolwg, Arglwydd, clyw!
Cyflawna'th 'ddewid wych,
  I'm dwyn i'th nefoedd wèn;
Yn Salem fry par'to fy lle
  Mewn llŷs o fewn i'r llèn."

2 Pererin llesg a llaith,
Dechreuais daith oedd bell,
Trwy lu o elynion mawr eu brâd,
Gan geisio gwlad sydd well ;
Am ffoi mae f'enaid tlawd
At f'anwyl Frawd a'm Pen ;
Yn Salem fry par'to fy lle
Mewn llŷs o fewn i'r llèn.

3 Yn nglŷn wylofain trist,
Lle bu fy Nghrist, 'r wy'n byw ;
Ac wrth ryfela â'm gelyn caeth
Fy nghalon aeth yn friw ;
Iachâ bob clwyf a brâth
Â dail y bywiol bren ;
Yn Salem fry par'to fy lle
Mewn llŷs o fewn i'r llèn.

4 Mae 'mrodyr uwch y nen
Yn canu ar ben eu taith ;
A minnau oedáis lawer awr
Ar siwrnai fawr a maith ;
Ond bellach tŷn fi'n ddwys,
Ar Grist dôd bwys fy mhen ;
Yn Salem fry par'to fy lle
Mewn llŷs o fewn i'r llèn.

5 'R wy'n gwel'd yr oriau'n hir
I fod o dir fy ngwlad ;
'Bryd deuaf at fy mrodyr fry
Sy'n canu'n nhŷ fy Nhad ?
'Gael gorphen ar fy nhaith,
A'm siwrnai faith îs nen ;
Yn Salem fry par'to fy lle
Mewn llŷs o fewn i'r llèn. W.

**705** (467) "*Daeth amser i'r adar ganu.*"

M. B. D.—Eden. Aberdar.

1 FFARWEL, bleserau'r byd,
Ei freulyd fri a'i fraw,
Ehedwn mwy fel adar mân,
I'n trigfan treiglwn draw ;

Cawn yno hyfryd hedd,
A rhyfedd roddion rhâd;
O! dowch, O! dowch, ni awn yn hy'
Tua'r wledd sy'n nhŷ ein Tad.

2 Yn awr mae'r adar mân
Ar dân yn moli Duw;
Yn awr mae'r haul a'r nefol hîn
Ar rai o'r werin wiw:
Fe ddaeth y Jubili;
On'd braf yw'n bri a'n braint?
Cawn fyn'd i dref ar fŷr o dro,
I seinio gyda'r saint.

3 Ein brodyr sydd o'r bron
Yn morio i Seion wiw:
Mewn hyfryd hwyl yn myn'd tua'r wlad
Lle mae ein Tad yn byw;
Cawn lànio yn y màn
I'r hafan hyfryd fry,
I blith y rhai sy'n gwaeddi "Rhâd,
Am gariad Iesu cu!" W.

## 706 (470) *Awyddfryd y Cristion.*

M. B. D.—Diademata. Coronamento.

1 MAE arnaf eisieu sêl
A chariad at Dy waith,
Ac nid rhag ofn y gosb a ddêl,
Nac am y wobr chwaith;
Ond gwir ddymuniad llawn
'Ddyrchafu'th gyfiawn glôd.
Am i Ti wrthyf drugarhau,
A chofio am dana'i erioed. D. J.

## 707 (474) *Y daith i Ganaan.*

M. B. D.—Bonar. Amana.

1 PALMENTIR llwybr in',
Trwy ganol moroedd maith;
Ac er gelynion, fawr a mân,
Cawn fyn'd yn mlaen i'n taith:
Ar drostan heddyw 'n nês,
Mae 'r sarph o brês yn glir,

Os clwyfir un pererin gwàn,
  Sy'n myn'd i'r Ganaan dir.

2 Iorddonen drŷ yn ol,
  'Ro'i lle i'r nefol hâd,
I etifeddu 'r hyfryd fàn
  Addawyd gan y Tad :
'D all pechod, nac un chwant,
  Ddim attal plant y nef
I dreiddio trwy bob llif a thòn
  Yn union ato Ef. W.

## 708 (488) *Gwaredigaeth y Cristion.*

6. 6. 8.—Bryncynlais. Gwledd.

1 GALARUS yw'm holl daith
  Gan orthrymderau maith,
Gan rif a grym gelynion câs ;
  Gan ofnau o bob rhyw,
  Gan guddiad wyneb Duw,
Gan arswyd colli'r dydd yn lân.

2 'Bryd gwawria'r dedwydd ddydd,
  Câf fod yn berffaith rydd
Oddi wrth fy llygredd, a phob clwy' ?
  'R anfeidrol ryfedd awr
  Daw'm gwaredigaeth fawr,
O afael angeu du a'r bedd ?

3 Er griddfan dros brydnawn,
  Boddlonir fi yn llawn
Pan welaf Iesu fel y mae :
  Gwel'd Iesu fel y mae
  Fydd ffynnon lawn, ddi-drai
O anfesurol faith fwynhâd.

4 Rhyw annherfynol wledd
  O gariad llawn o hedd,
Fydd imi ar Ei ddeheu law ;
  A hyfryd fydd fy nghân
  Pan byddaf berffaith lân,
Heb fraw ger bron Ei orsedd bur. H. H.

## 709 (490) *Nerth i ddwyn y groes.*

6. 6. 8.—Bryncynlais. Gwledd.

1 RHO nerth i ddwyn y groes
Tra par'o dyddiau f'oes ;
Na âd im' ddigaloni mwy
Wrth wel'd gelynion lu ;
Eu saethau'n aml sy ;
O ! cuddia fi o fewn Dy glwy'.

2 Anghenus wyf o hyd,
Mewn trallodedig fyd ;
Ac nid oes fythol ddim i'w gael
Gyflawna 'm heisieu i gyd,
A'm càna oll ynghyd,
Ond haeddiant drud fy Iesu hael.

3 'R wy'n nesu at yr awr
I gael fy nhòri i lawr.
A'm dodi i orwedd lle bu Ef :
Lle i orphwys yno fydd,
Hyd oni ddelo 'r dydd
Daw Iesu ar gymylau 'r nef ! G. I.

## 710 (519) *Nac ofna, f'enaid, mwy.*

6. 8.—Hollybourne. Beverley.

1 WEL, bellach, tyr'd yn mlaen,
Nac ofna, f'enaid mwy ;
Llai grym sy'n uffern dân
Na dwyfol, farwol glwy' ;
Mae'r gwaed, mae'r gwaed a gollodd Ef
Yn ucha'i brîs o fewn i'r nef.

2 Mae'r orsedd wèn yn rhydd,
Aeth Magdalen yn mlaen ;
Manasseh hefyd sydd
Yn canu'r nefol gân :
Mi glywa'r sŵn—sŵn peraidd yw,
Am ddwyfol, nefol, waed fy Nuw.

3 Distewch, elynion, mwy,
Rho'wch le tua phen fy nhaith ;
Chwi roisoch imi glwy'
Disymmwth lawer gwaith ;

Yn mlaen, yn mlaen mae'm trysor drud,
Tu hwnt i derfyn eitha'r byd.

4 O fewn Caersalem lân
Mi welaf fyrdd o saint,
Ddïangodd yno 'mlaen
Dros fryniau mawr eu maint;
Dilynaf ôl y dyrfa hon,
Er dŵr, a thân, a llif, a thòn.

5 O! tyred, Arglwydd mawr,
'D oes yma ddim ond gwae,
O eitha'r nen i lawr,
Os na châf Dy fwynhau;
Y wledd, y wledd a'm gwna yn llon
Yw cael Dy wel'd y funyd hon. W.

## 711 (499) *Cartref ar ol y storm.*

6. 8.—St. Swithin. Gwladys.

1 MI welaf draw, o bell,
Baradwys hardd ei gwedd,
A phrenau llawer gwell
Yn perarogli hedd:
O! hyfryd wlad, tu draw pob gwae,
Gwŷn fyd gawn heddyw dy fwynhau.

2 Mae'r byd ac uffern fawr,
A'm calon gâs, yn un,
Yn ceisio'm sugno i lawr
Yn hollol ato'i hun:
Fy Nuw, fy Nuw sy'n dàl y gwàn,
Rho nerth i'm henaid ddringo i'r làn.

3 Fe laesa'r storom fawr,
Fe laesa'r awel gref,
Pan ddelo gair i lawr
O'i sanctaidd enau Ef:
Duw yw Efe, os Ef a bair,
Cwymp nef ac uffern wrth Ei air.

4 Melusach tŷ fy Nhad
Ar ol y storom gref;
Pa fwya'r croesau gaed,
Mae'n hawddach gado tref;

O! hyfryd wel'd fydd yn y màn
Pob bryn a ddringais i i'r làn. W.

## 712 (504) *Golwg ar y dydd.*

6. 8.—Croft. Normandy.

1 A HEIBIO'r dywell nôs,
Fe ffŷ cymylau'r nen;
Fe ddaw'r addewid wir
Â'i geiriau pur i ben;
Ceir gwel'd, ceir gwel'd yr hyfryd dir,
Ar fŷr o dro yn oleu clir.

2 Mae'r oriau maith eu rhif,
Yn dirwyn yn y blaen:
Er bod nosweithiau'n faith,
O'r diwedd darfod wnan':
Cymylau'r nen, er maint eu grym,
O flaen y wawr ni safant ddim.

3 'D yw profedigaeth ddim,
'D yw'r holl gystuddiau ond gwàn,
I guro hwnw i lawr
A ddaliech Di i'r làn,
Mae nerth Dy râs yn fwy na'r byd,
A'r myrdd o ddrygau sy ynddo i gyd.

4 Ni attal dim o'r môr,
A'i dònau cedyrn cry,'
Rhag myn'd i ben ei daith
Yr hwn gynhaliech Di;
'D yw'r moroedd maith, 'd yw Pharaoh ddim,
Idd eu cymharu â Dy rym. W.

## 713 (534) *"Tywysog nefoedd yw fy nhŵr."*

6. 8. 4.—Dolyddelen. Covenant.

1 O! TYRED, addfwyn Oen,
Iachawdwr dynol-ryw,
At wael bechadur sydd dàn boen
Ac ofnau'n byw;
O! helpa'r llesg yn awr
I ddringo o'r llawr yn hy',
Dros greigydd geirwon, serth, i'r làn
I'r Ganaan fry.

2 O! dàl fi, 'r wyf heb rym,
Yr ochr hyn na thraw;
Os sefyll wnaf, ni safaf ddim
Ond yn Dy law:
Addewid nefoedd faith
Yw'm cymmorth perffaith, gwir,
Na chyfeiliornaf ar fy nhaith
I Salem bur.

3 Yn eithaf grym y dŵr,
A'r tònau'n curo i lawr,
Tywysog nefoedd yw fy nhŵr,
A'm Ceidwad mawr;
Fe ddeil fy mhen i'r làn,
Can's ffrynd i'r gwàn yw Ef,
Fe'm dŵg o'm cystudd yn y màn
I deyrnas nef. W.

## 714 (533) *O Arglwydd, sâf o'm tu.*

6. 8. 4.—Dolyddelen. Covenant.

1 O ARGLWYDD, sâf o'm tu,
Dàl f'enaid cu i'r làn;
Mae im' elynion creulon, crŷ',
A minnau 'n wàn;
'R wy'n ofni 'r anial maith,
Rhag gŵyro 'm taith un llaw,
Am hyny arwain f'enaid llaith
I'r ochr draw.

2 Gostega'r 'storom gref
Sy'n curo ar fy mron,
Nes wyf yn methu c'odi 'm llef
O wàr y dòn;
A dofa'r tònau maith,
Y diluw mawr ei rym,
A chynnal finnau 'ar fy nhaith
Heb ofni dim.

3 Ti 'r Meddyg pena' erioed,
Sydd yn iachau pob briw,
Fy unig drysor îs y rhôd,
A 'Mhrïod gwiw;

Wel arnat rho' i fy mhwys
I orphwys byth yn lân,
O tàn bob rhyw gystuddiau mwy,
Fawrion a mân. W.

**715** (530) *Iesu yn nerth y daith.*

6. 8. 4.—Palestina. Trecastell.

1 FY Iesu yw nerth fy nhaith,
Fy Noddfa sicr, siwr,
Fy Nghraig yn nyfnder dyfroedd maith,
A'm cadarn Dŵr ;
Ac yno rho' i fy mhen
O tàn Ei aden wiw,
Gan orphwys ar Ei fynwes wèn
Byth tra f'wy 'i byw.

2 Fy llygredd o bob gradd
A goncra er ei rym,
Ei allu Ef sy'n abl lladd
Gelynion llym ;
Mae uffern gadarn, gref,
Er maint ei llef a'i llîd,
Tàn Ei awdurdod ddwyfol Ef,
Yn ofni i gyd.

3 Ei gariad yw fy ngrym
Yn mhob rhyw stormydd maith,
Ni fedda'i arall gysur ddim,
Mewn anial daith ;
Fe achub f' enaid gwàn,
Fe'i dŵg i'r làn yn rhydd,
O'r holl gadwynau yn y màn,
Pan 'dêl y dydd. W.

**716** (547) *Y ffordd yn rhydd.*

6. 6. 4.—Malvern. Moscow.

1 O'R diwedd daeth yr awr ;
Yn nhragwyddoldeb mawr
Arfaethwyd ef ;
Bu farw Brenin nen
O gariad ar y pren ;
Agorwyd lêd y pen
Holl byrth y nef.

2 Wel, bellach awn yn mlaen,
Nac ofnwn ddŵr na thân ;
Ni bïau 'r dydd ;
Mae'n Brenin cadarn, cry',
Yn mlaenaf un o'r llu,
Yn tòri rhwystrau sy ;
Mae'r ffordd yn rhydd.

3 Mae heddyw, yn y nef,
Fyrddiynau gydag Ef,
Yn canu Ei glôd :
Dowch, dringwn tua'r làn,
Cawn feddu yn y màn
Yr ardal ddaeth i'n rhan
Hyfryda' erioed. W.

## 717 (541) *Duw yn drech na'r gelynion.*

6. 6. 4.—Weston. Bethel.

1 WEL, f'enaid, dôs yn mlaen,
Heb ofni dŵr na thân,
Mae genyt Dduw :
'D yw'r gelyn mwya'i rym
I'w nerth anfeidrol ddim ;
Fe goncra'm pechod llym—
Ei elyn yw.

2 Mae gwaed Ei groes yn fwy
Na'u natur danbaid hwy,
Na'u nifer faith ;
Fe faddeu fawr a mân,
Fe'm golch yn hyfryd lân,
Fe'm dŵg i yn y blaen,
I ben fy nhaith.

3 O ! Brynwr mawr y byd,
Tyr'd bellach, mae'n iawn bryd,
Mae yn brydnawn ;
Gàd imi wel'd Dy râs
Ar frŷs yn tòri i maes
Dros wyneb daear lâs,
Yn genllif llawn.

4 Y geiriau oll i gyd
Ro'ist ini o bryd i bryd,
Am ddydd Dy râs ;
Gâd ini glywed llef
Efengyl gadarn gref,
O gŵr i'r llall i'r nef,
Yn swnio i maes. W.

## 718 (553) *Iesu y tu fewn i'r llèn.*

6. 6. 4.—Harlan. Moreb.

1 FY Iesu yw fy Nuw,
Fy Mrawd a'm Prynwr yw,
Ffyddlonaf gwir ;
Fy enaid arwain wnaeth
O'r gwledydd tywyll caeth,
I wlad o fêl a llaeth,
Paradwys bur.

2 Efe aeth o fy mlaen,
Trwy ddyfnder dŵr a thân,
I'r hyfryd wlad ;
Mae'n eiriol yno'n awr,
O flaen yr orsedd fawr,
Yn maddeu fach a mawr
O'm beiau'n rhâd.

3 Mae lluoedd maith y nef
Yn canu iddo Ef—
Anfeidrol Dduw—
Ar aur delynau clir,
Mewn gŵyl dragwyddol bur
Am waredigaeth wir
I ddynol-ryw. W.

## 719 (542) *Nerth yr addewid.*

6. 6. 4.—Weston. Bethel.

1 CRYFACH addewid Duw
Na'r pechod gwaetha'i ryw—
Ni saif ef ddim ;
'D yw natur gadarn, gref,
Ond dim i dân y nef,
Mae gair o'i enau Ef
Yn fwy ei rym.

2 Fy meiau, fân a mawr,
Sydd raid eu cael i lawr,
Cyn byddo hir:
Fe fỳn cyfreithiau'r ne'
I dỳnu'r llygad de,
A thòri'r fraich o'i lle—
Ei air sydd wir.

3 Rhaid rhoddi ffàrwel glân
I'n chwantau, fawr a mân—
Pleser i gyd;
Câf bleser 'maes o law,
Yn nhragwyddoldeb draw,
Ei fath ni fu, ni ddaw,
Gan fawrion byd. W.

## 720 (558) *Erfyniad am amddiffyn Duw.*

6. 6. 4.—Llanddowror. Dinbych.

1 O ARGLWYDD! tyr'd i lawr,
Nac oeda, tyr'd yn awr,
Nid wyf ond gwàn;
'R wy'n gorwedd yn fy ngwaed,
Yn glwyfau o'm pen i'm traed,
O! dyro im' iachâd,
A ch'od fi i'r làn.

2 Dŵg fi'n Dy fynwes gu,
Trwy ganol tanllyd lu,
Gwrthnysig ryw;
Bydd yno'n gymmorth im',
Y fàn mae'r gelyn llym
Yn curo yn ei rym,
Ti yw fy Nuw.

3 Os tua'r ochr dde
Yn greulawn tery efe,
Sâf Di o'm blaen;
Os ar yr aswy law
Bygythir fi o draw,
Fyth yno bydd ger llaw,
Fel mur o dân.

4 'R wy'n penderfynu byw
Dàn aden bur fy Nuw,
Mewn lloches bur:
Ac yno âf yn hy',
Trwy luoedd creulon, cry',
Lle mae fy Iesu cu,
Cyn byddo hir. W.

## 721 (559) *Cadw y llwybr cul.*

6. 6. 4.—Dinbych. Llanddowror.

1 GWNE'S addunedau fil
I gadw'r llwybr cul,
Ond methu'r wy';
Preswylydd mawr y berth,
Chwanega eto'm nerth
I ddringo'r creigiau serth
Heb flino mwy.

2 Gelynion lawer mil,
Sy o ddeutu 'r llwybr cul,
A minnau 'n wàn;
Dàl fi â'th nerthol law
Rhag crwydro yma a thraw:
Yn mhob rhyw drallod ddaw
Bydd ar fy rhan!

3 Dàn gysgod gwych y pren
Sy â'i frigau uwch y nen,
Trig f' enaid byw;
Er g'lynion rif y gwlith,
A sŵn y stormydd chwith,
Mi lechaf tano byth,
Fy noddfa yw. M. R.

## 722 (567) *Nerth ar y daith.*

6. 8. 6.—Trelalas.

1 DY gymmorth, Arglwydd! dôd
I rodio er Dy glôd,
A byw trwy ffydd o ddydd i ddydd,
Gan estyn at y nôd:
Cael treulio f' oes i Grist, a'i groes,
Er pob rhyw loes a chlwy',

A byw heb wâd i ro'i mawrhâd
I gariad rhâd fy Iesu mâd,
Fydd fy nymuniad mwy ! E. E.

2 Yr Arglwydd ar fy nhaith,
A'm daliodd lawer gwaith,
Yn nyfnder loes, dàn faich a chroes,
A gorthrymderau maith :
Yn un heb nerth, ar greigiau serth,
Ce's fyw trwy werth y gwaed ;
A'r grâs a fu yn rhâd o'm tu,
Mae eto 'n gry' i fwrw llu
O elynion dàn fy nhraed ! T. J.

## 723 (573) *Âf yn mlaen.*

7. 3.—Trefeglwys. Rhosbeirio.

1 YN wyneb gorthrymderau,
Âf yn mlaen,
A duon ragluniaethau,
Âf yn mlaen ;
Er môr a'i dònau mawrion,
A dyfroedd Marah chwerwon,
Ynghyd â'm holl elynion,
Âf yn mlaen ;
Nes gorphwys fry yn Seion,
Âf yn mlaen. G. 1.

2 'D oes yma ond trai a llanw,
I barhau,
Ac yfed cwpan chwerw,
I barhau,
Ond yn y Ganaan nefol,
Dim eisieu yn dragwyddol,
Câf ddisglaer ddyfroedd bywiol,
I barhau,
I'w hyfed yn wastadol,
I barhau. M. R., *ar.*

## 724 (583) *Gobaith gwaredigaeth.*

8au. 4ll.—Weber. Dresden.

1 OS rhaid yfed dyfroedd Marah
Yn yr anial ar fy ngyrfa,

Nertha Di, fy Nhad a'm Harglwydd,
F'ysbryd gwàn mewn byd o dramgwydd. D. M.

2 Tra rhaid imi wisgo'r arfau,
Dwyn y groes trwy othrymderau,
Rho Dy gwmni—dyna ddigon,
Nes myn'd adre' i wisgo'r goron. G. 2.

3 Yno derfydd fy nghystuddiau,
Troir fy ngalar yn ganiadau ;
Yn lle Marah, ddwfr anhyfryd,
Yfed gâf o afon bywyd.

4 'N awr wrth gofio'r hên Iorddonen,
F'enaid athrist gân yn llawen,
Âf ar fŷr i'r wlad na dderfydd
Llawn orfoledd yn dragywydd. M. R.

## 725 (670) *Cyfarwyddyd yn yr anialwch.*

8. 7. D.—Deus Omnipotens. Burry Port.

1 CYFARWYDDA 'm henaid, Arglwydd,
Pan b'wy'n teithio 'mlaen ar hyd
Llwybrau culion, dyrys, anhawdd,
Sydd i'w cerdded yn y byd :
Cnawd ac ysbryd sy'n rhyfela,
Weithiau cariad, weithiau câs,
Tòn ar dòn sydd yn gorchuddio
Egwyddorion nefol râs.

2 Cul yw'r llwybr imi gerdded,
Îs fy llaw mae dyfnder mawr,
Ofn sydd arnaf yn fy nghalon
Rhag i'm troed i lithro i lawr :
Yn Dy law y gallaf sefyll,
Yn Dy law y dôf i'r làn,
Yn Dy law byth ni ddiffygiaf,
Er nad ydwyf fi ond gwàn.

3 Dysg fi gerdded trwy'r afonydd,
Na'm dychryner gan y llif,
Na b'wy'n ildio gyda'r tònau,
Temtasiynau fwy na rhif ;

Cadw 'ngolwg ar y bryniau
  Uchel, heirdd tu draw i'r dŵr ;
Cadw ngafael yn yr afon
  Ar yr Iesu'r blaenaf Ŵr.

4 O ! anialwch maith o dd'rysni !
  O ! afonydd mawr eu grym !
'Faint o amser roddwyd i chwi
  Fod yn ddigalondid im' ?
Derfydd t'w'llwch, derfydd galar,
  Derfydd pechod o bob rhyw,
Nid yw'r wlad câf ynddi drigo
  Ddim ond presennoldeb Duw. W.

## 726 (714) *Hiraeth am gymdeithas gysson â Duw.*

8. 7. D.—Henryd. Tanymarian.

1 O ! DYRCHAFA 'm henaid egwan,
  Y mae bellach yn hwyrhau ;
Hir yw'r amser i och'neidio,
  Gwna i mi o'r diwedd lawenhau,
Moroedd mawrion, bryniau lawer,
  Pellder annioddefol sy,
Ac anialwch maith digymmar,
  Rhyngof a'm Hanwylyd cu.

2 O ! na b'ai rhyw ddyfais hyfryd
  Dàn yr wybr lâs i gyd,
Allai gadw'm henaid egwan
  Yn Dy gwmni Di o hyd ;
Byth ni phrisiwn, doed a ddelo,
  'Beth ddigwyddai îs y nen ;
Ar Dy fynwes deg, berffeithlan,
  Byth y pwyswn i fy mhen.

3 O ! foreuddydd y brïodas,
  Gwynfyd welai'r ddedwydd awr—
Gwel'd wyneb-pryd y Prïodfab,
  Clywed llais y delyn fawr ;
Awn dàn ganu dros y moroedd
  Meithion tua'r hyfryd wlad,
Ac anghofiwn hên gariadau,
  Gwâg bleserau tŷ fy nhad. W.

## 727 (687) *Duw yn unig wrthrych cariad.*

8. 7. D.—Diniweidrwydd.

1 GORCHUDD ar Dy bethau mawrion
Yw teganau gwâg y byd ;
Cadarn fur rhyngof a'th Ysbryd
Yw'm pleserau oll i gyd :
Gâd im' gloddio trwy'r parwydydd
Tewion, trwodd at fy Nuw,
I gael gwel'd trysorau gwerthfawr
'Fedd y ddaear ddim o'u rhyw.

2 N'âd fi daflu golwg cariad
Ar un gwrthrych îs y rhôd,
Na gwneyd gwrthrych i fy ngobaith
O greadur sydd yn bôd :
Cadw 'ngolwg wàn i fyny
'N syml atat Ti Dy Hun,
Heibio i barch, a heibio i amharch,
Heibio i ddaear, heibio i ddyn.

3 Wrth fy ystlys bydd i'm harwain,
Yn mhob d'rysni rho Dy law ;
Gâd im' aros yn Dy gysgod—
Cawod yma, cawod draw :
Atat 'r wyf yn ffoi am noddfa
Rhag y drygau sydd o'm hôl ;
Cymmer fi, Dywysog bywyd,
Dŵg fi yn Dy ddwyfol gôl. W.

## 728 (594) *Llawn fuddugoliaeth yn y diwedd.*

8. 7. D.—Edinburgh. Sanctus.

1 DRAW mi wela'r nôs yn darfod,
Draw mi welaf oleu'r dydd,
Yn disgleirio dros y bryniau,
Melus yn y màn a fydd ;
Ffŷ gelynion pan ddêl goleu,
Ni all pechod, er ei rym,
A'i holl wreiddiau yn fy natur,
Sefyll Haul Cyfiawnder ddim.

2 Daw i ben, aed byd yn yfflon,
Bob rhyw air a dd'wedo 'Nhad ;

Sethrir Satan, sethrir angeu,
   Sethrir uffern dàn fy nhraed ;
Buddugoliaeth ddaw o'r diwedd,
   A phan ddêl, melusaf fydd ;
Mil o flwyddau gyda'm Harglwydd
   Nid yw ragor ddim na dydd.

3 Yn y rhyfel mi arosaf,
   Yn y rhyfel mae fy lle :
Boed fy ngenau tua'r ddaear,
   Boed fy llygaid tua'r ne' ;
Doed y goncwest 'bryd y delo,
   Mi ddisgwyliaf wrth fy Nuw,
Nes o'r diwedd weled pechod
   Wedi derbyn marwol friw. W.

## 729 (707) *Llwyr waredigaeth oddi wrth bechod.*

8. 7. D.—Llanidloes. Eifionydd.

1 MI âf trwy'r Iorddonen arw,
   Anturiaf wrthwynebu'r dòn—
Pob temtasiwn gaffo'm nwydau
   Gan wrthrychau'r ddaear hon,
Ond it' sefyll wrth fy ochr,
   Ond it' 'maflyd yn fy llaw ;
Ti gei'r clôd, Ti gei'r gogoniant,
   Oll yn oll yr ochr draw.

2 'R wy'n hiraethu am yr oriau
   Pan y caffwy' 'nhraed yn rhydd,
Dyna Jubil fy nghysuron—
   Dyna 'ngwaredigol ddydd ;
Dyna wledd 'r wy'n brefu am dani—
   Pan na byddo pechod mwy
I ladratta'r meddwl lleiaf,
   Nac i roddi imi glwy'. W.

## 730 (615) *Dim a foddia'r enaid ond Duw.*

8. 7. D.—Ledforth. Gaerwen.

1 PAM 'r wy'n 'mofyn gwlad o heddwch
   Lle nad oes ond gwlad o wae,
Disgwyl cariad a ffyddlondeb
   Mewn ardaloedd o gashau,

'Mofyn bywyd mewn marwolaeth,
'Mofyn cysur lle nad yw?
Nid oes dim a foddia'm henaid
Îs y nefoedd ond fy Nuw.

2 Dechreu 'r wyf yn awr ehedeg
I'r ardaloedd mae fy mryd,
Ac 'r wyf am ddiffoddi'm hiraeth
Am bleserau gwâg y byd:
Ni chaiff dyn, na da, nac enw,
Ni chaiff pleser, ni chaiff gwae,
Argraph mwy i'm gwneyd yn llawen,
Nac i'm gwneyd i lwfrhau.

3 Mi ä' i maes o blith y werin
I ryw loches wrthyf f' hun,
Lle na b'o dim stŵr creadur,
Dim ond D' Ysbryd sanctaidd cun;
Mi wna 'mhleser yn Dy fynwes,
Mi wna'm nefoedd yn Dy hedd,
Ac fe'i gwelaf imi'n bleser
I gael gorwedd yn y bedd. W.

## 731 (660) *"Mi a godaf ac a âf at fy Nhad."*

8. 7. D.—St. Nicholas. Censorinus.

1 DYMA'r truan a'r anghenus,
Wedi treulio'i dda o'r bron—
Holl drysorau pur Paradwys,
Ar wrthrychau'r ddaear hon;
'N awr yn noeth, yn glaf, yn glwyfus,
Ac mewn gwlad o eisieu'n byw;
Newyn mawr, heb neb yn rhoddi,
Sy'n yr ardal na b'o'm Duw.

2 Tŷ fy Nhad sy'n llawn o gyfoeth,
Fel y moroedd mawr di-drai,
O dragwyddol mae ei ddechreu,
I dragwyddol mae'n parhau;
Gweision cyflog fy hên gartref
Fyth sy'n llawen, fyth sy'n llawn,
Heb na phoen, na thrai, na phrinder,
Fyth na boreu na phrydnawn.

3 Minnau g'odaf tuag yno—
  Hên ardaloedd tir fy ngwlad,
Ac a gwympaf, yn fy nghlwyfau —
  Yn fy mrynti, o flaen fy Nhad ;
D'wedaf wrtho :—" Pechais, Arglwydd,
  Drwy demtasiwn gadarn, gref,
O'th flaen Di yn anystyriol,
  Hefyd ac yn erbyn nef.

4 " Nid wyf deilwng, am fy nhrosedd,
  'Gael Dy enw arnaf mwy,
Gwna fi'n un o'th weision cyflog,
  A rho arna'i 'u henwau hwy " :
Llawnder grâs, heb fesur arno,
  Llawnder annherfynol hedd,
Gaiff y rhai cystuddiol, euog,
  Weled yn Ei hyfryd wedd. W.

## 732 (661) RHAN II.

8. 7. D.—St. Nicholas. Censorinus.

1 FY addfwynaf Dad a'm derbyn,
  Er im' dreulio'r oll i gyd
O bob da a roddodd imi
  Ar bob gwagedd yn y byd !
Gwelodd fi o bell yn dyfod,
  Ac fe barodd imi dd'od,
Daeth i'm cwrdd, ac fe'm cusanodd—
  Cariad penaf fu erioed.

2 Dygodd allan lo pasgedig,
  Ac fe'i lladdwyd yn ddïoed,
Ac fe roddodd im' ddanteithion
  Ag na cha'w'd eu bath erioed ;
Dygodd Ef fy ngwisgoedd budron,
  Ac fe'm gwisgodd i yn lân,
Â'r cyfiawnder dwyfol hwnw
  Na fu am dana'i 'rioed o'r blaen.

3 Ar fy llaw fe roddodd fodrwy,
  Ac esgidiau am fy nhraed,
Gwnaeth fi'n hardd o fewn ac allan,
  Fel Ei etifedd penaf gaed ;

Cadwodd wledd o ddawns a chanu,
  A phob rhyw bleserau 'nghyd;
'Chafwyd er y trosedd cyntaf
  Eu cyffelyb yn y byd. W.

## 733 (715) *Hiraeth am waredigaeth.*

8. 7. D.—Bodawen. Engedi.

1 TÂN fy maich yr wyf yn griddfan—
  Disgwyl amser o ryddhau,
Disgwyl i 'mhechodau dreulio,
  Eto 'mhechod sy'n parhau;
Disgwyl câf gasineb hollol,
  'Caria f'addunedau'r dydd;
Eto finnau yn y gadwyn,
  Ac yn methu myn'd yn rhydd.

2 O! na chlywŵn yr udgorn arian
  Rywbryd yn rho'i bloedd i maes,
Yn cyhoeddi i f' enaid llwythog
  Heddwch a maddeuol râs;
O! na ddeuai nerth i waered,
  Fel llifeiriant mawr ei rym,
Fel na allai'm nwydau penaf
  Bellach ei wrthsefyll ddim.

3 Mi ro'wn fydoedd maith, pe meddwn,
  Am gael gweled tòri i lawr
Bethau ag sy'n myn'd â'm meddwl
  Fil o weithiau yn yr awr;
Trais a gorchest sy ar fy ysbryd,
  Cryf yw'm gelyn, minnau'n wàn;
Addfwyn Oen! yn fuan brysia,
  C'od fi o'r pydew hwn i'r làn. W.

## 734 (671) *Hiraeth am waredigaeth.*

8. 7. D.—Deus Omnipotens. Burry Port.

1 DYNA'r dyddiau wyf yn ddisgwyl—
  Dyddiau'r addewidion rhâd;
D'wedwyd 'cawn fy meiau cryfaf,
  Dua'u lliwiau, dàn fy nhraed;
Iesu yw Ei enw hyfryd,
  Ac fe ddyry wared llawn:

O! am wel'd y boreu'n dyfod;
Rhyfedd hŷd y maith brydnawn!

2 Gŵyro yma, gŵyro acw,
Weithiau gŵyro ar y dde,
Gànwaith ragor ar yr aswy
Oddi wrth lwybrau Brenin ne';
Mae yma reddf o waredigaeth,
Mae yma reddf o dd'od yn rhydd,
A griddfanau i'r làn yn llanw
Am yr hyfryd foreu ddydd.

3 Mi feddyliaf fod y wawrddydd
Wèn ar g'odi maes o law;
Mi dybygaf, drwy'r cymylau,
Gwelaf oleu'r ochr draw:
Deuwch, wyntoedd mwyn y deheu,
Gwthiwch y cymylau o'u lle,
Im' gael gwel'd yn Ei ogoniant
Bresennoldeb Brenin ne'. W.

## 735 (668) *Golwg ar y wlad.*

8. 7. D.—Scopas. Balducci.

1 DYN dïeìthr ydwyf yma,
Draw mae'm genedigol wlad;
Draw i'r moroedd mawr tymhestlog,
Ac o fewn i'r Ganaan râd:
Stormydd hir o demtasiynau
'Nghurodd i fel hyn mor bell;
Tyred, ddeheu wynt pereiddiaf,
Chwŷth fi i'r Baradwys well.

2 Ac er gwaethaf grym y tònau
Sydd yn curo o bob tu,
Dôf trwy'r stormydd, dôf trwy'r gwyntoedd
Rywbryd i'r Baradwys fry:
Gair fy Nuw sy'n drech na'r moroedd,
Gair fy Nuw sy'n drech na'r dòn;
Mi anturia'r oll a feddwyf
Fythol i'r addewid hon.

3 Ac ni fydda'i 'n hir cyn gorphen—
Ddim yn hir cyn glànio fry;

Pob gorchymyn, pob bygythiad,
Pob addewid sydd o'm tu ;
Nid y dyfnder fydd fy nhrigfan ;
Gŵn y deuaf yn y màn,
'N ôl fy ngolchi gan y tònau,
Yn ddïangol fyth i'r làn.

4 'R wyf yn dechreu teimlo eisoes
Beraroglau'r gwledydd draw,
Gyda'r awel bur yn hedeg ;
Dïau fod y wlad ger llaw :
Tyr'd, y tir dymunol hyfryd,
Tyr'd, yr ardal sydd heb drai ;
Dy bleserau o bob rhywiau,
Gâd im' bellach eu mwynhau. W.

## 736 (718) *Ymbil am gynhaliaeth ac arweiniad.*

8. 7. D.—Bodawen. Engedi.

1 TYRED, f'enaid, ar i fyny,
Allan o'r anialwch maith ;
Hiraeth sy arnaf am gael gweled
Gwledydd hyfryd pen fy nhaith ;
Blinais deithio'r creigydd geirwon,
Lle 'r wy'n wastad yn cael briw,
Ac fe'm clwyfid i farwolaeth
Oni b'ai cariad rhâd fy Nuw.

2 Lleoedd dyfnion sydd ar aswy,
Lleoedd dyrys sydd ar dde ;
Ac mae'n anhawdd cadw'r llwybr,
Ag a deithiodd Brenin ne' ;
Rhag im' golli trwy ryw ryfyg,
Neu anghredu, neu trwy flŷs,
Help, fy Nuw, luddedig enaid
'Ddringo'r bryniau serth ar frŷs.

3 Dàl fi i fyny, addfwyn Iesu !
Arwain f'enaid yn Dy law,
Nes b'wy'n cyrhaedd dros bob ofnau,
I'r ardaloedd hyfryd draw ;
Ac os yno byth y deuaf,
Dyna 'ngwaith o fewn y lle—

Chwareu ar y delyn euraidd
  Am rinweddau 'i gariad E'. W.

## 737 (679) "*Gras fel moroedd all fy achub.*"

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 TÒRI wne's fy addunedau
  Gànt o weithiau maith eu rhi',
Ac mae'n rhaid ryw râs anfeidrol
  'Gadw euog fel myfi ;
Wrth yr orsedd 'r wyf yn cwympo,
  Ac nid oes un enw i maes
Ag a rŷdd im' feddyginiaeth
  Ond yn unig gorsedd grâs.

2 Grâs fel moroedd all fy achub,
  Perffaith gyflawn yn mhob rhan,
Grâs a roddo nerth a bywyd,
  Ac a wnelo'n gryf y gwàn ;
Rhaid cyfiawnder, rhaid doethineb,
  A phob grasau, fawr a mân,
Cyn yr elo f'enaid eiddil,
  Sydd mewn cadwyn, gàm yn mlaen.

3 Rhaid cael llygaid, fel y gwelwyf
  Hyfryd beraidd lwybrau'r dydd ;
A chael holl allweddau'r nefoedd
  I ddad-gloi cadwynau'n rhydd ;
A chael llusern fawr y bywyd
  Fyth i gerdded o fy mlaen,
Ganol dydd yn gwmwl goleu,
  Ganol nôs yn golofn dân. W.

## 738 (680) RHAN II.

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 TYWYSOG bywyd, bydd o'm hochr,
  'R wyf yn mron a llwfrhau ;
'D yw 'ngelynion, mewn rhifedi
  Na chyndynrwydd, ronyn llai ;
Torf o faes o hyd sy'n temtio,
  Torf o fewn o'u cymmaint hwy,
Ac mewn cyngrair gyda'u gilydd
  Am ro'i imi farwol glwy'.

2 Minnau ro'is fy holl ymddiried,
Iesu, arnat Ti Dy Hun ;
Ac nid oes un enw arall
A all achub y fath un ;
Tŷn fi'n mlaen i'r ardal hyfryd,
'Maes o'r anial maith ei hyd ;
Ti gei'r clôd a'r holl ogoniant
Pan yn ulw'r elo'r byd. W.

## 739 (649) *Y pererin yn yr anialwch.*

8. 7. D.—Chrysostom. Vienna.

1 TYRED, Arglwydd, i'r anialwch
Yma buost Ti o'r blaen,
Arwain fi, bererin eiddil,
Â Dy golofn niwl a thân ;
Dàl fy ysbryd sy'n llewygu
Gan ryw ofnau o bob màn ;
Yn Dy allu 'r wyf yn gadarn,
Hebot Ti nid wyf ond gwàn.

2 O ! drugaredd pen Calfaria,
Sydd yn llawer mwy na'r byd,
Yma'n unig mae fy ngobaith
'Sefyll mewn anfeidrol lîd ;
'R wy'n ymwadu â'r oll a feddaf,
Ac yn addef 'feddaf ddim ;
Iesu Ei Hunan yw fy haeddiant,
Iesu Ei Hunan yw fy ngrym. W.

## 740 (719) *Profiadau amrywiol.*

8. 7. D.—Bodawen. Engedi.

1 'RWYF yn teimlo gwynt y deheu
Yn anadlu awel bur,
Ac yn ysgafn gario f'enaid
Draw i fryniau'r Ganaan dir :
Aeth y gauaf garw heibio,
Darfu'r oer dymhestlog wynt ;
Na ddoed mwy'r cawodydd duon
I fy mlino megys gynt.

2 Anhawdd yfed dyfroedd chwerwon,
Er mai dyfroedd chwerwon iawn

Ydyw haeddiant fy mhechodau
O foreuddydd glâs hyd nawn ;
Tro fy chwerwder yn felusdra,
Tro fy ngwenwyn câs yn wîn ;
Mi ro'f glôd, mi ro'r gogoniant,
I'th ddoethineb Di Dy Hun. W.

## 741 (708) *Nerth a chynhaliaeth yn yr anial.*

8. 7. D.—Gwynfa. Alexander.

1 TYRED, Iesu, i'r anialwch,
At bechadur gwael ei lun,
Gànwaith dd'rysodd mewn rhyw rwydau—
Rhwydau weithiodd ef ei hun ;
Llosg fieri sydd o'm cwmpas,
Rho fi i sefyll ar fy nhraed ;
Moes Dy law, ac arwain drosodd
F'enaid gwàn i dir ei wlad.

2 Manna nefol sy arnaf eisieu,
Dŵr rhedegog, gloyw, byw,
Sydd yn tarddu o dàn riniog
Teml sanctaidd bur fy Nuw ;
Golchi'r aflan, cànu'r Ethiop,
Gwneyd yr euog brwnt yn lân ;
Ti gei'r clôd ryw fyrdd o oesoedd
'N ol i'r ddaear fyn'd yn dân.

3 Ar Dy allu 'r wy'n ymddiried ;
Mi anturiaf, doed a ddêl,
Dreiddio trwy'r afonydd dyfnion,
Mae Dy eiriau oll dàn sêl ;
Fyth ni fetha a gredo ynot,
Safodd un erioed yn ôl ;
Mi ä 'mlaen, a doed a ddelo,
Graig a thylau, ar Dy ôl. W.

## 742 (647) *Llwybrau grâs yn hyfryd.*

8. 7. D.—Chrysostom. Vienna.

1 MAE Dy lwybrau cul yn hyfryd,
Mae Dy gwmni'n dawel, fwyn ;
Mae Dy iau yn dirion, esmwyth,
Tra Dy Hunan yn ei dwyn ;

Mae Dy feichiau'n rhyfedd ysgafn,
Oll yn perthyn it' sy'n hedd ;
Fel y mêl gwnêst groesau diried,
Angeu haerllug, dewr, a'r bedd.

2 Dyma'r llwybr a ddewisais,
Eto 'r wyf heb 'difarhau ;
Disgwyl f'etifeddiaeth 'r ydwyf,
Eto heb gael ei mwynhau ;
Cyfoeth mawr, heb fesur arno,
Trysor mwy na'r moroedd maith,
Welaf draw yn nghadw imi,
Hir brydnawn, ar ben fy nhaith.

3 Dïanc wne's i maes o Sodom,
Ar y gwastad 'r wyf yn byw,
Mae fy nghefn ar Gomorrah,
F'wyneb tua gwlad fy Nuw :
Fyny i'r bryniau 'r wyf am ddianc,
Maes o sawr y mŵg a'r tân ;
Rho Dy law, Dywysog bywyd,
Tŷn fy enaid yn y blaen.

4 Ffàrwel deiau, ffàrwel diroedd,
A'r eilunod pena' erioed,
Mi'ch tyngheda 'ngŵydd y nefoedd
Na ddilynoch ôl fy nhroed :
Myn'd 'r wy'n llwm tua thir y bywyd—
Ffòn yn unig yn fy llaw ;
Mi ä 'mlaen dros yr Iorddonen,
Mae 'nghyfeillion anwyl draw. W.

## 743 (655) *Gwledd i'r afradlon.*

8. 7. D.—Joseph. Corinth.

1 MI ddôf at Ei fwrdd yn ëon,
Ce's fy ngwahodd ganddo'i Hun ;
Y mae yno basgedigion,
Y mae yno loyw wîn ;
Y mae yno gwmni hyfryd,
Gwisgoedd gwŷnion i bob rhai,
Nid oes un heb wisg brïodas,
Nid oes un yn berchen bai.

2 Mi gâf yno yfed cariad,
Ffrwyth gwinwydden nef y nef,
Yr un cariad nefol hyfryd,
Ag oedd yn Ei gwpan Ef;
Cariad wna fyrdd o fyrddiynau
Mewn rhyw gwlwm cryf yn un,
Ac ä 'mlaen i dragwyddoldeb
Yn Ei Ysbryd Ef Ei Hun. W.

## 744 (710) *Duw yn unig noddfa.*

8. 7. D.—Gwynfa. Alexander.

1 ATAT, Arglwydd, 'r wy'n troi 'ngwyneb
Ti yw'm hunig noddfa lawn,
Pan f'o cyfyngderau'n gwasgu—
Cyfyngderau trymion iawn;
Dàl fi i fyny yn ngrym y tònau,
'D oes ond dychryn ar bob llaw;
Rho Dy help, Dywysog bywyd,
I gael glànio'r ochr draw.

2 Neb îs nef ond Ti Dy Hunan
Ddeil i fyny f'enaid gwàn;
'R wy'n diystyru'r holl grëadigaeth
Fel peth diddim, tlawd, a gwàn;
Ac os Ti ro'i Dy fendithion
Imi'r annheilyngaf ddyn,
Ti gai'n ôl y cwbl roddaist,
I Dy fynwes lân Dy Hun.

3 Ti gai 'mywyd, Ti gai f'amser,
Ti gai'm dòniau o bob rhyw;
P'odd y beiddiaf gadw mymryn
O fendithion pur fy Nuw?
Ffrydia'r nefoedd wèn i waered,
Tŷn garcharor caeth i maes,
Fe gaiff nef a daear glywed
Adsain gwaredigol râs. W.

## 745 (606) *Hyder am fuddugoliaeth.*

8. 7. D.—Dismission. Dismissal.

1 F'ENAID, gwel i ben Calfaria,
Draw, 'rhyfeddod fwya' erioed;

Crëwr nefoedd wèn yn marw,
'R ddraig yn trengu dàn Ei droed;
Clywaf lais yn awr, dybygwn,
Agor byrth y nefoedd fry;
F'enaid cân, fe ddarfu ofn,
Prynwyd nefoedd wèn i mi.

2 Tyr'd i fyny o'r anialwch,
Wedi aros yno'n hir;
Sypiau grawnwin mawrion addfed,
Sy'n dy aros yn y tir;
Brysia i ryfel, gwisg dy arfau,
Cymmer galon, mentra 'mlaen;
Ffordd nis colli, mae'n dy arwain
Gwmwl niwl a cholofn dân.

3 Ni all Amalec na Moab,
'Nghyd â'r holl elynion hy',
Wneuthur niwed im' tra cadwyf
'N agos at Dy babell Di;
Dàn y cwmwl mi arosaf,
Yno hefyd bydd fy nyth,
Nes cael trigo mewn llawenydd
Yn y wlad a bery byth.

4 Gwnes y dewis goreu wnaethpwyd,
Dewis Brenin nefoedd wèn—
Yn Dad, yn Brïod, ac yn Gyfaill,
Yn Frawd, yn Geidwad, ac yn Ben:
Cyfoeth mawr di-drai, di-fesur,
Sydd yn nghadw imi'n stôr,
A bendithion, oll pe rhifid,
Megys tywod mân y môr. W.

## 746 (610) *Hiraeth am ail ymweliad.*

8. 7. D.—Dusseldorf. Innocence.

1 O! FY Iesu, 'Mhrïod anwyl,
Cofia eiddil gwael di-lun,
Sydd yn gŵyro bob munydyn,
Sydd yn blino arno'i hun;
Tro fy ngolwg at Dy haeddiant,
A'th drugaredd ryfedd râd;

Rho dangnefedd yn fy mynwes,
  Rho faddeuant yn Dy waed.

2 Anfon un pelydryn tirion
  O Dy orsedd ddisglaer fry,
Nes b'o'r dydd yn siriol wênu
  Ar ol noswaith dywell, ddu ;
A fy enaid yn cael myned,
  Fel aderyn bach o'r llawr,
Ar adenydd cariad cynnes,
  I Dy fynwes, Iesu mawr. D. CS.

## 747 (626) *Dymuniad am sancteiddrwydd.*

8. 7. D.—Dolwar.

1 LLWYBR cwbl groes i natur
  Yw fy llafur yn y byd ;
Ei deithio wnaf er hyny'n dawel
  Ond imi gael Dy wyneb-pryd ;
C'odi'r groes, a'i chyfri'n goron,
  Mewn gorthrymderau llawen fyw ;
Ffordd unionaf, er mor arw,
  I ddinas gyfanneddol yw.

2 Addurna'm henaid â Dy ddelw,
  Gwna fi'n ddychryn yn Dy law
I uffern, llygredd, a chnawdolrwydd,
  Wrth edrych arnaf yma a thraw ;
O ! am gymdeithasu â'r enw !
  Enaint tywalltedig yw,
Yn halltu'r byd, gan berarogli
  O hawddgar ddoniau Crist, fy Nuw.

3 O ! rhwyga'r tew gymylau duon
  Sy'n cuddio gwedd Dy wyneb gwiw ;
Nid oes bleser a'm diddana
  Ond yn unig Ti, fy Nuw :
Môr di-drai o bob trugaredd
  Yw'th iachawdwriaeth fawr ei dawn,
Lanwodd ac a lifodd allan
  Ar Galfaria un prydnawn.

4 Mae fy nghalon am ymadael
  Â phob eilunod, fach a mawr,

Am fod arni'n argraphedig
  Ddelw gwrthrych uwch y llawr,
Anfeidrol deilwng i'w addoli,
  Ei garu a'i barchu, yn y byd ;
Bywyd myrdd o safn marwolaeth
  A gafwyd yn Ei angeu drud. A. G.

## 748 (639) *"Gorphwysfaoedd llonydd."*

8. 7. D.—Carmel. Port Penrhyn.

1 ARGLWYDD ! gâd im' dawel orphwys
  Dàn gysgodau 'r palmwydd clŷd,
Lle 'r eistedda 'r pererinion
  Ar eu ffordd i'r nefol fyd ;
Lle 'r adroddant Dy ffyddlondeb
  Iddynt yn yr anial crâs,
Nes anghofio 'u cyfyngderau
  Wrth foliannu nerth Dy râs.

2 O ! mor hoff yw cwmni'r brodyr
  Sydd â'u hwyneb tua'r wlad,
Heb un tafod yn gwenieithio—
  Heb un fron yn meithrin brâd ;
Gwlith y nefoedd ar eu profiad,
  Adsain hyder yn eu hiaith ;
Teimlant hiraeth am eu cartref—
  Carant sôn am ben eu taith.

3 Arglwydd ! dàl ni nes myn'd adref,
  Nid yw'r llwybr eto 'n faith ;
Gwêned heulwen ar ein henaid,
  Wrth nesau at ben y daith ;
Doed y nefol awel dyner
  I'n cyfarfod yn y glŷn,
Nes in' deimlo 'n traed yn sengi
  Ar uchelder Seion fryn. W. A.

## 749 (797) *Ymbil am oleuni.*

8. 7. 4.—Ardudwy. Watford.

1 N'ÂD i'r gwyntoedd cryf, dychrynllyd,
  Gwyntoedd oer y gogledd draw,
Ddwyn i'm hysbryd gwàn trafferthus,
  Ofnau am ryw ddrygau ddaw ;

Tro'r awelon
Oera'u rhyw yn nefol hîn.

2 Gwna i mi wel'd y byd a'i stormydd
Yn diflanu cyn b'o hir ;
Doed i'r golwg dros y bryniau
Ran o'r nefol hyfryd dir ;
Im' gael llonydd
Gan holl derfysgiadau'r llawr.

3 Grym fy nwydau sy'n fy mhoeni,
Grym f'euogrwydd a fy mai ;
Methu eilwaith peidio pechu,
Eilwaith methu edifarhau :
I'm gwaredu,
O ! na welwn foreu wawr.

4 Disgwyl 'r wyf trwy hyd yr hirnos,
Disgwyl am y boreu ddydd ;
Disgwyl clywed pyrth yn agor,
A chadwynau'n myn'd yn rhydd ;
Disgwyl goleu
Pur yn nh'w'llwch tewa'r nôs.

5 Daw, fe ddaw y wawr wèn oleu,
Nes b'o'r cwmwl du yn ffoi,
Tarth a niwl yn cyd-ddiflanu
Ag oedd wedi cyd-grynhôi :
Dyma'r oriau
'R wy'n eu gweled draw trwy ffydd. W.

## 750 (778) *Gweddi am gynhaliaeth a nerth.*

8. 7. 4.—Hapus Dyrfa. St. Hildebert.

1 N'ÂD fi, Iesu, fyn'd yn w'radwydd
I ynfydion gwâg y byd ;
N'âd fy nwydau fod yn chwerthin
I D'elynion Di ynghyd :
Gair o'th enau
Ddeil fy ysbryd llesg i'r lan.

2 Dychwel im' gysuron gloyw
Fel y dyddiau goreu erioed ;
Gâd im' gerdded, fel yn fachgen,
Eto unwaith wrth Dy droed ;

A chael aros
Dàn Dy gysgod nôs a dydd. W.

## 751 (804) *Llef y lluddedig.*

8. 7. 4.—Llanilar. Catharine.

1 WRTH fy nghuro gan y gwyntoedd,
Wrth fy maeddu gan y dòn,
Wrth fy nryllio yn erbyn creigiau,
Blinais ar y ddaear hon :
O ! am ddyddiau
Pan ddarfyddo pechu'n lân !

2 Yn y boreu'r wyf yn meddwl
Cadwa'i 'r llwybr hyd brydnawn ;
Eto, gŵyro'n ddiarwybod
'R wyf oddi arno'n fuan iawn ;
Camsyniadau
Fwyaf sydd yn llanw f'oes.

3 Mae fy nghwymp yn peri 'ngh'odiad,
Mae gorthrymder uffern fawr
Oll yn peri im' 'mofyn pleser
Uwch a deimlwyd ar y llawr :
O ! hyfrydwch
Paradwysaidd nefol dir !

4 O ! ddedwyddwch anghydmarol
Disgwyl 'r ydwyf foreu a nawn,
Am gael profi'm calon ffiaidd
O rasusau'r nef yn llawn :
Tyred, Arglwydd,
Mae Dy gwmni'n well na'r gwîn. W.

## 752 (751) *Byw i Dduw.*

8. 7. 4.—Caersalem. St. Garmon.

1 N'ÂD fod genyf ond D'ogoniant
Pur, sancteiddiol, yma a thraw,
'N union nôd o flaen fy amrant,
Pa beth bynag wnelo'm llaw :
Treulio 'mywyd,
F'unig fywyd, i Dy glôd.

2 A phleserau o bob rhywiau
Wedi darfod oll i gyd ;

Cnawd a natur wedi marw,
A holl fwyniant gwâg y byd:
Iesu Ei Hunan!
Bydded f'enaid iddo'n fyw.

3 O! distewch gynddeiriog dònau,
Tra f'wy'n gwrando llais y nef;
Sŵn mwy hoff, a sŵn mwy nefol,
Glywir yn Ei eiriau Ef:
F'enaid gwrando
Lais tangnefedd pur a hedd. W.

## 753 (779) *Erfyniad am nodded Duw.*

8. 7. 4.—Hyder.

1 GWLAD ddïeithr oddi cartref,
Ardal bell o dŷ fy Nuw,
Yn mhlith lluoedd o elynion
Chwerw, atgas, 'r wyf yn byw;
Pawb yn ceisio
Cael fy mhen o dàn eu traed.

2 Minnau weithiau'n digaloni,
Minnau weithiau'n ymgryfhau,
Weithiau'n ofni croesau trymion,
Weithiau'n ofni grym fy mai:
Bydd Dy Hunan
Imi'n gyfaill, O! fy Nuw!

3 Safed haul uwch ben Gibeon,
Safed lleuad yn y ne',
Safed sêr, a'r holl blanedau,
'N llonydd heddyw yn eu lle,
Cyn y collo
F'enaid gwàn baradwys well. W.

## 754 (780) *Yr un testyn.*

8. 7. 4.—Hyder.

1 MAE gelynion imi'n chwerw,
Cedyrn y'nt, a mawr eu grym;
Ond y rhai wy'n ofni fwyaf,
I Ti, Arglwydd, nid y'nt ddim:
Gair o'th enau
Gwympa fyrdd mewn munyd awr.

2 P'am caiff hwnw unwaith brynaist
Ar Galfaria 'ngŵydd y ne',
Lechu mewn rhyw bydew tywyll,
Dwfn obry, i maes o'i le?
Pen y bryniau,
Mae fy llygaid yn fwynhau.

3 Draed lluddedig, dowch i fyny,
Ymestynwch, ddwylaw, 'mlaen;
Draw mae'r wobr, draw mae'r goron,
Draw mae 'Mhrïod hawddgar, glân:
Ffàrwel bellach,
Chofiaf ddim ond pen fy nhaith. W.

## 755 (721) *Deisyf ei myned yn ddydd.*

8. 7. 4.—Havilah. Triumph.

1 GWEL'D Dy gariad anorchfygol,
Gwel'd Dy chwerw angeu loes,
Gwel'd Dy ofal maith diflino
Ata'i 'n gysson yn fy oes,
Sydd yn dofi
Grym fy nwydau cryfa'u rhyw.

2 O! na welwn ddydd yn gwawrio—
Boreu hyfryd tawel iawn,
Haul yn c'odi heb un cwmwl,
Felly'n machlud y prydnawn;
Un dïwrnod,
Goleu, eglur, boed fy oes;

3 Heb euogrwydd dudew, tywyll,
Na dim nwydau ffiaidd, croes,
Nac un pleser sy'n cyfnewid
Goleu ddydd yn dywell nôs:
Ti a minnau—
Dyna geisiaf tra b'wyf byw.

4 Digon, digon fyddai hyny,
Dim ond gwel'd Dy wyneb-pryd,
A chael f'ysbryd llesg i ddringo
Fry yn mhell uwch sŵn y byd,
I ardaloedd
Nad oes teimlo 'beth yw poen. W.

## 756 (745) *Gobaith dïangfa.*

8. 7. 4.—Tamworth. Caio.

1 SEFWCH bellach, fy ngelynion,
Sy'n fy nghuro bron erioed ;
Dal'soch f'enaid yn amddifad,
Cawsoch f'ysbryd dàn eich troed :
'Chydig oriau,
Dôf o'ch rhwydau oll yn lân.

2 Mae fy Mhrïod, mae f'Anwylyd,
'N awr yn dangos imi wlad
Nas gall dyfais temtasiynau
Fyth i syflyd dim o'm traed :
Mi âf yno ;
Dyna'r màn câf ddedwydd fyw.

3 Uwch y bryniau, uwch y gwyntoedd,
Uwch y stormydd mawrion, cry',
Uwch cymylau tew o d'w'llwch,
Mae'r tawelwch hyfryd fry ;
Mae fy nghysur,
Oll yn trigo uwch y byd.

4 Mi dde's yma i'r anialwch,
Byd o newyn, byd o wae,
Heb un achos, heb un neges,
Ond yn unig Dy fwynhau :
Hyn ei hunan
Fydd fy ymgais tra b'wyf byw. W.

## 757 (789) *Gweddi am nerth grâs.*

8. 7. 4.—St. Peter.

1 MAITH yw'r nôs, a mawr yw'r t'w'llwch ;
P'odd y galla'i threulio i maes
Heb gael, Arglwydd, Dy gymdeithas,
Nerth Dy anorchfygol râs ?
Gormod gofid,
Gallu hebot' yma fyw.

2 Mae fy mhechod yn fy erbyn,
Fel y moroedd mawr eu grym,
Diluw cryf heb fesur arno,
Nid oes a'i gorchfyga ddim ;

Tad tosturi,
Rho gyfiawnder imi a nerth.

3 Os dangosi 'n eglur imi,
Dyna'r pryd i lawenhau,
Fôd Dy lyfr wedi ei groesi,
Ac nad oes yn aros fai;
Cymmer feddiant
Yna o honof oll yn lân.

4 Os agori im' Dy fynwes,
I gael gwel'd y cariad llawn,
Lifodd allan fel y moroedd
Ar Galfaria un prydnawn,
Ti gei'r cwbl
Roddaist imi yn fy rhan. W.

## 758 (787) *Llef mewn digalondid.*

8. 7. 4.—Hyder.

1 LLAWN euogrwydd, llawn o ddychryn,
Llawn o boen, yw f'enaid gwàn;
Anghrediniaeth cryf sy'n haeru
Byth na ddôf oddi yma i'r làn:
Balm yn Gilead,
'N unig all wellhau fy nghlwyf.

2 Mi feddyliais yn y boreu
Buaswn, amser maith cyn hyn,
Wedi maeddu fy mhechodau,
Ac yn canu ar Seion fryn:
Sŵn y rhyfel
Ydyw'r lle 'r wyf eto'n byw.

3 Weithiau, bron yr wyf a chredu
Na che's eto effeithiol râs;
Credu bron mai fy mhechodau
Yn y diwedd bïau'r maes:
Dŵg fi, Arglwydd,
Dŵg fi o'r caethiwed hyn. W.

## 759 (790) *Nerth yn yr anialwch.*

8. 7. 4.—St. Peter.

1 ARGLWYDD, arwain trwy'r anialwch
Fi, bererin gwael ei wedd,

Nad oes ynof nerth na bywyd,
Fel yn gorwedd yn y bedd:
Hollalluog
Ydyw'r un a'm cwyd i'r làn.

2 Colofn dân rho'r nôs i'm harwain,
A rho'r golofn niwl y dydd ;
Dàl fi pan b'wy'n teithio'r mànau
Geirwon yn fy ffordd y sydd;
Rho i mi fanna,
Fel na b'wyf yn llwfrhau.

3 Agor y ffynhonau melus
Sydd yn tarddu o'r Graig i maes ;
'R hyd yr anial mawr canlyned
Afon iachawdwriaeth grâs :
Rho i mi hyny ;
Dim i mi ond Dy fwynhau.

4 Pan b'wy'n myned trwy'r Iorddonen—
Angeu creulon yn ei rym,
Ti e'st trwyddi gynt Dy Hunan,
P'am yr ofnaf bellach ddim ?
Buddugoliaeth !
Gwna i mi waeddi yn y llif.

5 Ymddiriedaf yn Dy allu,
Mawr yw'r gwaith a wne'st erioed ;
Ti ge'st angeu, Ti ge'st uffern,
Ti ge'st Satan dàn Dy droed:
Pen Calfaria,
Nac aed hwnw byth o'm côf. W.

## 760 (765) *Anian nef a dŷr trwy rwystrau.*

8. 7. 4.—Llandinam. Islwyn.

1 DYNA p'am 'r wyf yn hiraethu
Beunydd tua'r nefoedd fry ;
Oddi yno yr anadlwyd
Bywyd pur i'm henaid i:
P'odd gorphwysaf?
Rhaid i'm hysbryd fyn'd i'r làn.

2 Anian nef a dŷr trwy rwystrau,
Anian nef a dŷr trwy'r tân ;

Ceidw'i gyrfa trwy'r creadur
At ei gwreiddyn pur yn mlaen;
Heibio i degwch,
At y tegwch gwir ei hun.

3 Nid yw harddwch maith y ddaear,
Harddwch o amrywiol ryw,
Tegwch disglaer y ffurfafen,
Ddim yn ochr Iesu, 'm Duw;
Mae'r greadigaeth
Yn diflanu wrth Dy wedd.

4 Dirmygedig yw gogoniant
Oll a welais eto'n un,
Pan edrychwyf ar ogoniant
Fy Nghreawdwr mawr yn ddyn;
Diddim, diddim,
Oll a enwir ond Efe. W.

761 (825) *Goruchafiaeth trwy ddilyn y Blaenor.*

8. 7. 3.—Stepney. James Street.

1 Y MAE hiraeth yn fy nghalon
Am gael teimlo hyfryd flâs
Concwest nwydau sydd hyd heddyw
Yn gwrth'nebu'r nefol râs;
Dyma ddawn hyfryd iawn,
Wy'n ei 'mofyn foreu a nawn.

2 'R wyf yn gweled bryniau uchel
Gwaredigaeth werthfawr, lawn;
O! na chawn i eu meddiannu
Cyn machludo haul brydnawn:
Dyna'm llef tua'r nef;
Addfwyn Iesu, gwrando ef.

3 Marchog yn Dy freiniol allu,
Gwisg Dy gleddyf ar Dy glun,
Estyn fraich, a thòr elynion,
Achub wael druenus ddyn:
Gelyn llym, ni saif ddim
Fyth o flaen D'anfeidrol rym.

4 Minnau gerddaf drwy'r byddinoedd
Ond it' gerdded o fy mlaen;

Mae Dy gamrau'n tòri'r tònau,
  Mae Dy gamrau'n diffodd tân :
'N ol Dy droed gwna i mi dd'od ;
Fy hyfrydwch mwya' erioed.

5 Cerdd yn mlaen, mae'm hofnau'n darfod,
  Ond Dy weled Di ger llaw ;
Ond dychwelant mewn munydyn
  Os Tydi a sefi draw :
Gwna bob pryd i f'enaid drud
Bwyso ar Dy fynwes glŷd. W.

## 762 (835) *Paham y mae Duw yn pellhau?*

8. 7. 3.—Rheidol. Gwahoddiad.

1 'BETH yw'r achos fod fy Arglwydd
  Hawddgar, grasol, yn pellhau ?
Yn guddiedig, neu yn gyhoedd,
  Mae rhyw bechod yn parhau :
Tyr'd yn awr, tòr i lawr
Fy anwiredd, fach a mawr.

2 Chwilia, f'enaid, gỳrau'th galon,
  Chwilia'i llwybrau maith o'r bron,
Chwilia bob ystafell ddirgel
  Sydd o fewn i gonglau hon ;
Mỳn i maes bob peth câs
Sydd yn attal nefol râs.

3 'N awr 'r wy'n gwel'd, y mae'n ehedeg,
  Mewn i'm calon, ac i maes,
Fil o bethau sy'n wrthwyneb
  I egwyddor dwyfol râs :
Uffern lîd y'nt i gyd
Sydd yn erbyn f' enaid drud.

4 Dyma ryfyg yn ei allu,
  Dacw anghrediniaeth mawr,
Bob yn ail yn curo f' enaid,
  Yn cyttuno i'm cael i lawr :
Dàl fi i'r làn, 'd wyf ond gwàn,
Mi gâf goncwest yn y màn.

5 Dàl fi'n gadarn hyd nes delo
  Amser hyfryd o ryddhau,

A chael, yn lle temtasiynau,
Yn dragywydd Dy fwynhau :
Dyna'r pryd—gwŷn fy myd,
Derfydd fy ngofidiau i gyd. W.

## 763 (833) *Anhawsderau y daith.*

8. 7. 3.—Priscilla. Dolfor.

1 DA i mi fod yr addewid
Wedi ei rhoddi gan fy Nuw,
A bod gair o enau'r nefoedd
Uwch gelynion o bob rhyw ;
Ei addewid Ef, gadarn, gref,
Arwain eiddil gwàn i'r nef.

2 Yr wyf bron a digaloni
Pan b'wy'n gwel'd rhyw lwybr cul,
Rhwng rhyw greigydd serth dychrynllyd,
Lle tramgwyddodd llawer mil ;
F' enaid gwàn, yn y màn,
Ddringa eto 'fyny i'r làn.

3 Bydda'i 'n sŷnu ar rai oriau,
Pan dybygwyf nad oes dyn
Sydd yn teithio llwybrau newydd
Beunydd ond myfi fy hun ;
Eto llu welaf fry
Fu'n gyfeillion gynt i mi.

4 Dyna'r pryd mae'n fwyaf cyfyng,
Pan b'o gelyn ar bob llaw,
Un o'm hôl am fy mradychu,
Un o'm blaen i'm hofni draw ;
Eto i'r làn, f'enaid gwàn
Ä tra Iesu imi'n rhan. W.

## 764 (834) RHAN II.

8. 7. 3.—Priscilla. Dolfor.

1 RHWNG Pihahiroth a Baalsephon,
Tra b'wyf byw mi gofia'r lle,
Mewn cyfyngder eithaf caled,
Gwaeddodd f'enaid tua'r ne' ;
Yn ddïoed, dyma'n d'od
Waredigaeth fwya' erioed.

2 Aros ronyn, barwyd imi,
Ti gai weled cyn y nawn
Fyrdd yn soddi yn y dyfnfor
O elynion creulon iawn;
'Maes o law, gwynfyd ddaw,
Ti gai ganu'r ochr draw.

3 Y mae dyfroedd Marah 'n chwerw,
Fyth i'w hyfed ddydd a nôs;
Iesu, gwyddost Ti beth ydyw
Dwyn y bwysig, boenus, groes:
Rho i mi wir gariad pur,
Ffrwythau peraidd Canaan dir.

4 O! gwna imi brofi sypiau—
Sypiau peraidd rawn y wlad,
Blâs maddeuant pur a heddwch,
Gwleddoedd hyfryd tŷ fy Nhad:
Dyma hwy, 'r perlau mwy,
Gloddiwyd yn Ei farwol glwy.' W.

## 765 (839) *Nerth yn Nuw a'i air.*

8. 7. 3.—Gwahoddiad. Rheidol.

1 ARGLWYDD, edrych ar bererin
Sydd yn myn'd tua'r wlad sydd well,
Ac yn ofni sŵn llifogydd
Wrth eu clywed draw o bell;
'D wyf ond gwàn, dàl fi i'r làn,
Mi orchfygaf yn y màn.

2 Ti gai'r enw, a'r anrhydedd,
A'r gogoniant, yn y màn,
Am, o ddyfnder maith trueni,
I Ti wared f'enaid gwàn:
Nid oedd un ond Dy Hun
All'sai wared aflan ddyn.

3 Mi âf trwy fyddinoedd cryfion
Yr estroniaid gwaetha'u rhyw,
Ond cael gweled fod o'm hochr
Addewidion gwir fy Nuw;
Concro wnair, ar Ei air
Y gelynion gwaethaf gair. W.

## 766 (840) *Nerth a chyfarwyddyd.*

8. 3. 6.—Cwmdu. Lüneburg.

1 IESU! 'Mrenin mawr, a 'Mhrïod!
Bydd wrth raid
Imi 'n blaid
I orchfygu pechod.

2 Tra fwy'n trigo 'n yr anialwch,
Gwel'd yn wir
D' wyneb pur
Yw fy ngwir ddiddanwch.

3 Tua Salem euraidd arwain
F'enaid llaith
Ar ei daith,
Nes b'o 'm gwaith yn gorphen.

4 N'âd i'r gyfrwys ddraig fy nhwyllo,
Ar un llaw,
Yma a thraw,
Oddiwrthyt i ymado.

5 Iesu! eisoes e'st â'm calon;
F'enaid cu
N' llechu sy
'N ddifrad rhwng Dy ddwyfron.

6 Pâr im' aros mwy 'n Dy freichiau:
Boed fy nyth
Dedwydd byth
Yn Dy ddilyth glwyfau.

7 Pan b'wy'n sengu llwybrau angeu,
Rhag pob braw,
Rho Dy law,
Dangos im' Dy glwyfau.

8 Iesu! helpa f'enaid ddringo
'N awr i'r làn
Tua 'r màn
Y câf byth breswylio.

W.

## 767 (841) *Crist yn Fugail a Brenin.*

8. 3. 6.—Thanet. Lüneburg.

1 GWEL Dy anwyl ŵyn yn 'madael,
Bydd wrth raid,

Ini 'n blaid—
Iesu ! paid a'n gadael.
2 Arwain ni trwy'r anial drigfan,
N'âd ni 'n ôl ;
Yn Dy gôl,
Dŵg ni i'r nefol Ganaan.

3 Rhag gelynion, gwna ni'n arfog,
Oll yn un,
Yn gyttûn,
Sanctaidd lu banerog !
4 N'âd in' 'nabod dim, na'i garu,
Tra f'om byw,
Ond y gwiw
Groeshoeliedig Iesu !

5 Os gelynion ddaw i'n denu,
Gwna i ni 'n ddwys,
Fwrw'n pwys
I orphwys ar yr Iesu.
6 N'âd i'r blaidd byth mo 'n gwasgaru,
Bydd Di byth
Yn ddi-lŷth
Ben a Bugail ini !

7 Dŵg ni i'r Baradwys euraidd,
'Fyw heb boen,
Gyda'r Oen,
Fry yn Seion sanctaidd.
8 Lle na's tòrir byth mo'r undeb,
Cartre' da,
Byth heb blâ,
Dedwydd dragwyddoldeb. W.

## 768 (842) *Gweddi am lwyr waredigaeth.*

8. 3. 6.—Thanet. Lüneburg.

1 DEFFRO, f'enaid ! deffro 'n ufudd !
C'od yn awr
Gyda'r wawr,
Seinia ganiad newydd.
2 Dàn Dy aden dawel dyner,
C'es heb wŷn,

Hyfryd hûn,
Buddiol fu 'm hesmwythder.

3 Hyfryd foreu o gaethiwed
Wawria draw,
'Maes o law
Iesu ddaw i' ngwared.
4 Uwch creaduriaid, Iesu! cadw
F'enaid llon
Ar Dy fron
Dirion, nes fy marw.

5 Hiraeth sy ar fy nghalon dyner
'Wel'd y dydd
'Fyn'd yn rhydd,
'Maes o'm poen a'm blinder.
6 Gwynfyd a f'ai heddyw'n canu,
'Mhlith y llu
Sanctaidd fry
Sydd wedi gorchfygu. W.

---

## CYSTUDDIAU.

**769** (119) *Cystudd yn ffrwyth pechod.*

M. H.—Golgotha. Exeter.

1 FY enaid, tua'r nefoedd hêd,
A thaena'th galon yno ar lêd,
A doed cystuddiau i mewn yn lli,
Fe'u taflaf i Dy fynwes Di.

2 'D oes unrhyw ofid, unrhyw boen,
Na wasgodd ar yr addfwyn Oen;
Ac yn Ei ofid Ef, a'i gri,
Mae holl esmwythder f'enaid i.

3 Mi ŵn mai 'meiau duon drud,
Yw'r achos o'm cystuddiau i gyd;
Dilëa 'mai, fe gwymp y ffon,
O'th sanctaidd law y funyd hon.

4 'D oes yn Dy galon ond lleshâd,
Maddeuant, hedd, a gwir iachâd;

Dy ffordd O! cymmer—ynot 'r wyf
Yn credu 'n awr ;—iachâ fy nghlwyf. W.

## 770 (130) *Chwant i ymddattod.*

8. 8. 8.—Altorf. Mawl.

1 MAE brodyr imi aeth yn mlaen
Trwy ddyfnach dŵr a phoethach tân ;
Ac eto gorchfygasant hwy :
'D yw'r dyfroedd 'r aethum trwyddynt ddim,
Mewn llêd a dyfnder, nerth a grym ;
Paham yr ofnaf finnau mwy?

2 Fy enaid, crêd byth yn dy Dduw,
Na fydd anfoddlon tra yn fyw ;
Yr ydwyt beunydd yn nesau
I wlad mae cariad fel y môr
Yn uno'r saint â'r nefol gôr—
Tragwyddol gydsain bur ddi-drai.

3 'D wy'n 'nabod dim o'r nefol le,
Ond gwŷn fyd na f'a'wn ynddo 'fe ;
'R wy'n caru pawb o fewn y wlad :
Y dymmer nefol fwyn sydd fry
Yn awr ddymunwn genyf fi :
Fy nghartref ydyw tŷ fy Nhad. W.

## 771 (183) *Bŷr ysgafn gystudd.*

M. S.—Langdale. Llangranog.

1 OS yw'n gofidiau yn y byd
I bara hyd y diwedd :
O fewn y nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.

2 Pa fwyaf gawn o wrês y dydd,
Mwy yno fydd ein moliant ;
Cawn, yn lle'n cystudd bŷr a'n crwys,
Dragwyddol bwys gogoniant.

3 Nis oedwn mwy nes dringo'n llawn
I'r màn y cawn breswylio—
I'r làn i ben y tawel fryn
Mae miloedd yn disgleirio.

4 Fy enaid blîn pan ddaw i'w plith
Yn dawel byth gaiff orphwys :

'N ôl teithio 'ngwrês yr haul a'r dydd,
Mor felus fydd Paradwys.

5 Pryd hyn pereiddia Duw o'r bron
Holl chwerwon ddyfroedd Marah;
Pryd hyn y trŷ pob chwerw nant
Yn wîn i blant Jehofah. W.

## 772 (337) "*Ti ydwyt loches i mi.*"

M. C.—Martyrs. St. Mary.

1 O! ANGHREDINIAETH fawr ei grym,
Ti roddaist imi glwy';
Ond d'wêd a fynost, credu wnaf
Fod doniau'r nef yn fwy.

2 Fe'm golchir yn fy nghystudd trwm,
Fe'm purir yn y tân;
Ac mi ddôf allan, pan ddêl dydd,
Wedi fy nghànu'n lân.

3 Anffyddlon imi trôdd y byd,
Anffyddlon, dynol-ryw;
Ond 'r wyf yn rhedeg trwyddynt oll
I fynwes bur fy Nuw. W.

## 773 (410) "*Edrych ar y pethau ni welir.*"

7. 6. D.—Venite ad Me. Grafenberg.

1 MAE cwmwl mawr o dystion
Yn iach yr ochr draw,
I'n Harglwydd a fu'n ffyddlon
Yn mŷd y poen a'r braw;
Yn ôl eu traed dilynwn,
Trwy dir y blinder maith;
Ar air ein Harglwydd pwyswn
Nes d'od i ben y daith.

2 Er myn'd trwy fflam a dyfroedd,
Medd gair ein Iesu glân,
"Ni'th foddir yn y moroedd,
Ni'th losgir gan y tân":
Fe rŷdd lawn waredigaeth
I'w eiddo cyn b'o hir;
Cânt seinio "Iachawdwriaeth"
O fewn i'r nefol dir. T. J.

## 774 (421) *Pereiddio dyfroedd Marah.*

7. 6. D.—Ewing. Angels' Story.

1 ER d'od o hyd i Marah,
A'i ddyfroedd chwerw'u blâs,
Mae'm Iesu i'w pereiddio,
Melysa hwynt â'i râs ;
Lle bynag byddo 'Mhrynwr,
Pob storm yn dawel fydd,
Pob gŵyr a wneir yn uniawn,
Pob t'w'llwch droir yn ddydd.

2 Os cyfyd gwynt tymhestlog,
Os rhua tònau'r môr,
Mae'r Hwn mae 'ngobaith ynddo
A'i enw'n gadarn Iôr ;
Yn nghanol pob rhyferthwy,
Gall Iesu, unrhyw awr,
Â gair ostegu'r cyfan,
A gwneyd tawelwch mawr.

3 'Beth bynag wnelo'n gerbyd,
Pan at Ei blant mae'n d'od,
Ai'r gwynt, ai'r tân, ai'r cwmwl,
Er llês caiff iddynt fod ;
Ac er eu holl amheuon,
A'u hofnau o bob rhyw,
Efe Ei Hun sydd ynddo,
A digon, digon yw.

4 'R wy'n cofio'i felus eiriau—
Caiff pob peth îs y nef
Gydweithio er daioni
I'r rhai a'i carant Ef ;
Trysorau o ddoethineb
I drefnu ynddo sydd,
Trysorau grâs a chariad,
I wneyd pob rhwymau'n rhydd.

5 Yn holl drallodau bywyd,
Er dued fyddo'r nen,
Dïogel ydyw'r angor
Sydd fry tu fewn i'r llèn ;

Mewn einioes, ac yn angeu,
Fe ddeil, can's sicr yw;
Ni chollir byth mo'r afael
Nes myned yno i fyw. R. O.

## 775 (395) *Dirmyg Crist.*

7. 6. D.—Manheim. Mount Street.

1 DA yw y groes, y gw'radwydd,
Y gwawd, a'r erlid trist,
Y dirmyg a'r cystuddiau,
Sydd gyda Iesu Grist;
Can's yn Ei groes mae coron,
Ac yn Ei wawd mae bri,
A phleser yn Ei gariad
Sydd fwy na'n daear ni. W.—G. D. C.

## 776 (471) *Dilyn y praidd.*

M. B. D.—Coronamento. Gobaith.

1 PERERIN wy'n y byd,
Ac alltud ar fy hynt,
Yn ceisio dilyn ôl y praidd—
Y tadau sanctaidd gynt;
I 'mofyn gwlad sydd well,
Er bod yn mhell yn ôl,
Trwy gymmorth grâs, yn mlaen mi âf,
Dilynaf finnau'u hôl.

2 Os rhaid ymdrechu dro,
Milwrio, a dwyn y groes,
A myn'd dàn ŵg a gwawd y byd,
Dros ennyd fèr fy oes;
Câf goron gyda'r saint,
Tragwyddol fraint sy'n ôl;
Trwy gymmorth grâs, yn mlaen mi âf,
Dilynaf finnau'u hôl. D. J.

## 777 (524) *Morio tuag adref.*

6. 8.—Waterstock. Wesley.

1 YMDEITHYDD wy'n y byd,
Fel rhai o'm tadau gynt,
Sy'n morio lawer pryd
Yn erbyn llanw a gwynt:

Mae 'ngolwg wiw tua'r hyfryd wlad
Lle mae fy Nhad a'm ffryndiau'n byw.

2 Mae'r tònau lawer gwaith
A'r stormydd mawr eu stŵr,
Yn curo f'enaid llaith
Nes byddo dàn y dŵr:
Ond Iesu ddaw, ac yn y màn
Fe'm c'od i'r làn â'i gadarn law.

3 Pan byddo awyr glir,
'R wy'n gwel'd trwy ddrych di-frêg
Rai mànau o Salem dir,
A'm hetifeddiaeth deg:
A'r olwg hon, trwy gwrs fy nhaith,
Ddôd f'enaid llaith i fyn'd yn llon.

4 Er bod y ffordd yn faith,
A rhwystrau eto 'mlaen,
Câf orphen ar fy nhaith,
A glànio i Salem lân:
Marwolaeth ddaw, câf fyn'd heb ble,
Yn iach i dre' yr ochr draw.

5 Ac yno gwỳn fy myd,
Tu draw i'r byd a'r bedd;
Câf yno fyw o hyd
Mewn hawddfyd ac mewn hedd:
Yn canu'n bêr i'r Iesu mwyn,
Am iddo'm dwyn i Salem dir. D. J.

## 778 (523) *Ffydd yn yr addewid.*

6. 8.—Waterstock. Wesley.

1 MAE 'm siwrnai yn y blaen,
'D oes diwedd ar fy nhaith,
Nes glànio i mewn yn lân
I dragwyddoldeb maith:
Yr ochr draw fy nghartref yw,
O fewn y wlad lle mae fy Nuw.

2 Ar Ei addewid Ef,
Sydd fwy na geiriau dyn,
Er holl gymylau'r nef,
Gorphwysaf fi fy hun:

Fe'm deil i'r làn, a doed a ddêl,
A ddaeth o'i enau sydd dàn sêl.

3 Mi bwysaf ar Ei air,
A deued oll yn groes ;
Fy noddfa unig yw
Dàn eithaf tywell nôs :
Fe wawria'r dydd ; pob tro îs nen
Ddaw âg addewid nef i ben. W.

## 779 (522) *Boreu braf ger llaw.*

6. 8.—Waterstock. Wesley.

1 MI wela'r cwmwl du
Yn awr yn mron a ffoi,
A gwynt y gogledd sy
Ychydig bach yn troi :
'N ol tymmestl fawr, daw yn y màn
Ryw hyfryd hîn ar f'enaid gwàn.

2 Ni phery ddim yn hir
Yn ddu dymhestlog nôs ;
Ni threfnwyd oesoedd maith
I neb i gario'r groes :
Mae'r hyfryd wawr sy'n c'odi draw
Yn d'weyd fod boreu braf ger llaw.

3 Mi welaf oleu'r haul
Ar fryniau tŷ fy Nhad,
Yn dangos imi sail
Fy iachawdwriaeth râd :—
Fod f'enw fry ar lyfrau'r nef,
Ac nad oes a'i dilëa ef.

4 Melus fel diliau mêl,
A maethlon er iachâd,
Yw holl geryddon nef,
A gwialenodiau 'Nhad :
Pob croes, pob gwae, pob awel gref,
Sydd yn addfedu'r saint i'r nef. W.

## 780 (697) *Ystormydd yn puro yr awyr.*

8. 7. D.—Bohemia.

1 FEL y rhêd llifogydd mawrion,
Fel anadla'r awel gref,

Bydded felly fy och'neidiau
   I ddyrchafu tua'r nef :
Gŵn nas gelli attal rhagof—
   Gŵn nas gelli ro'i nacâd,
O un fendith îs y nefoedd
   Ag sydd imi er iachâd.

2 Mae ystormydd mewn naturiaeth ;
   Ca'dd goreuon byd y rhai'n—
Cafodd seintiau a merthyron,
   Cafodd Iesu goron ddrain :
Mae cydwybod f'o mewn terfysg,
   Mae ysbrydoedd f'o mewn poen,
Wedi chwilio o gylch, o gwmpas,
   Yn llettya 'nghlwyfau'r Oen.

3 Uffern yn fy enaid euog
   Sydd, er bod y fflam yn gry',
Yn fy ngŷru at borth y bywyd,
   Trwy'r cymylau duaf sy' ;
Tân y pydew a'm dihunodd,
   Tawch y fflam gynddeiriog, gref,
Wnaeth i'm henaid, yn y storom,
   Ymafaelu'n llyn â'r nef. W.

## 781 (638) *Buddioldeb cystuddiau.*

8. 7. D.—Carmel. Port Penrhyn.

1 MAE fy Nuw yn fy ngheryddu,
   Ond fy ngharu y mae Ef ;
Ergyd ddoe, ac ergyd heddyw,
   Sydd i'm cofio am y nef :
Nid oes awr o boen a dolur,
   Nid oes munyd fach nad yw
Fel ffynhonau'n tarddu allan
   O dragwyddol hedd fy Nuw.

2 Eto, nid yw fy ergydion
   Ond ergydion ysgafn iawn,
Ac awelon pur o gariad
   Sydd yn gymmysg â hwy'n llawn :
Cariad, heddwch pur, a cherydd,
   A gydblethwyd mewn un wê ;

Rhaff dair cainc yw sy'n fy nhŷnu
'Maes o'r ddaear tua'r ne'. W.

## 782 (607) *Hyder pererin cystuddiol.*

8. 7. D.—Dismission. Dismissal.

1 DYFAIS fawr tragwyddol gariad
Ydyw'r iachawdwriaeth lawn ;
Cyfammod hedd yw'r sylfaen gadarn,
Yr hwn nis derfydd byth mo'i ddawn :
Dyma'r fàn y gorphwys f'enaid,
Dyma'r fàn y byddaf byw,
Mewn tangnefedd pur, heddychol,
Yn mhob rhyw stormydd gyda'm Duw.

2 Syfled iechyd, syfled bywyd,
Cnawd a chalon yn gyttûn,
Byth ni syfla ammod heddwch,
Hên gyttundeb Tri yn Un :
Dianwadal yw'r addewid,
Cadarn byth yw cyngor Duw ;
Cysur cryf sy i'r neb a gredo
Yn haeddiant Iesu i gael byw.

3 Bûm yn wyneb pob gorchymyn,
Bûm yn wyneb angeu glâs ;
Gwelais Iesu ar Galfaria
Yn gwbl wedi cario'r maes :
Mewn cystuddiau 'r wyf yn dawel,
Y fuddugoliaeth sydd o'm tu,
Nid oes elyn wna i mi niwed ;
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd fry.

4 Pethau chwerwon sydd yn felus ;
T'w'llwch sydd yn oleu clir ;
Mae'm cystuddiau imi'n fuddiol,
Ond darfyddant cyn b'o hir :
Cyfammod hedd bereiddia'r cwbl,
Cyfammod hedd a'm cŵyd i'r làn,
I gael gwel'd fy etifeddiaeth,
A'i meddiannu yn y màn.

5 Gwelais 'chydig o'r ardaloedd
Yr ochr draw i angeu a'r bedd ;

Sŷnodd f'enaid yn yr olwg,
  Teimlais annherfynol hedd :
Iesu brynodd imi'r cwbl,
  Gwnaeth â'i waed anfeidrol Iawn ;
Dyma rym fy enaid euog,
  A fy nghysur dwyfol llawn. T. C.

## 783 (669) *Boddloni i gystudd.*

8. 7. D.—Scopas. Balducci.

1 WEDI cefnu pob rhyw 'stormydd,
  A'r tònau mawrion oll ynghyd,
Tybiais fy mod yn y porthladd,
  Tu draw i holl ofidiau'r byd ;
"O ! fy Nhad," medd f'enaid egwan,
  "'Gâf fi ddyfod i Dy gôl,
A chanu'n iach i bob rhyw bechod,
  A'm cystuddiau i gyd ar ôl ?"

2 "Ust ! fy mhlentyn, tâw, distawa,
  Gwybydd di mai Fi sydd Dduw ;
Ymdawela yn F'ewyllys,
  Crêd i'm gofal tra f'och byw :
Os rhaid ymladd â gelynion,
  Fi, dy nerth, fydd o dy blaid ;
Er gwàned wyt, cei rym i sefyll,
  A Mi'n gymmorth wrth bob rhaid."

3 Boddlawn ddigon, doed a ddelo,
  Ond Dy gael i mi yn Dduw :
Rho'ist Dy Fab i brynu'm bywyd
  Trwy ddïoddef marwol friw ;
Mi lecha'n dawel yn Ei gysgod—
  Yn nghysgod haeddiant dwyfol glwy'
Darfyddaf byth âg oll sydd isod,
  Ac ymhyfrydaf ynot' mwy.

4 Edrych 'r wyf ar hyny beunydd,
  A hiraethu am y wawr,
Pan y derfydd im' â phechod,
  Ac y câf ro'i 'meichiau i lawr :—
Y câf ddihuno ar Dy ddelw,
  Pan câf wel'd Dy wyneb gwiw,

Pan 'câf foli byth heb dewi,
  A bod yn debyg i fy Nuw.

5 Fy natur egwan sydd yn soddi,
  Wrth deimlo prawf o'th ddwyfol hedd;
Ac yn boddi gan ryfeddod,
  Wrth edrych 'chydig ar Dy wedd:
O! am gorph, a hwnw'n rymus,
  I oddef pwys gogoniant Duw;
Ac i'w foli byth heb dewi,
  A chydag Ef dragwyddol fyw. T. C.

## 784 (674) *Ymguddfa yn y dydd blîn.*

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 IESU, Cyfaill pechaduriaid,
  Dyro im' i'th fynwes ffoi,
Tra f'o'r dyfroedd chwyrn yn llifo,
  A'r tymhestloedd yn crynhôi;
Cuddia fi, O Geidwad! cuddia
  Nes êl heibio'r stormydd blîn:
Tywys f'enaid tlawd i'r porthladd
  Er mwyn D' enw mawr Dy Hun.

2 Noddfa arall nid oes genyf,
  Pwysa'm henaid arnat Ti;
Paid a'm gadael im' fy hunan,
  Cymmorth a chysura fi:
Cyfiawn ydwyt Ti, a sanctaidd,
  Minnau 'd wyf ond llwyr anmhûr;
Drwg, a llawn o bechod ydwyf,
  Tithau'n llawn o râs a gwir.

3 Grâs digonol a geir ynot;
  Grâs i faddeu fy holl fai:
Boed i'r ffrydiau pur, iachusol,
  Oddi wrth bechod fy nglanhau:
Profi maith rinweddau'th gariad
  Gaffwy'n awr tu yma i'r bedd;
Wedi hyny, O! dŵg fi'n dawel
  I Gaersalem lawn o hedd. C. WESLEY, *c.* W. G.

## 785 (699) *Digon i bwyso arno yn angeu.*

8. 7. D.—Bohemia.

1 F'ENAID gwàn, sefydla d'olwg
Ar yr Iesu'n unig nôd ;
Nid oes arall dâl ei geisio,
Nac i bwyso arno'n bôd :
Câr Ef nes anghofio'th ofid,
Yma ar y ddaear ddu ;
Câr nes i'th serchiadau hedeg
Ato i Gaersalem fry.

2 Câr yr Hwn a fedr wared,
Ac ymddiried iddo Ef ;
Crêd, ac edrych i'r addewid
Am drysorau rhâd y nef :
Cyfoeth càn' mil gwell na'r ddaear
Sy'n Ei eiriau glân i gyd :
Cyfoeth gwell na'r greadigaeth
Im' yw gwedd Ei wyneb-pryd.

3 Cyfoeth yn yr anial garw,
Elw 'nglŷn wylofain yw ;
Dyffryn galar, try'n llawenydd,
Rhŷdd yn angeu fodd i fyw ;
F'enaid, edrych i Galfaria,
Cofia am riddfanau'r ardd,
Nes b'o'n ddim dy holl deganau
Byth yn ngwedd Ei wyneb hardd. R. J.

## 786 (675) *Cysur o Galfaria.*

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 'WELA'i neb o'm holl gyfeillion
A ddaw'n dawel gyda mi,
Ac a ddeil fy mhen i fyny
Yn nyfnderoedd angeu du :
Cloddiwyd Maen mewn arfaeth gadarn,
Draw, ryw oesoedd cyn fy môd,
Hwnw ddeil fy mhen i fyny,
Fel na syflir dim o'm troed.

2 Trôf fy wyneb i Galfaria,
Yno gwelaf gysur llawn ;

Gwelaf yno Un yn marw,
  Ac yn talu perffaith Iawn:
Dim ond golwg ar y Meichiau
  Ddaw â'm henaid llesg i'r làn,
Ac a bair i'm holl elynion
  Golli eu gafael yn y fàn.

3 Ffàrwel, ddaear, a'i thrysorau,
  Myn'd yr wyf tua thir fy ngwlad;
Wyneb Iesu yn yr afon
  Sathra Satan dàn fy nhraed:
Gwel'd yr Arch a'r Drugareddfa—
  Iesu mawr, y canol Wr,
Wna i'm henaid innau waeddi,
  "Buddugoliaeth" yn y dŵr.

4 Gair o enau'r Nef ei hunan
  Sydd yn eisieu arnaf fi;
Gair a g'odo'm henaid eiddil
  'N awr' i'r làn o'r pydew du;
Gair a dòro faglau filoedd,
  Ac a'm rhoddo ar fy nhraed;
Gair a wnelo imi'n groyw
  Ganu am iachawdwriaeth râd.

5 Fel y moroedd mae'th drugaredd,
  Annherfynol yw Dy râs;
Anchwiliadwy yw Dy gariad
  I'r pechadur gwaela' i maes:
O'r dyfnderoedd c'odaist finnau
  Yn Dy freichiau lawer pryd,
Ac a wne'st i'm henaid ganu
  'Ngwyneb gorthrymderau'r byd. AN.

## 787 (768) *Hindda ar ol y ddryc-hin.*

8. 7. 4.—Llandinam. Islwyn.

1 AR ddisgwylfa uchel gribog
  Disgwyl 'r wyf er's hir brydnawn,
Edrych am yr hindda hyfryd
  'N ôl cawodydd geirwon iawn,
    Ac i'm hysbryd,
  Trwy'r cymylau, wel'd y wlad,

2 Gwlad o heddwch, gwlad o sylwedd,
Gwlad o gariad pur di-drai;
Gwlad o wledda'r pererinion
Ar lawenydd i barhau:
Dacw'r ardal
Mae 'nghysuron oll i gyd.

3 Aed y nôs derfysglyd heibio,
Doed y boreu cyn b'o hir,
Pan y caffo'm henaid wledda
Yn y Ganaan hyfryd bur,
Gyda myrddiwn
O'i rai anwyl, ffyddlon, Ef. W.

## 788 (792) *Gwaredigaeth ar law Duw yn unig.*

8. 7. 4.—St. Peter.

1 NI thâl im' gyfadde' meiau
'N unlle ond o flaen y ne':
Duw maddeugar, Tad tosturi,
Duw anfeidrol yw Efe:
At Ei orsedd,
Deuaf dàn fy nwfn blâ.

2 On'd oes ganddo râs i achub,
Ffàrwel achub îs y rhôd:
Nid oes eto ddyn dosturiodd
Fel tosturiodd Ef erioed:
Gwaredigaeth
Sydd yn unig ar Ei law.

3 Gorwedd ar fy ngwely cystudd–
At y pared trôf fy mhen—
Griddfan 'r ydwyf, ac och'neidio,
Wylo tua'r nefoedd wèn:
Yn y diwedd,
F'allai câf fi deimlo hedd. W.

## 789 (793) *Gwênau Duw yn dirymu cystudd.*

8. 7. 4.—St. Peter.

1 CHWILIO am danat, addfwyn Arglwydd,
Mae fy enaid, yma a thraw;
Teimlo 'môd yn berffaith ddedwydd
Pan y byddi Di ger llaw:

Gwedd Dy wyneb
Yw fy mywyd yn y byd.

2 Heddwch perffaith yw Dy gwmni,
Mae llawenydd ar Dy dde';
Ond i Ti fod yn bresennol,
Pob peth sydd yn llanw'r lle:
Ni ddaw tristwch
Fyth i'th gwmni tra f'o nef.

3 Yn y ffwrnes danllyd, greulon,
Os Tydi a ddaw yn mlaen,
'D oes ond heddwch, a mwyneidd-dra,
A thiriondeb yn y tân:
Gwên Dy gariad
Wna bob cystudd yn ddi-rym.

4 Ti wy'n 'mofyn—Arglwydd, tyred,
Yn mhob trallod bydd ger llaw;
Dilyn fi, 'r wy'n ofni yma,
Dilyn fi, 'r wy'n ofni draw:
Dàn Dy aden
Mi edrycha'n wyneb llu. W.

## 790 (739) *Cystudd yn angenrheidiol.*

8. 7. 4.—Verona. Russia.

1 NI feddyliais fod fy siwrnai
Trwy lifeiriant oedd mor gryf,
A bod afon ar ol afon,
Heb un diwedd, heb un rhif:
Yn eu canol
'R wyf yn gwel'd yr ochr draw.

2 Nid oes drwg cael fy nghystuddio
Lle b'o cystudd imi'n well;
Rhaid trwy'r anial imi deithio
Cyn cael meddu'r Ganaan bell:
Wrth y cleddyf
Dôf i feddu tir fy ngwlad.

3 'R wyf yn caru'r pererinion
Ar y tylau serth y sy,
Ar eu traed ac ar eu dwylaw,
'N ceisio dringo i fyny fry:

Ar fy neulin
Minnau ddôf i ben y bryn. W.

**791** (754) *Concwest ar ofn.*

8. 7. 4.—Bridport. Abbeycombe.

1 FFENAID egwan, paid âg ofni
Bod rhyw ddrygau mawr ger llaw ;
Ofni gwyntoedd oer y gogledd,
Ofni gwynt y dwyrain draw ;
Ofni'r cwbl,
Ac heb achos ofni'n bôd.

2 Newydd mawr, a newydd llawen,
Newydd gwir, a newydd rhâd,
Sy'n marchogaeth ar y cwmwl
Goleu draw o dŷ fy Nhad :—
Fe faddeuwyd
Beiau rif y sêr i mi.

3 Os daw gw'radwydd, os daw gofid,
Trwy ragluniaeth bur fy Nuw,
Hyny fyth ni ladd fy enaid,
Cadw 'nghalon wna yn fyw :
Bydd Ei fflangell
Yn y diwedd fel y gwîn.

4 Os ar wely rhaid fy rhoddi,
Rywbryd yn y dyddiau ddaw,
I gystuddiau, nes b'o 'mrodyr
Goreu oll yn cilio draw,
Mi ddôf allan
Fel yr aur y seithfed tro.

5 Fe ga'w'd croesau lle ni phechwyd ;
P'am gwrth'nebaf finnau'r groes ?
Cafodd Crëwr nef Ei Hunan
Ar Galfaria angeu loes :
Yr un llwybrau
Raid im' gerdded ag Efe. W.

**792** (858) *Crist yn Arweinydd i'w bobl.*

7au. 8ll.—Hollingside. St. Mary Magdalene.

1 IESU ! Cyfaill f'enaid cu !
I Dy fynwes gâd im' ffoi,

Tra b'o 'r dyfroedd o bob tu,
A'r tymhestloedd, yn crynhôi :
Cudd fi, O fy Mhrynwr ! cudd,
Nes 'r êl heibio 'r storom gref ;
Yn Arweinydd imi bydd
Nes im' dd'od i deyrnas nef.

2 Noddfa arall, gŵn nid oes,
Ond Tydi, i'm henaid gwàn ;
Ti, fu farw ar y groes,
Yw fy nghymmorth yn mhob màn ;
Ynot', O fy Iesu ! mae
Holl ymddiried f'enaid byw ;
Nerth rho imi i barhau,
Nes d'od adref at fy Nuw.

3 Grâs sydd ynot', fel y môr—
Grâs i faddeu fy holl fai ;
Boed i'w ffrydiau, Arglwydd Iôr !
Oddi wrth bechod fy nglanhau ;
Ffynnon bywyd f'enaid gwiw
Rŷdd im' gysur ar fy nhaith ;
Llòna f' ysbryd tra b'wyf byw ;
Tardd i dragwyddoldeb maith !

C. WESLEY, *c.* GE. (1796), *ar.*

---

## ANGEU A THRAGWYDDOLDEB.

**793** (23) *Ail ddyfodiad Crist.*

10. 11.—Yr Hen 50fed. Adgyfodiad. Glynderwen.

1 GWEL Grist yn dyfod ar y cwmwl draw,
A phob awdurdod yn Ei nerthol law !
Cerubiaid fyrdd, yn eu cerbydau tân,
Yn gyru 'n glau o gylch eu Harglwydd glân !
Y ddaear grŷn, y beddau ymagorant ;
Cân udgorn Duw, a'r meirw a gyfodant ! B. F.

**794** (109) *Gwagedd y byd yn angeu.*

M. H.—Babilon. Menai.

1 'BETH dâl im' ro'i fy serch a'm bryd
Ar ddim a welaf yn y byd ?
Da, daear, dŵr, pa gysur yw
Y dydd y dêl digofaint Duw ?

2 O'r dywell wlad pan byddwy'n myn'd,
Fy Iesu fydd fy ffyddlon Ffrynd:
Pa frawd, pa chwaer, pa gyfaill gwell,
A'm hebrwng i'r ardaloedd pell? W.

3 P'am cara'i 'r byd a'i wagedd mwy?
Hyd angeu'n brin y deuant hwy:
Gwell genyf garu'r Ffrynd a ddaw
Yn angeu i 'maflyd yn fy llaw. J. D.

## 795 (33) *Dydd y farn.*

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 WEL, dacw'r Brenin mawr yn d'od
Mewn rhwysg na welodd neb erioed;
Mae angeu, uffern fawr, a'r bedd,
Yn ofni edrych ar Ei wedd.

2 Fe lysg y byd yn ulw mân,
Fe dry'r greadigaeth fel o'r blaen;
Cwymp y planedau, er eu maint;
Bydd Iesu'n Frenin ar Ei saint.

3 O! tyred, ddedwydd, hapus awr,
Boreuddydd tragwyddoldeb mawr;
Poen yw fy mhleser fel fy loes,
Wrth bechu yn erbyn gwaed y groes.

4 Mi wela'n c'odi'r Seren ddydd;
Mi glywa'r canu yno fydd:
Angylion gyda'r saint yn un
Yn cadw cwmni Mab y dyn. W.

## 796 (111) *Huno yn yr Iesu.*

M. H.—Spires. Brynteg.

1 NI ddaw 'nghyfeillion mwya'u hedd
I'm hebrwng ond hyd làn y bedd;
Try pawb eu cefnau, dyma'r dydd
Gadawant fi yn fy ngwely pridd.

2 Daw imi dranoeth teg er hyn,
Câf g'odi fry i Seion fryn;
Fy llwch ddaw'n llwyr o bridd y llawr,
Ar ddisglaer wedd fy Mhrïod mawr.

3 Câf yno fod yn gwbl rŷdd;
Ar angeu wedi cario'r dydd;

Heb unrhyw nychdod mwy, na phoen,
Yn moli'r croeshoeliedig Oen. J. T.

## 797 (91) *Dydd grâs a gobaith.*

M. H.—Staincliffe. Gibraltar.

1 MEWN bywyd mae gwas'naethu Duw—
Dydd grâs ac iachawdwriaeth yw ;
Tra dalio 'r lamp heb losgi 'maes,
Yr adyn gwaethaf all gael grâs. DR. W., *c.* D. J.

## 798 (106) *Nesau i farw.*

M. H.—Babilon. Menai.

1 O DDYDD i ddydd, o awr i awr,
'R wy'n nesu i'r tragwyddolfyd mawr ;
Ac yno byddaf cyn b'o hir—
O ! am gael etifeddu 'r gwir !

2 O fryn i fryn, o bant i bant,
Hwn ydyw llwybr blîn y plant !
Daw diwedd ar eu lludded llawn—
O ! am gael gorphwys tawel iawn ! JS. H.

## 799 (173) *Y dydd mawr diweddaf.*

8. 7. 8. 8. 7.—Emyn Luther. The Golden Chain.

1 DDUW mawr ! pa beth a welaf draw ?
Diwedd a braw yr hollfyd !
Mi wela'r Barnwr yn nesau
Ar glaer gymylau tanllyd !
Yr udgorn mawr yn seinio sydd,
A'r beddau 'n rhoddi eu meirw 'n rhydd,
I wae, neu ddydd o wynfyd ! *c.* R. D.

2 Dydd grâs yw 'n awr—dydd yw i ni
I ffoi rhag llid i ddyfod ;
Mae eto le, trwy 'r Iesu hael,
I ni â Duw gael cymmod :
Awn ato 'Fe, cawn eto fyw,
Boed iddo glôd—dydd cymmod yw ;
O ! brysiwn i'w gyfarfod !

3 O Farnwr cyfiawn ! gwrandaw 'n cri,
Sydd mewn trueni 'n gorwedd ;
O'th nerthol râs tosturia Di,
A dôd i ni drugaredd !

O fewn y noddfa caffer ni,
Agorwyd gynt ar Galfari,
Cyn delo dydd dïaledd! *Ef.* AN.

## 800 (258) Salm xxxix. 4, 5, 13.

M. S.—Adelaide. Dymuniad.

1 O! DANGOS im', fy Arglwydd Nêr,
Pa amser y diweddaf
Rifedi 'nyddiau; a pha hyd
O fewn y byd y byddaf,

2 Fy nyddiau roddaist fel lled llaw,
I'm heinioes daw bŷr ddiwedd;
Dïau, yn D' olwg Di, O Dduw!
Fod pob dyn byw yn wagedd.

3 O! paid â mi, gâd im' gryfhau
Cyn darfod dyddiau 'mywyd;
A gwna â mi sy 'mron fy medd
Drugaredd a syberwyd. E. P.

## 801 (265) Salm xlix. 10, 15.

M. S.—Dymuniad. Adelaide.

1 'RWY'n gwel'd mai'r bedd yw lletty'r doeth,
Y ffol a'r annoeth unwedd;
Bydd marw'r naill, bydd marw'r llall,
I arall gâd ei annedd.

2 Daw dydd i'r cyfiawn, tranoeth teg,
Daw im' ychwaneg estyn,
Câf o fy medd gyfodi i fyw,
Deheulaw Duw a'm derbyn. E. P.

## 802 (257) Salm xc. 1, 2, 5, 12—14.

M. S.—Arenig. Saxony.

1 DUW! buost in' yn Arglwydd da,
Ac yn breswylfa i drigo;
O bryd i bryd, fel hyn yr aeth
Pob rhyw genhedlaeth heibio.

2 Er cyn rho'i sail un mynydd mawr,
Cyn llunio llawr cwmpas-fyd,
Y Duw tragwyddol wyt cyn neb,
Hyd dragwyddoldeb hefyd.

3 Nid ydyw dyn ond hûn, neu ail
I addail, neu lifeiriant,
Neu megys glâs lysieuyn gwàn,
Mor fuan y newidiant.

4 Dysg felly in' rifo'n dyddiau gwael,
I'n calon gael doethineb;
O Dduw! pa hyd? tyr'd, dôd yn hawdd
I'th weision nawdd ac undeb.

5 Yn foreu iawn diwalla ni
Â'th fawr ddaioni eisoes,
Fel caffo'n calon lawen fyd,
Yn hyfryd dros ein heinioes. E. P.

## 803 (175) *Yr Adgyfodiad a'r Bywyd.*

M. S.—Llangranog. Langdale.

1 MYFI yw'r Adgyfodiad mawr,
Myfi yw gwawr y bywyd;
Caiff pawb a'm crêd, medd f' Arglwydd Dduw,
Er trengu, fyw mewn eilfyd.

2 A'r sawl sy'n byw mewn ufudd grêd
I Mi, caiff drwydded nefol,
Nad allo angeu, brenin braw,
Ddrwg iddaw yn dragwyddol.

3 Yn wir, yn wir, medd Gwir Ei Hun,
Pob cyfryw ddyn sy'n gwrando
Fy ngair, gan gredu'r Tad a'i rho'es,
Mae didranc einioes ganddo.

4 Yr hwn sy'n hoffi ufuddhau,
Trwy ffydd, i'm geiriau hyfryd,
Ni ddaw i farn, ond trwodd aeth
O angeu caeth i fywyd. E. W.

## 804 (272) *Y farn.*

M. S.—Eidduned. Padarn.

1 MAE dydd y farn yn d'od ar frŷs,
Boed hyn yn hysbys ini,
Pan orfydd pawb i ro'i ar g'oedd
O'u holl weithredoedd gyfri'. B. F.

2 Bydd yno bawb yn sobr iawn
Yn derbyn cyfiawn ddedfryd:

Tlawd a chyfoethog wrth y fainc,
Bydd hên ac ieuainc hefyd. *Cas.* M. D.

## 805 (299) *Noddfa yn angeu.*

M. C.—French. St. Stephan.

1 PAN delo angeu yn ei rwysg
I dòri f' oll i lawr,
Fy unig noddfa werthfawr fydd
Yn fy Ngwaredwr mawr.

2 Pan ddarffo enwau oll o'r bron,
A ffrynd, a mam, a thad,
Yr enw hyfryd, unig, fydd
Yr iachawdwriaeth râd.

3 Fe saif cyfammod pur y nef
Pryd hyny yn ei rym,
Pan b'o pob cysur îs y nef
Wedi diflanu'n ddim.

4 Y cyfan wedi rho'i ffarwèl
A welwyd îs y rhôd,
Ac yna Iesu fydd y ffrynd
Anwylaf gaed erioed.

5 O ! gâd im' mewn tangnefedd pur
Ro'i'm hanadl ola' i maes ;
Ac mewn gorfoledd hwylio dros
Y cefnfor garw, glâs ;

6 A myn'd dàn ganu tua'r wlad
Bwrpaswyd im' i fyw ;
Ac wedi gado 'mhell o'm hôl
Gystuddiau o bob rhyw. W.

## 806 (320) *Gorphwys yn y bedd.*

M. C.—Abergele. Engedi.

1 MOR ddedwydd yw y rhai, trwy ffydd
Sy'n myn'd o blith y byw ;
Eu henwau'n perarogli sydd,
A'u hûn, mòr dawel yw !

2 Ar ôl eu holl flinderau dwys,
Gorphwyso maent mewn hedd,
Yn mhell o sŵn y byd a'i bwys,
Heb boen, yn llwch y bedd.

3 Llais un gorthrymydd byth ni ddaw
I'w deffro i wylaw mwy,
Na phrofedigaeth lèm, na chroes—
Un loes ni theimlant hwy. E. E.

## 807 (364) *Dyfod ar y cymylau.*

2. 8.—Llangors. Aberdeen.

1 FE ddaw
Ar y cymylau maes o law,
I rai er dychryn mawr a braw,
Yn mhell uwch law dychymyg dyn;
Ac yna barna'r ddaear faith
Yn ol y gwaith a wnaeth pob un. W.

## 808 (439) *Digon yn angeu.*

7. 6. D.—Llydaw. Jabez.

1 MAE golwg ar byrth angeu
Yn erchyll iawn i mi;
Mae dyfroedd yr Iorddonen
Yn ddyfnion ac yn ddu:
Bydd rhodio'r dyffryn tywyll
Yn drwm i'm henaid trist
A'r ffordd yn dra dïeithr,
Heb gwmni Iesu Grist.

2 Nid oes ond gweled Iesu
Yn gwaedu ar y bryn,
A ffydd i ymaflyd ynddo,
A'm cynnal yn y glŷn:
Fe'm gwared rhag euogrwydd,
Ac ofnau angeu du;
Fe wna y ffordd yn hyfryd
Oddi yma i'r Ganaan fry. W. JS.

## 809 (430) *Rhyfeddodau dydd yr adgyfodiad.*

7. 6. D.—Abertawe.

1 BYDD myrdd o ryfeddodau
Ar doriad boreu wawr,
Pan ddelo plant y tònau
Yn iach o'r cystudd mawr;
Oll yn eu gŷnau gwỳnion,
Ac ar eu newydd wedd.

Yn debyg idd eu Harglwydd
  Yn d'od i'r làn o'r bedd. *Cas.* R. *a.* JOS. W.

## 810 (447) *Dydd o brysur bwyso.*

7. 6. D.—Talybont. Caerllyngoed.

1 DAW dydd o brysur bwyso
  Ar grefydd cyn b'o hir;
Ceir gwel'd gan bwy mae sylwedd,
  A phwy sydd heb y gwir:
O Dduw! rho imi adnabod
  Ar f'ysbryd ôl Dy law,
Can's dyna'r unig ddelw
  Arddelir ddydd a ddaw. J. W.

## 811 (415) *Ail ddyfodiad Crist.*

7. 6. D.—Talyllyn. Pearsall.

1 ER gwaetha'r maen a'r milwyr
  Cyfododd Iesu'n fyw;
Daeth yn Ei law alluog
  Â phardwn dynol-ryw;
Gwnaeth etifeddion uffern
  Yn etifeddion nef;
Fy enaid byth na thawed
  A chanu iddo Ef.

2 Fe'i gwelir ar y cwmwl
  Yn dyfod cyn b'o hir,
A'i ddedwydd waredigion,
  Ffrwyth Ei ddioddefaint pur:
Bydd gogledd, de, a dwyrain,
  Gorllewin faith, yn un,
Oll yn eu gŷnau gwŷnion
  Yn moli Mab y dyn. M. R.

## 812 (444) *Adgyfodiad gwell.*

7. 6. D.—Talybont. Caerllyngoed.

1 'RWY'n ceisio cadw 'ngolwg
  Ar hyfryd waed y groes;
Dàl f'enaid afael ynddo
  Yn nyfnder angeu loes:
Mi lechaf yn y ddaear,
  Caiff llwch at lwch i fyn'd,

O angeu! ti gei wybod
Fod Iesu imi'n Ffrynd.

2 Pan ddelo'r awr i fyny—
A deued yn ei phryd;
Doed angeu pan y delo
Ffarwèl ofidiau'r byd:
I arall fyd y'm ganwyd,
I arall fyd 'r wy'n myn'd,
'D wy'n disgwyl neb ond Iesu
O'r ddaear hon yn Ffrynd. W.—TH.

## 813 (442) *Sylfaen safadwy.*

7. 6. D.—Talybont. Caerllyngoed.

1 AM graig i adeiladu,
Fy enaid, chwilia'n ddwys;
Y sylfaen fawr safadwy
I roddi arni'th bwys:
Bydd melus yn yr afon
Gael Craig a'm deil i'r làn,
Pan fyddo pob rhyw stormydd
Yn curo ar f'enaid gwàn. MAU. D.

## 814 (463) *Marw, a'i ganlyniadau.*

M. B.—St. Bride. Dole.

1 AI marw raid i mi,
A rho'i fy nghorph i lawr?
A raid i'm henaid ofnus ffoi
I dragwyddoldeb mawr?

2 'Beth ddaw o honof fi
'R ol gadael daear lawr?
Tragwyddol wae, neu hedd di-lŷth,
A fydd fy rhan ryw awr.

3 Deffroir fy nghysglyd lwch
Pan seinio udgorn Duw;
Y byd ar dân, a'r nef yn ffoi
Rhag Barnwr meirw a byw.

4 O! am gael treulio f'oes
Er clôd i'm Harglwydd mawr;
A rhodio'n isel gyda Duw,
Tra byddwyf ar y llawr. C. WES., *c. Cas.* J. H.

## 815 (539) *Glàn yr Iorddonen.*

6. 5.—Moab. Glan yr Iorddonen. Capel Tygwydd.

1 AR làn Iorddonen ddofn
'R wy'n oedi'n nychlyd,
Mewn blŷs myn'd trwy, ac ofn
Ei stormydd enbyd :
O ! na b'ai modd i mi
Ysgoi ei hymchwydd hi,
A hedfan uwch ei lli'
I'r Ganaan hyfryd.

2 Wrth gofio grym y dŵr,
A'i thònog genlli',
A'r mynych rymus ŵr
A suddodd ynddi,
Mae braw ar f'enaid gwàn
Mai boddi fydd fy rhan,
Cyn cyrhaedd tawel làn
Bro y goleuni.

3 Ond pan y gwelwyf draw
Ar fynydd Seion,
Yn iach, heb boen na braw,
Fy hên gyfeillion,
Paham yr ofnaf mwy ?
Y Duw a'u daliodd hwy
A'm dyga innau drwy
Ei dyfroedd dyfnion. E. E.

## 816 (563) *Adgyfodiad y corph.*

6. 4.—Liverpool. Siloah.

1 PAN fu fy Arglwydd mawr
Yn llawr y bedd,
Cynhesoedd wely i mi
Rhag oeri'm gwedd ;
Yn rhydd, ryw ddydd a ddaw,
Rho'wch fi â'ch llaw'r un lle ;
'R wy'n caru, er yn wàn,
Y fàn bu 'Fe.

2 Wrth wel'd yr angeu du
Yn nesu'n awr,

'R wy'n ofni ambell dro
Wrth gofio'r awr ;
Pan gwelwy'r gwaith trwy ffydd
Y trydydd dydd wnaeth Duw,
Mae 'ngobaith yn fwy cry'
Do'i fyny'n fyw.

3 O Dduw ! dôd imi ffydd,
Bob dydd o'r daith,
'Wel'd Seion yn nesau,
Dros fryniau maith :
Yn Ben mae yno'n byw
Fy Iesu, 'n Dduw a dyn
Fu yma'n wael Ei wedd
Mewn bedd Ei Hun. G. AB E.

## 817 (564) RHAN II.

*Nis gallodd angeu du.*

6. 4.—Broncairo. Siloah.

1 NIS gallodd angeu du,
Ddàl Iesu'n gaeth
Ddim hwy na'r trydydd dydd,
Yn rhydd y daeth ;
Ni ddèlir un o'i blant,
Er myn'd i bant y bedd ;
Fe'u gwelir ger Ei fron
Yn llon eu gwedd.

2 Dy gwmni i ddwyn y groes,
O ! moes i mi ;
Er gwaethaf angeu a'i frâd,
Ein Tad wyt Ti ;
Ac er fy rho'i'n y llwch,
Mewn t'w'llwch dros ryw hyd,
Ni'm cleddir o'i ŵydd E',
Mewn lle'n y byd.

3 Er pydru yn ngwaelod bedd,
Yn farwaidd, fûd,
Daw Iesu i'm c'odi'n llon
Ger bron ryw bryd ;
A'm llygaid i a'i gwêl—
Mae'r gair dàn sêl yn wir—

Ar newydd ddedwydd ddydd,
Boreuddydd clir. G. AB E.

## 818 (568) *Heddwch Duw yn concro angeu.*

6. 8. 6.—Trelalas.

1 O DDUW! rho im' Dy hedd,
A golwg ar Dy wedd,
A maddeu 'n awr fy meiau mawr,
Cyn 'r elwy' i lawr i'r bedd:
Ond im' gael hyn, nid ofna'i 'r glŷn,
Na cholyn angeu 'n hwy;
Dôf yn Dy law i'r ochr draw,
Heb friw na braw, ryw ddydd a ddaw,
Uwch law pob loes a chlwy'! E. E

## 819 (676) "*Diwedd pob peth a nesaodd.*"

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 Y MAE 'r haulwen wedi blino
Teithio yn yr wybren lâs;
Daear drom sy 'mron diffygio
Porthi'r llysiau yn y maes;
Mae'r planedau'n gwaeddi "Diwedd!"
Pob creadur, yn ei ryw,
Sy'n och'neidio am gael gweled
Gwir ddadguddiad meibion Duw.

2 Y mae'r oriau yn fy ngalw
'N ddyfal beunydd i bar'toi;
Tân sy'n d'od ar ddinas distryw,
Tua Soar imi ffoi:
Arglwydd! 'mafael ynwy'n fuan,
Onid ê ni ddeuaf byth;
Tra b'o'r tân yn llosgi Sodom
Yn y bryniau gwnaf fy nyth. W.

## 820 (673) *Duw yn ddigon yn angeu.*

8. 7. D.—Bavaria. Tantum ergo.

1 O! IACHAWDWR pechaduriaid,
Sydd â'r gallu yn Dy law,
Rho oleuni, hwylia'm henaid
Dros y cefnfor garw draw;

Gâd i'r wawr fod o fy wyneb,
Rho fy enaid llesg yn rhydd ;
Nes i'r haulwen ddisglaer g'odi,
Tywys fi wrth y seren ddydd.

2 O! ynfydrwydd, O! ffolineb,
Imi erioed i ro'i fy mryd
Ar un tegan, ar un gwrthrych,
Welais eto yn y byd :
Mae y byd yn myned heibio,
A'i deganau o bob rhyw ;
Dàn y nef ni thâl ei garu
Wrthrych arall ond fy Nuw. W.

## 821 (692) *Crist yn angeu.*

8. 7. D.—Jersey. Hebron.

1 COFIA, f'enaid, cyn it' dreulio
D' oriau gwerthfawr yn y byd,
Cyn ehedeg ffwrdd oddi yma,
P'un a ge'st ti'r trysor drud ;
Yn mha ardal bydd fy lletty ?
'Fath pryd hyny fydd fy ngwedd ?
P'un ai llawen, ai cystuddiol,
Fyddaf y tu draw i'r bedd ?

2 Pan b'o'r llygaid yma'n t'w'llu,
Yn eu pyllau'n llechu i lawr,
Troi oddi amgylch wrth ymdrechu
Â galluoedd angeu mawr ;
P'odd dioddefaf y fath gystudd ?
Pwy adfera'r golled hyn ?
Oni châf ymguddio yn nghlwyfau
'R Oen fu ar Galfaria fryn ?

3 Iesu hawddgar! 'r wy'n Dy ddewis ;
Nerth i ddilyn ôl Dy droed,
Yna caiff fy enaid hedeg
I'r hapusrwydd uwch y rhôd ;
Tra f'o'm pridd yn ymgymmysgu
Gyda phridd y ddae'r ryw bryd,
Llewyrch wyneb Duw ddisgleiria
Ranau f'enaid oll i gyd.

4 Wedi'm golchi oddi wrth sorod
Pechod ffiaidd, drwg ei ryw,
Fel drych goleu i dderbyn delw
Holl sancteiddrwydd pur fy Nuw;
Ni raid teithio'r ddaear mwyach,
Yn mhlith pryfed mân y llawr,
Ond disgleirio 'mhlith myrddiynau
Gylch yr orsedd fel y wawr. W.

## 822 (694) *Duw Ei Hun yn angeu.*

8. 7. D.—Jersey. Hebron.

1 MAE'r anialwch wedi 'mlino,
Chwant sydd arnaf wel'd y tir
Roddwyd imi gan fy Arglwydd
Cadarn mewn addewid wir;
Gwlad o oleuni heb dywyllwch,
Gwlad o gariad heb ddim trai;
Gwlad heb hawddfyd na phleserau
Ond yn unig Ei fwynhau.

2 P'odd yr âf fi trwy'r Iorddonen
Oni ddeui Di Dy Hun
Yno i dòri grym y tònau,
Ac i sefyll wrth fy nghlun?
Dàl fy mhen i'r làn yn gadarn
Pan b'o angeu'n fawr ei rym;
Pledia'n ëon yn ei wyneb
Pan na b'wyf yn gallu dim.

3 Dacw'r un sydd â thosturi,
Ef fu'n hongian ar y groes,
Ef fu'n griddfan dàn dywyllwch
T'w'llwch dudew fel y nôs;
Mil o boenau wasgodd arno,
Eto darfu iddo'u dwyn;
Aeth i garchar dàn law angeu
Ran o dridiau er fy mwyn.

4 Oni châf fy mywyd ynddo,
Ofer im' obeithio mwy;
Nid oes dim ond gwaed Ei galon
All yn unig wella'm clwy':

Mawr yw'm poen heb Ei gwmpeini,
Mwy dymunol yw na'r byd ;
Rhosyn Saron yw f' Anwylyd,
'D oes ond tegwch ynddo i gyd. W.

## 823 (701) *Tragwyddoldeb.*

8. 7. D.—Bohemia.

1 DYMA'r byd y mae taranau,
Mellt, a chenllysg, daear-grŷn ;
Yn y wlad 'r wy'n myned iddi
Nis câf weled yno'r un ;
Mynych ceir cystuddiau yma,
Rhagluniaethau chwerwon iawn,
Tòn ar ôl y llall yn rhuo
O foreuddydd hyd brydnawn.

2 Disgwyl pethau gwych i ddyfod,
Croes i hyny maent yn d'od ;
Meddwl 'fory daw gorfoledd,
'Fory'r tristwch mwya' erioed ;
Meddwl byw, ac eto marw
Yw'r lleferydd dàn fy mron :
Bob yn ronyn, mi ro'f ffàrwel—
Ffàrwel glân, i'r ddaear hon.

3 Tragwyddoldeb ! mawr yw d'enw,
Ti mae'n ddïau yw fy lle ;
Huriwr un diwrnod ydwyf,
Fry mae'm cartref yn y ne' :
Mae'm diwrnod bron a gorphen,
Mae fy haul bron myn'd i lawr ;
Mae pob awel yn fy chwythu
Tua'r tragwyddoldeb mawr. W.

## 824 (702) *Cynnal wrth farw.*

8. 7. D.—Bohemia.

1 'RWYF yn foddlawn iawn i ymado,
Trefna'r awr, a threfna'r màn,
Ond yn ymchwydd yr Iorddonen
Dàl fy ysbryd llesg i'r làn ;

N' âd fi soddi yn y tònau
  Pan b'o angeu'n fawr ei rym,
'Mafael ynof yn Dy freichiau,
  N' âd i'm henaid ofni dim.

2 P'am 'r ymafael tristwch ynof
  Wrth fyfyrio am ado'r byd ?
Pechod a chystuddiau duon
  Welais ynddo oll i gyd ;
Ni ddaeth hanner fy nisgwyliad
  Yma eto erioed i ben ;
O ! na wnaethwn yn foreuach
  Fy nghartrefle uwch y nen !

3 Mae 'nghyfeillion wedi myned
  Draw yn lluoedd o fy mlaen,
Rhai fu'n myn'd trwy ddyffryn Bacca
  Gyda mi tua Salem lân ;
Yn y dyffryn tywyll, garw,
  Ffydd i'r làn a'u daliodd hwy ;
Mae'r addewid lawn i minnau :
  P'am yr ofna'm henaid mwy ? W.

## 825 (709) *Gorfoledd y credadyn yn angeu.*

8. 7. D.—Gwynfa. Alexander.

1 O! ANFEIDROL rym y cariad,
  Anorchfygol ydyw'r grâs ;
Digyfnewid yw'r addewid,
  Bery byth o hyn i maes ;
Hon yw'm hangor ar y cefnfor,
  Na chyfnewid meddwl Duw ;
Fe addawodd na chawn farw,
  Yn nghlwyfau'r Oen y cawn i fyw.

2 Yn y dyfroedd mawr a'r tònau,
  Nid oes neb a ddeil fy mhen
Ond fy anwyl Brïod Iesu,
  A fu farw ar y pren :
Cyfaill yw yn afon angeu,
  Ddeil fy mhen i uwch y dòn :
Golwg arno wna i mi ganu
  Yn yr afon ddofn hon. D. W.

## 826 (700) *Ffydd yn gorchfygu angeu.*

8. 7. D.—Bohemia.

1 NID wy'n ofni tir y bywyd,
Hwnw 'nghartref hyfryd yw;
Ond 'r wy'n ofni yr agendor
Fawr sydd rhwng y marw a'r byw;
Angeu dwfn yw'r Iorddonen
Wyf o hyd yn ofni ei brâd;
Tònau y'nt sydd raid myn'd trwyddynt,
'Maes o'r byd i dŷ fy Nhad.

2 Mi anturiaf, rhaid yw cynnyg,
Morio tònau, er maint eu grym,
Na fum eto er y'm ganwyd
Mewn fath dònau mawrion ddim:
Gallu'r nefoedd fawr ei hunan
Ddeil fy enaid llesg i'r làn;
Grâs yn marw ar Galfaria
Ydyw noddfa'm hysbryd gwàn.

3 O bob enw yn mhlith dynion,
Dyna'r enw goreu i gyd—
Duw dàn hoelion ar y croesbren,
Yno'n marw dros y byd;
Gwaed yn llifo ar Galfaria,
Môr o haeddiant, môr o hedd,
Od oes dim a saif i fyny,
Saif yn erbyn angeu a'r bedd. W.

## 827 (664) *Afon angeu.*

8. 7. D.—Scopas. Balducci.

1 'RWYF yn gwel'd yr afon ddofn
Yn agosach imi'n awr,
Mae arwyddion am yr amlaf
Mai cyn hir yr âf i lawr;
'R wyf yn ofni fy ngrasusau,
Ofni'r tònau bob yr un;
Nid wyf fi yn ngwyneb angeu
Ond y gwaelaf, lesgaf, ddyn.

2 O! fy enaid gwàn, nac ofna,
Nid concwerio unrhyw fai,

Na choncwerio cànt o feiau,
  Rwystra'm hysbryd lwfrhau;
Gwel'd y grâs sydd yn yr Iesu—
  Môr digonol yw i'r gwàn,
Yn nyfnderoedd angeu creulon,
  Ddeil fy ysbryd llesg i'r làn.

3 Cànt o weithiau, ôl a gwrth-ôl,
  Y dilynais i fy mai;
Pechu cyn adnabod pechod,
  Pechu wedi edifarhau;
Dacw'r graig rhaid im' ymddiried,
  Dacw'r lloches, dacw'r fàn,
Yn nghanghenau Pren y bywyd;
  Arall ddim nis deil fi i'r làn.

4 Ffàrwel i chwi gynt a gerais,
  Nid yw'ch cwmni, nid yw'ch gwedd,
Nid yw'r cariad sy'n eich calon
  Ragor na d'od hyd y bedd:
Pan ddêl angeu, chwi ffowch ymaith,
  Da i mi fod genyf Dduw;
Ffrynd f'o gydaf' wedi marw,
  Hwnw garaf fi yn fyw. W.

## 828 (633) *Tragwyddoldeb annirnadwy.*

8. 7. D.—Llangan. Tanycastell.

1 TRAGWYDDOLDEB! mawr yw 'th enw—
  Mwy yw 'th sylwedd mawr yn wir!
Bydd dy wae, neu ynte 'th wynfyd,
  Imi'n gyfran cyn b'o hir!
Am gàn' miloedd o filiynau
  Mae dy fynwes yn ymgau!
Beunydd, beunydd, bob munydyn,
  I'th ëangder 'r wy'n nesau.

2 Tragwyddoldeb! mawr yw 'th enw—
  Mawr yw 'th anfesurol daith!
Nid yw amser, byd, a'i elw,
  Ddim wrth dragwyddoldeb maith!
Mi ni fedraf dy amgyffred,
  Ond fy nghysur rhag dy fraw

Ydyw'r Iesu! Duw mewn dyndod!—
Tragwyddoldeb sy'n Ei law! T. J.

## 829 (785) *Cydymaith yn y glỳn.*

8. 7. 4.—Hyder.

1 DERFYDD imi deithio'r ddaear,
Tragwyddoldeb sydd ger llaw;
Ni châf aros, ni châf orphwys,
Nes im' fyn'd i'r ochr draw:
O! Iachawdwr,
Paid a'm gadael yn y glỳn.

2 Pan f'o dyfroedd oer marwolaeth
O fy amgylch yn crynhôi,
Pwy a ddeil fy mhen i fyny?
Pwy a wna i'm hofnau ffoi?
Neb ond Iesu:
Gwênaf yno yn Ei law. T. W., *ar.*

## 830 (749) *Dydd y farn.*

8. 7. 4.—St. Garmon. Caersalem.

1 WELE'n dyfod ar y cwmwl,
Mawr yw'r enw sy iddo'n awr;
Ar Ei wisg ac ar Ei forddwyd
Ysgrifenwyd ef i lawr:
Haleluwia!
Groesaw, groesaw, addfwyn Oen.

2 Mil o filoedd, myrdd myrddiynau,
O gwmpeini hardd eu gwedd,
Welaf draw yn c'odi i fyny
I'w gyfarfod Ef o'r bedd:
Darfu galar;
Dyma iachawdwriaeth lawn.

3 Nid oes yno gofio beiau,
Dim ond llawn faddeuant rhâd;
Poenau'r groes, a grym y cariad,
A rhinweddau maith y gwaed:
Darfu tristwch;
Daeth llawenydd yn ei le. W.

## 831 (828) *Hyder yn yr olwg ar yr ochr draw.*

8. 7. 3.—Even me. Gounod.

1 'RWYF fi heddyw'n teimlo undeb
  Â rhai sydd yn lludw mân,
Mwy na'r rhai wy'n wel'd yn hedeg
  Ar adenydd rhwysg yn mlaen:
Yr un wedd, yn y bedd,
Câf fod gyda hwynt mewn hedd.

2 Dros ryw ddyddiau bŷr dibleser
  De's i'r ddaear i gael lle,
Dyddiau i'm temtio a'm haddfedu
  I drigfanau pur y ne';
Gwynfyd ddaw, maes o law,
Ar y bryniau'r ochr draw.

3 Dacw gariad fel yr afon,
  Dacw heddwch fel y llif,
Wedi i'm brodyr gael ei feddu—
  Brodyr anwyl fwy na rhif;
Gyda hwy caiff fod mwy
F'enaid, heb na braw na chlwy'.

4 Angeu, bellach gwna dy waethaf,
  Nid yw'th ddychryniadau ddim;
Mwy o hedd sy 'mhen Calfaria
  Nag sydd yn dy saethau o rym:
Mi âf trwy farwol glwy'
'N erbyn tònau mawrion mwy. W.

## 832 (909) *Angeu heb ei golyn.*

9. 8.—Bethel. Capel Newydd.

1 O! ANGEU, pa le mae dy golyn?
  O! uffern, ti gollaist y dydd!
Y Baban a anwyd yn Methle'm
  Orchfygodd bob gelyn y sydd;
Ni raid i blant Seion ddim ofni
  Myn'd adref dàn ganu tua'u gwlad;
Eu ffordd sydd yn rhydd tuag yno,
  A hono gyssegrwyd â gwaed. J. EV.

**833 (933)** *Tỳnu tuà'r afon.*

8. 8.—Gardd Gethsemane. Llangristiolus.

1 'RWY'n tỳnu tuag ochr y dŵr,
Bron gadael yr anial yn lân ;
Mi glywais am goncwest y Gŵr
A rydiodd yr afon o'm blaen ;
Fe dreiglodd y maen oedd dàn sêl,
Fe g'ododd y Cadarn i'r làn ;
Mi 'caraf Ef, deued a ddêl,
Mae gobaith i'r truan a'r gwàn. T. W.

**834 (934)** *Gwerth y cymmod.*

8au 8ll.—Glan Rhondda. Gardd Gethsemane.

1 WRTH weled mor fỳred yw'n dydd
Ac angeu mor sicr i'n cwrdd,
Manylrwydd y frawdle a fydd,
A ninnau tuag yno 'n myn'd ffwrdd ;
A'n cartref tragwyddol mor faith,
Di-newid, di-ddiwedd byth yw—
Pa enaid wyneba'r fath daith,
Heb gael ei gymmodi â Duw ! J. THO.

---

## Y NEFOEDD.

**835 (11)** *Y wlad well.*

10au.—Penitentia. Pax Dei.

1 MI welaf wlad uwch byd, a llawer gwell,
Cartrefle'r saint, tu hwnt i'r sêr yn mhell ;
Gwlad gwynfyd llawn, preswylfa Duw a'r Oen ;
Ni ddaw i hon na phechod, bai, na phoen. "DID.," *ar.*
2 Gwlad dda, heb wae, gwlad wedi ei rho'i dàn sêl,
Llifeirio mae ei ffrwyth o laeth a mêl ;
Grawnsypiau gwiw i'r anial dîr sy'n d'od,
Gwlad nefol yw, uwch law mynegu ei chlôd. A. G.

**836 (22)** *Golwg ar ogoniant y nef.*

10. 11.—Glan Elyrch. Wagner.

1 TRWY gywir ffydd, O esgyn, f' enaid cu !
Gwel dy breswylfod uwch yr wybren fry ;
Ni ddeall dyn ac ni all tafod chwaith
Byth adrodd maint ei phur ogoniant maith !

Teyrnasu mae yr Iesu yn fuddugol,
Angeu a'r bedd orchfygwyd yn dragwyddol !

2 Un gofid trwm, na chystudd trist, na chur,
Ni ddaw i byrth y lân breswylfa bur ;
Na chlwyf na braw i'r saint i'w blino mwy,
Yr anwyl Oen a sŷch eu dagrau hwy.
Teyrnasu mae yr Iesu yn fuddugol,
Angeu a'r bedd orchfygwyd yn dragwyddol !

3 Mae afon bur yn d'od o'r orsedd wiw ;
A dyfroedd bywiol hon, rhinweddol yw ;
Yno mae hyfryd Bren y Bywyd cu,
A'i ffrwythau Ef sydd wledd dragwyddol fry !
Teyrnasu mae yr Iesu yn fuddugol,
Angeu a'r bedd orchfygwyd yn dragwyddol.

4 Fe saif yr arfaeth ddwyfol yn ddi-lŷth,
Ni ddryllia 'r isel gorsen ysig byth ;
A'r llîn yn mygu byth ni ddiffydd chwaith,
A hyn a fydd yn fawr ryfeddod faith,
Hyd oni ddygo farn i fuddugoliaeth,
A Seion wych ar diroedd iachawdwriaeth ! R. W.

## 837 (21) *Dinas Duw.*

10. 11.—Glan Elyrch. Wagner.

1 TRWY Ddinas Duw, rhêd afon ddisglaer, gu,
A gwyrdd-der hâf byth ar ei glànau sy ;
A brigau Dwyfol Bren y Bywyd pur
Gysgoda holl drigolion nefol dîr,
Lle mae fy Mhrynwr byw mewn gwir ogoniant,
Ar orsedd fawr y nef yn derbyn moliant.

2 Ni raid wrth lewyrch haul na lleuad mwy ;
Perffeithrwydd bywyd pur sy'n treiddio trwy
Holl gŷrau'r ddedwydd wlad, mewn hyfryd hoen ;
Goleuni'r ddinas glaer yw Duw a'r Oen !
Lle mae fy Mhrynwr byw mewn gwir ogoniant,
Ar orsedd fawr y nef yn derbyn moliant.

3 Un olwg hoff a leinw'm henaid gwàn !
Fy Nuw, pa bryd y câf Di imi'n rhan !
Pa bryd câf dirio i fy nghartref gwiw,
A gado'r ddaear hon a dechreu byw,

Lle mae fy Mhrynwr byw mewn gwir ogoniant,
Ar orsedd fawr y nef yn derbyn moliant ! *c.* I. DD.

## 838 (45) *Gwlad o wynfyd.*

M. H.—Samson.

1 MAE gwlad o wynfyd pur heb haint,
Byth yno y teyrnasa 'r saint ;
Lle nad oes tywell nôs, ond dydd,
A phleser heb ddim blinder sydd.

2 O ! am gael ffydd i ymlid 'ffwrdd
Y cul amheuon sy'n ein cwrdd ;
A gallu gwel'd, â golwg glir,
Drigfanau dedwydd Canaan dir. DR. W., *c.* D. J.

## 839 (79) *Myfyrdod ar ogoniant y nefoedd.*

M. H.—Boston. Eden.

1 FY myfyrdodau'n felus sy
Wrth gofio'r dorf sy'n moli fry ;
Pob un yn ddisglaer yn ei le
'N rhagori ar sêr yn entrych ne'.

2 Yr haul g'wilyddia 'maes o law
Wrth wel'd y rhai'n y dydd a ddaw ;
Ymguddia'r lloer, ni 'mddengys mwy,
Gan lewyrch eu disgleirdeb hwy.

3 Mae yno heddyw rai yn iach
R'odd ffàrwel in' dros ronyn bach ;
Yn ddistaw iawn diangasant hwy
I'r Sabbath fry sy heb ddiwedd mwy.

4 Gwaredwyd hwy o'r cystudd mawr,
Eu gofid oll a ddarfu 'n awr ;
Maent heddyw'n canu—canant byth,
Heb sŵn pechadur yn eu plith. W.

## 840 (68) *Gobaith bod yn rhydd.*

M. H.—Rockingham. Carey.

1 PAHAM yr ofna'm henaid cu
I lanio i'r hafan hyfryd fry ?
On'd oes mil myrdd, heb aeth na braw,
O frodyr i'm croesawu draw ?

2 Os câf, bechadur, fyned fry,
Yn iach o'm briw i blith y llu

Sy â'u gwisgoedd hardd fel eira gwỳn,
Yn canu fry ar Seion fryn;

3 Fy llais a glywir uwch y llèn
Yn adsain yr holl nefoedd wèn,
Yn mhlith y dorf bwrcasodd gwaed,
Âg enaid rhydd yn gwaeddi, "Rhâd!"

4 Wrth feddwl am yr hyfryd fraint
O foddi'm sŵn yn mhlith y saint,
Mae'm henaid yn ymgodi'n lân
I'r nefoedd fry mewn fflam o dân. W.

## 841 (83) *Cymdeithas y nefoedd.*

M. H.—Melancthon. Hursley.

1 O ARGLWYDD! dena'm serch a'm bryd
Ar y gwrthrychau sy uwch y byd:
Trysorau hyfryd càn' mil gwell
Cuddiedig draw ar fryniau pell.

2 Draw mae ein Iesu mawr a'n Duw
A brodyr fyrddiwn ini'n byw:
Mae yno rai yn moli o hyd
Fu'n teithio gyda ni 'n y byd.

3 Dringasant hwy i ben eu taith,
'N ol gorphen ar eu llafur waith;
Gwỳn fyd na f'a'wn i yn eu plith
Yn moli'n beraidd yno byth.

4 Wel, cyn b'o hir ni 'ddown ynghyd,
O eithaf pedwar cŵr y byd,
O'r gogledd, de, a'r dwyrain bell,
I gael mwynhau cymdeithas well. W.

## 842 (54) *Y saint ynghyd.*

M. H.—Kent. Mainzer.

1 O! HYFRYD foreu, hyfryd awr—
Tywyniad tragwyddoldeb mawr
Pan yr agoro'r beddau pridd,
I roddi seintiau Duw yn rhydd.

2 Wel, dyna'r awr, a thyna'r pryd,
Ceir gwel'd 'tifeddion nef ynghyd,
Yn dechreu taith o'u carchar caeth,
Tua'r wlad sy'n llifo o fêl a llaeth.

3 Y fàn bydd terfyn ar bob gwae,
A dechreu'n hir i lawenhau ;
Yn nheml Dduw eu cartref fydd,
Yn Ei was'naethu nôs a dydd.

4 Yr Oen sydd ar yr orsedd fawr
Bugeilia hwynt bob munyd awr;
Fe'u harwain at ffynhonau clir
O ddyfroedd bywiol, dwyfol, pur.

5 Fe sycha'i Hun bob deigryn mân
Oddi wrth eu llygaid hwynt yn lân,
Marwolaeth, tristwch, ing, a phoen,
Fyth fythol ffŷ o gwmni'r Oen. W.

## 843 (49) *Y Cristion yn ddïangol.*

M. H.—Lledrod. Luther's Chant.

1 FE syrth y sêr i lawr o'r nen,
Fe d'w'lla'r bydoedd mawr uwch ben,
Fe sŷch y môr ;
Bydd f'Arglwydd Iôr yr un o hyd.

2 Bydd gwraig yr Oen y boreu hwn
Yn canu'n iach, heb boen na phŵn,
Ar ddeheu law
Ei phrïod draw, heb farw byth.

3 Ceir gwel'd y dyrfa ddisglaer fawr,
Rifedi gwlith y boreu wawr,
Heb friw na phoen,
Yn canu i'r Oen y newydd gân.

4 O ! gwŷn eu byd y dyrfa fawr,
Yn iach a 'hedodd uwch y llawr ;
Marwolaeth mwy
Ni chwrdd â hwy sydd fry mewn hedd. M. R.

## 844 (127) "*Amseroedd i orphwys.*"

8. 8. 8.—Altorf. Mawl.

1 MAE dydd at ddydd yn d'od i ben,
A'm taith drafferthus îs y nen ;
Fe ddirwyn amser at y nôd :
Ac yna 'mhechod a gaiff friw,
A thyna'r pryd concweria'm Duw
Bob rhyw ffieidd-dra ynwy' 'rioed.

2 O! ddedwydd, nefol, hyfryd, awr,
Câf roddi 'meichiau trwm i lawr,
Ag sy'n fy mlino foreu a nawn;
A myn'd i wlad lle nad oes bai,
Ond cariad perffaith i barhau—
Llawenydd pur a heddwch llawn.

3 'R wyf bron a gorfoleddu'n awr
Wrth feddwl daw fy meiau i lawr,
A bod y dydd yn agoshau;
Dydd o orphwysdra perffaith yw
I'r neb sy'n blino'i guro'n friw
Gan nerth trachwantau, a phob gwae.

4 Wel, tyred, ddedwydd, hyfryd, ddydd,
Rho fy nghadwynau tŷn yn rhydd,
Gâd imi brofi'th hyfryd wledd;
Lladd anghrediniaeth, sydd yn awr
Yn curo f'enaid bach i lawr,
Ac ymaith tŷn holl ofnau'r bedd. W.

## 845 (134) *"Cystudd a galar a ffŷ ymaith."*

8. 8. 8.—Llangoedmor. Llangollen.

1 MI welaf fyrdd yr ochr draw
O rai 'maflasant yn Ei law,
Yn canu heddyw'n beraidd iawn;
Mae ofnau'n darfod yn y wlad
Lle mae fy Nuw, lle mae fy Nhad,
Ac yn eu lle lawenydd llawn.

2 O! hyfryd, ddedwydd, nefol, le,
Gwŷn fyd pob rhai sydd ynddo 'fe—
Y ddinas ddisglaer, nefol, glir;
Y màn na bu, y màn nad oes,
Na phoen, nac ing, na gwae, na loes,
Ond heddwch llawn a chariad pur. W.

## 846 (169) *Hiraeth am ben y daith.*

8. 8. 6.—Pembroke. Ravendale.

1 PERERIN wyf i'r Ganaan fry,
I gynnes gôl fy Iesu cu,
Lle câf dragwyddol nyth;

Yn mhell uwch sŵn y ddraig a'i saeth,
Na gelyn mwy i'm gwneyd yn gaeth,
Câf dawel orphwys byth.

2 O bell mi wela'm cartre'n wir,
O fewn i byrth Caersalem bur ;
Pob rhai'n meddiannu hedd :
O ddinas deg ! o'th fewn nid oes
Na haul, na lloer, na thywell nôs ;
Gwŷn fyd rhai 'draw i'r bedd !

3 Pan ddêl yr adgyfodiad mawr,
Câf g'odi'n lân o'r ddaear lawr
I entrych awyr fry ;
Oddi yno âf mewn nefol hedd
I'r nefoedd wèn, mewn newydd wedd,
I blith angylaidd lu.

4 Mi fyddaf fry, O ryfedd fraint !
Yn boddi'm sŵn yn mhlith y saint,
Mewn peraidd hyfryd dôn :—
Cymdeithion hyf mewn hyfryd hwyl,
Heb 'mado byth, ond cadw gŵyl,
I'r tirion, anwyl Oen.

5 'R wy'n awr am ganu'n iach i'r byd,
Ei bleser gau, a'i boen i gyd ;
Pwy safai ynddo'n hir ?
Disgwyliaf nes y dêl fy Nuw
I'm dwyn o'm gwae at Iesu gwiw,
I hyfryd Salem dir. W.

## 847 (236) *Dedwyddwch y nefoedd.*

M. S.—Paradwys. Gwilym.

1 O ! FUGAIL Israel, dŵg fi 'mlaen,
I'r dawel lân orphwysfa,
I'th nefol lŷs, o'm poen a'm plâ,
I ganu Aleluwia.

2 I Seion wych, Paradwys wiw,
Lle mae fy Nuw'n cartrefu,
'Gael rhoddi 'mhwys, a chuddio 'mhen
Yn mynwes wèn yr Iesu.

3 Myfyrio fod fy hyfryd le,
O fewn i'r ne', yn barod,
Sy'n gwneyd i'm henaid cu bob cam
Hiraethu am ymddattod.

4 Ar aden cerub, âf yn hy'
Trwy ganol llu'r gelynion,
Nes d'od yn llwyr, er gwaetha'r llîd,
I hyfryd fynydd Seion. W.

## 848 (237) RHAN II.

M. S.—Paradwys. Gwilym.

1 CAEL cwrdd a wnaf o fewn i'r ne'
Â'r sanctaidd bererinion;
Ac yn eu plith câf foli' 'm Nêr,
Â phêr ganiadau Seion.

2 Ffarwèl gaethiwed yno mwy,
'Chaiff angeu 'n hwy deyrnasu;
I dragwyddoldeb câf, mewn hwyl,
Iawn gadw gŵyl i'r Iesu.

3 Y wisg a'r goron câf i'm rhan,
Sy'n nghadw gan yr Iesu;
A'r hyfryd balmwydd yn fy llaw,
Ca'i 'n Seion draw deyrnasu.

4 Ymborthi câf mewn gwlad uwch-ben,
A'r ffrwythau Pren y Bywyd;
Ac yfed byth, heb boen na chur,
O afon bur y gwynfyd. W.

## 849 (313) *Tyrfa y gwaredigion.*

M. C.—Brooklyn. Farrant.

1 MI welaf dyrfa draw o'm blaen,
Yn canu ar ben eu taith,
Ac wedi gorphen d'rysu ar hyd
Yr anial garw, maith.

2 'N ôl cyfeiliorni ar y dde,
Ac ar yr aswy law,
Heb un cyfeiliorn, maent yn awr,
Yn canu'n beraidd draw.

3 Fe ddarfu eu rhyfel, er ei rym,
Fe ddarfu eu poen a'u gwae;

Ac maent yn yfed heddyw o'r wledd
Dragwyddol sy'n parhau.

4 'D ä un o'r nwydau i mewn i'r nef
A'u blinodd yn y byd ;
Tragwyddol gariad fel y môr
Sy'n llanw yno i gyd.

5 Pob parch a haeddiant, grâs a dawn,
Pob enw oll o ddyn,
Sydd yno'n hollol suddo i lawr
Yn Iesu mawr Ei Hun.

6 Mae Iesu Ei Hun yn awr yn fwy
Na'r cwbl îs y nef ;
A'u holl ddifyrwch byth a byth
Yw edrych arno Ef. W.

## 850 (327) *Gwledd y gwaredigion.*

M. C.—St. Leonard. St. Peter.

1 'DOES un genfigen ddaw i blith
Y dyrfa hyfryd fry ;
Na dim ond nefol faith fwynhau
O gariad Iesu cu.

2 Maent wedi anghofio'r groes a'r gwae,
A thristwch anial dir ;
Ac heddyw'n yfed cariad rhâd,
Fel dwfr gloyw, pur.

3 Dôd ynwyf hiraeth, Iesu mwyn,
Am y dragwyddol wledd ;
A rho i mi brofi yma flâs
Pleserau draw i'r bedd. W.

## 851 (306) *Y pererinion ar ben eu taith.*

M. C.—Tallis. Jerusalem.

1 MAE pererinion draw o'm blaen,
Yn canu'r anthem bur,
Ac heddyw'n edrych fel o bell,
Ar dd'rysni'r diffaeth dir.

2 Maent hwy'n rhyfeddu'r dwyfol râs
A'u nerthodd ar eu taith ;
A chanu cariad addfwyn Oen
Ffyddlonaf yw eu gwaith.

3 O ! nertha finnau i edrych draw,
Heb ŵyro o un tu,
Nes imi gyrhaedd mewn i byrth
Caersalem newydd fry.

4 Rho'r delyn euraidd yn ein llaw,
Ac yn ein hysbryd dân,
Ac yn mheryglon anial dir
Erfyniau pur a chân.

5 Ni awn fel hyn yn ngwrês y nef,
Fel un llïosog lu,
Trwy demtasiynau heb ddim rhif,
I mewn i'r nefoedd fry. W.

## 852 (310) *Gorphwys yn y nef.*

M. C.—Ballerma. Martyrdom.

1 MAE'n hyfryd meddwl ambell dro,
Wrth deithio anial le,
Ar ol ein holl flinderau dwys,
Cawn orphwys yn y ne'.

2 Pan ar ddiffygio gan y daith,
A lludded maith y lle,
Mor hoff yw gwybod—wedi hyn
Cawn orphwys yn y ne'.

3 'N ôl teimlo archoll llawer saeth,
A phrofedigaeth gref,
A dioddef gwrês y dydd, a'i bwys,
Cawn orphwys yn y nef.

4 Mae'n gysur meddwl, pan f'o'n d'od
Lèn dros Ei wyddfod Ef,
Yn cynnal Ei dragwyddol bwys,
Cawn orphwys yn y nef.

5 Er colli ein cyfeillion hoff
Yn yr Iorddonen gref,
Mae'n felus meddwl—eto 'nghyd
Cawn gwrddyd yn y nef.

6 Cymhwyser ni drwy'r Ysbryd Glân
A'i rasol ddoniau Ef,
Nes delom fel twysenau llawn,
Yn addfed iawn i'r nef. E. E.

## 853 (314) *Undeb y gwaredigion.*

M. C.—Belmont. Brooklyn.

1 MAE brodyr imi aeth yn mlaen
Yn holliach a chyttûn ;
Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un.

2 Mae pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tỳnu'n groes ;
Yn moli'r Duwdod yn y dyn,
A chofio'i angeu loes.

3 Ni theimlir yno unrhyw boen,
Na chwyno gan un clwy' ;
Ond pawb mewn hwyl yn moli'r Oen
I dragwyddoldeb mwy.

4 Daw'r holl dduwiolion yno 'nghyd,
O'r gogledd, de, heb ri',
Â'u holl gadwynau'n chwilfriw mân,
A'u cân am Galfari. D. M.

## 854 (305) *Chwant am fod gyda Christ.*

M. C.—Tallis. Tiverton.

1 UWCH law terfynau maith y sêr,
Mewn hardd baradwys wiw,
Yn mhlith myrddiynau fel y gwlith,
F' Anwylyd sydd yn byw.

2 Mae seintiau yn dïengyd fry
Yn fyrddiwn o fy mlaen ;
A mi, ymddifad, yma'n byw,
Yn nghanol dŵr a thân.

3 Mae hiraeth pur yn gweithio trwy
Fy enaid, am fwynhau
Pleserau dwyfol, perffaith, pur,
Sydd fythol yn parhau. W.

## 855 (312) *Gwlad yr addewid.*

M. C.—Farrant. Brooklyn.

1 'RWY'n sefyll ar dymhestlog làn
Yr hên Iorddonen ddu,
Gan syllu 'n ddwys, mewn hiraeth clau,
Ar fryniau 'r Ganaan fry.

2 'R wy'n tybio gwelaf eiliw gwàn
O'r glànau bythol wyrdd,
Lle 'r hongia sypiau grawnwin pur
Ar goed anfarwol fyrdd.

3 Ni theimlir yno chwerw loes,
A marw ni bydd mwy;
Awelon peraidd, balmaidd, byw,
Sy'n treiddio 'r ardal trwy.

4 O ardal hyfryd! lle ni ddaw
Na gofid byth, nac aeth—
Lle ffrydia perffaith wynfyd pur
Fel llif o fêl a llaeth.

5 Ac yno y mwynheir, heb nôs,
Un anfachludol ddydd,
Heb haul, na lloer—ond Duw Ei Hun
Ei disglaer haul a fydd!

6 Awelon peraidd, balmaidd, byw,
Sy'n treiddio 'r ardal trwy;
Angeu a phechod, ing a phoen,
O'i mewn ni theimlir mwy.

E. E.

## 856 (369) *Canu am râd râs.*

2. 8.—Glan'rafon. Braint.

1 BYDD, bydd,
Rhyw ganu peraidd iawn ryw ddydd
Pan ddelo'r caethion oll yn rhydd!
Fe droir eu ffydd yn olwg fry;
Cydunant byth, heb dewi a sôn,
I foli'r Oen fu ar Galfari.

2 Ond gwledd
Sydd eto'n bod tu draw i'r bedd,
Dros byth i'w chael i'r gwael eu gwedd;
Lle bydd mewn hedd ganiadau lu,
I bara beunydd yn ddi-boen,
Gan foli'r Oen fu ar Galfari.

3 Rhâd râs,
Yw'r newydd gân bereiddia'i blâs
Fu 'rioed ar wyneb daear lâs;

Hi ddeil ei blâs pan losgo'r byd,
A berwi o'r môr, a'i dònau'n dân,
Y nefol gân fydd grâs i gyd. G. 2, *a Chas.* J. H.

**857** (363) *Dedwyddwch y trigfanau nefol.*

2. 8.—Aberdeen. Llangors.

1 MAE, mae,
Yr amser hyfryd yn nesau,
Pan gaffo f'enaid ei ryddhau,
O'm tŷ o glai, 'fyn'd tua'm gwlad;
Nid yma mae 'ngorphwysfa i;
Mae hono fry yn nhŷ fy Nhad.

2 Bob dydd,
Fy nhabernacl brau o bridd
O'i sylfaen yn adfeilio sydd;
Nid yw dattodiad hwn yn mhell:
O! f'enaid, cofia hyn bob cam,
A meddwl am adeilad well.

3 Fry, fry,
Uwch awyr lâs, a'i disglaer lu,
Mae holl hyfrydwch f'enaid cu,
'D oes dim daioni yma i'w gael:
'R wyf wedi gwel'd a phrofi'r byd;
'Does ynddo i gyd ond gwagedd gwael

4 Parhau
Mae cariad Duw i'w anwyl rai;
Hwy gânt yn wastad ei fwynhau,
Heb achwyn trai yr ochr draw:
O! na b'a'wn gydag Ef yn byw!
Fy Mhrïod yw! pa bryd y daw?

5 Daw, daw,
Fy anwyl Iesu maes o law,
I'm cyrchu drwodd i'r wlad draw,
I'r bywyd distaw, pur, di-boen;
Câf ganu'n llawen gyda'r llu,
Gân Moses fry, a chân yr Oen. D. J.

**858** (377) *Gorphwysfa y saint.*

7. 8.—St. Andrew. Grasmere.

1 Y TIR dymunol peraidd,
Yr ardal hyfryd, euraidd,

Ag oedd yn mhell, yn sefyll draw,
A ddaeth ger llaw o'r diwedd ;
Er lludded, ac er blino,
Na fydded in' ddiffygio ;
Yr y'm yn nes-nes, awn ar frŷs
I mewn i'r llŷs yn gryno !

2 Cawn orphwys yn ddïangol
O'n temtasiynau 'n hollol,
Mewn maith dangnefedd, pur, di-drai,
Sydd yn parhau 'n dragwyddol ;
A hyfryd ymddifyru
Yn ein Hanwylyd, Iesu ;
A threulio Sabbath melus, gwiw,
Tragwyddol, i'w foliannu ! W.

## 859 (414) *Llawenydd yn wyneb angeu.*

7. 6. D.—Talyllyn. Pearsall.

1 YMADAW wnaf â'r babell
'R wy'n trigo ynddi 'n awr ;
Colofnau'r tŷ ddattodir,
Fe'u cwympir oll i lawr ;
Ä pob gwahan-glwyf ymaith,
Glân fuddugoliaeth mwy ;
'R wy'n canu wrth gofio'r boreu
Na welir arnaf glwy'.

2 Ar fỳr câf rodio llwybr
Na ddeuaf byth yn ôl ;
Mi ro'f ffarwèl tragwyddol
I'r holl forwynion ffôl ;
Dedwyddwch maith di-ddarfod
Sydd uchod i barhau :
O ! f'enaid, dechreu ganu,
Mae'r amser yn nesau.

3 Fe dderfydd imi bechu,
Iacheir yn lân fy nghlwy',
Ond byth ni dderfydd canu
Am faddeu pechod mwy ;
Câf gorph yr hên farwolaeth
I lawr, ni chyfyd byth,

A gwledd ar fynydd Seion,
  Dragwyddol, bur, ddi-lŷth. M. R.

**860** (435) *Cysson fwynhâd o Dduw tu draw i angeu.*

7. 6. D.—Jabez. Llydaw.

1 WYF yma dàn y tònau,
  Yn griddfan lawer awr,
Yn methu cadw 'ngolwg
  Ar y Messiah mawr ;
Fe ddaw y dydd câf nofio,
  O fewn i'w dawel hedd ;
Nas colla'i 'ngolwg arno,
  Yr ochr draw i'r bedd. J. T.

**861** (401) *Gweled Iesu yn y nefoedd.*

7. 6. D.—Rutherford. Syria.

1 BYDD gwel'd gogoniant Iesu,
  A chofio'r mànau bu,
Yn ennyn cân o newydd
  Trwy'r holl nefolaidd lu ;
Ei wel'd, a chofio Bethle'm,
  A'i eni yno'n dlawd—
Rhyfeddod nef y nefoedd
  Fydd gweled Duw mewn cnawd.

2 Ei wel'd, a chofio'r cwpan
  Yn Gethsemane ardd ;
Ei gofio'n d'od o Edom
  Oll yn Ei wisg yn hardd ;
Ei wel'd, a'i holl elynion
  Yn droedfainc dàn Ei draed ;
Ei wel'd, a chofio'n golchi
  O'n beiau yn Ei waed.

3 Ei wel'd, a chofio'r gofyn
  Yn y feichnïaeth fawr,
Wrth fyn'd i'r ddeddf yn ddiwedd,
  Rho'i 'i fywyd glân i lawr ;
Myn'd dàn ei holl felldithion,
  A diodde'i dîg yn llawn,
Heb ryddid o'i gafaelion
  Nes llenwi'r nef âg Iawn.

4 Ei wel'd, a chofio'i daro
 Â miniog gledd Ei Dad,
A thywallt i farwolaeth
 Ei enaid dros Ei hâd;
Pa fodd na bydd yr olwg
 Ar Brynwr euog ddyn,
Yn ennyn cân a syndod
 Trwy'r nefoedd fawr ei hun? R. O.

## 862 (433) *Bedd-argraph Theomemphus.*

7. 6. D.—Abertawe.

1 WEL, dyma'r dyn a garwyd,
 A gànwyd yn y gwaed;
Deng miliwn lawn o feiau
 Faddeuwyd iddo'n rhâd:
Ei dỳnu wnawd o'r danllwyth,
 Ac yntau'n myn'd i lawr;
Fe gadwyd hwn o uffern,
 Mae e' yn y nef yn awr.

2 Mi gâf fy nghorph i fyny,
 Fel fy Anwylyd cu,
Heb nwydau drwg byth mwyach
 I'm blino fel y bu;
'D oes dyn ŵyr îs yr wybren
 Ddedwydded yw fy lle,
Ac nis gall dyn ddych'mygu
 Dim am bleserau'r ne'.

3 Heb saeth, heb fraw, heb ofn,
 Heb ofid ac heb boen,
Yn canu o flaen yr orsedd
 Ogoniant pur yr Oen;
Yn nghanol myrdd myrddiynau,
 Yn caru oll heb drai;
Yr anthem ydyw cariad,
 A chariad i barhau. W.—TH.

## 863 (517) *Diwedd y daith.*

6. 8.—Beverley. Hollybourne.

1 DAW diwedd ar fy nhaith,
 A'm pererindod trist;

Gorphena'm llafur waith,
Câf orphwys gyda'm Crist:
O fewn Ei gôl y gwnaf fy nyth,
'Ddychwelaf byth i'r byd yn ôl.

2 Fe dderfydd mwyach sôn
Am alar, tristwch, gwae,
Y pechod câs, a'r poen,
I flino'r duwiol rai:
O! hyfryd waith fydd moli'm Nêr
Uwch law y sêr i oesoedd maith.

3 Câf wel'd fy anwyl Dad
F'arweiniodd ar fy nhaith,
A'm carodd i yn rhâd
O dragwyddoldeb maith;
A'r anwyl Oen, fu drosof fi
Ar Galfari mewn dirfawr boen. W.

## 864 (512) *Hiraeth am y nef.*

6. 8.—Beverley. Darwell.

1 CAERSALEM, dinas hedd,
O! na bawn yno'n byw;
O hyd cawn weled gwedd,
A llewyrch wyneb Duw:
Mae weithiau'n dywyll arna'i 'n awr;
Fy haul nid ä byth yno i lawr.

2 Yn Nuw ymddiried 'r wyf
Wrth deithio'r llwybr cul;
Fe'm dygodd eisoes trwy,
Do, gyfyngderau fil;
Hyderus eto wyf trwy ffydd
Yn nerth fy Nuw câf gario'r dydd.

3 Câf wel'd f' Anwylyd cu
Pan elwyf draw i dre',
Yr Hwn o'i gariad fu
Yn dioddef yn fy lle;
Câf wel'd yr Iesu—digon yw;
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw. D. J.

## 865 (498) *Pen y daith.*

6. 8.—St. Swithin. Gwladys.

1 MAE lluoedd maith yn mlaen,
'N awr o'u carcharau'n rhydd,
A gorfoleddu maent
Oll wedi cario'r dydd :
I'r làn, i'r làn diangasant hwy,
Yn ôl eu traed y sangwn mwy.

2 Gadawn y byd ar ôl,
Y byd y cawsom wae,
Y byd ag sydd bob dydd
Yn ceisio'n llwfrhau :
Ni 'welwn wlad rhwng sêr y nef
Sydd fil o weithiau'n well nag ef.

3 A fôdd' 'tifeddion grâs
Yn nyfnder môr i lawr,
Un waith a ddaeth i maes
O'r dwfn gystudd mawr ?
Na wnant, na wnant ; ni ddown i'r làn,
I dir y bywyd yn y màn.

4 Cawn lànio i mewn i fysg
Y rhai y clywsom sôn,
Gànasant bawb ei wisg
Yn nwyfol waed yr Oen ;
A gwledda'n llon, heb ddiwedd mwy,
Yn bur yn eu cwmpeini hwy.

5 Cawn wel'd yr addfwyn Oen,
Fu farw ar y bryn,
Yn medi ffrwyth Ei boen
Yn hyfryd y pryd hyn ;
Bydd myrdd heb rif yn canu 'nghyd
I'r Hwn fu farw dros y byd.

6 Fe gênir coron ddrain
Wrth ganu gwaed y groes ;
Fe gofir picell fain
Wrth gofio angeu loes ;
Fe seinia'r holl dorfeydd yn un
Bob rhan o boenau Mab y dyn. W.

## 866 (532) *Diogelwch y saint yn Nghrist.*

6. 8. 4.—Palestina. Trecastell.

1 AM fod fy Iesu'n fyw,
Byw hefyd fydd Ei saint;
Er gorfod dioddef poen a briw,
Mawr yw eu braint:
Bydd melus lànio draw,
'N ôl bod o dòn i dòn;
Ac mi ro'f ffàrwel maes o law
I'r ddaear hon.

2 Ac yna gwỳn fy myd,
Tu draw i'r byd a'r bedd:
Câf yno fyw dàn foli o hyd
Mewn hawddfyd hedd;
Yn nghwmni'r nefol Oen,
Heb sôn am bechod mwy,
Ond canu am Ei ddirfawr boen
Byth gyda hwy. J. T.

## 867 (556) *Golwg ar wlad well.*

6. 6. 4.—Llanddowror. Dinbych.

1 O! TYRED, Awdwr hedd,
A chyfod ni o'r bedd,
Y pydew prudd;
Ein henaid griddfan mae
Am gael ei wir iachau;
O dere, dere'n glau,
Rho ni yn rhydd.

2 Ond gweled 'r y'm y wlad,
A dedwydd dŷ ein Tad,
Dros fryniau pell—
Ardaloedd lle y mae
Ffynhonau yn dyfrhau,
Llawenydd yn ddi-drai,
Paradwys well.

3 'D oes yma ddim i'w gael
Ond rhyw bleserau gwael,
Na thâl mwynhau;

Mae'm hysbryd mewn rhyw gur
Am fyned cyn b'o hir
I'r màn mae gwynfyd pur
Byth i barhau. W.

**868** (540) *Cartrefle Duw a'i saint.*

6. 6. 4.—Weston. Bethel.

1 MAE 'r Ganaan hyfryd draw
I'w gweled fel ger llaw
Yn ngoleu'r nef;
De'wch bellach tua'r wlad,
Cartrefle pur ein Tad,
Na flined dim o'n traed,
Nes myn'd i dref.

2 Grawnsypiau yno sydd
Yn hongian nôs a dydd,
Ar winwydd pur;
I ddisychedu y rhai
Fu'n griddfan dàn eu gwae,
O gystudd a phob trai,
Mewn anial dir.

3 Rhyw gariad fel y môr,
Anfeidrol berffaith stôr,
Heb derfyn mwy,
Sy'n llifo'n loyw, làs,
O dàn y fainc i maes
I etifeddion grâs—
Eu bywyd hwy.

4 O! heddwch pur y nef!
'D oes a'i hadnebydd ef
Tu yma i'r bedd;
'Ddeallodd neb erioed
Sy'n trigo îs y rhôd,
Y pleser sydd yn bôd
Mewn nefol hedd. W.

**869** (575) *Moliant y nefoedd i Waredwr.*

7. 6. 8.—Llangeitho.

1 TORF fydd o angylion gwych,
Cerubiaid pur yn un,

Maith dorfeydd o seraphim,
  Yn canu i Fab y dyn ;
A chaniadau fydd y rhai'n
  Na ddaeth i feddwl dyn erioed,
Ag sy'n trigo îs y nen,
  I fôd eu bath yn bôd.

2 O! foreuddydd dedwydd iawn,
  Pan ddelo'r dorf yn un,
O bob cŵr i'r ddaear faith
  I gwrdd â'u Harglwydd cûn :
Derfydd gofid a phob gwae,
  A derfydd temtasiynau maith ;
Derfydd pechod mawr ei rwysg,
  A derfydd dyrys daith. W.

## 870 (579, 586) "*Cartrefle fy Anwylyd.*"

8au. 4ll.—Llantrisant. Osnaburg.

1 'NAWR 'r wy'n gwel'd yr ardal hyfryd,
  Hên gartrefle fy Anwylyd ;
Gwlad lle mae pob rhyw gysuron
Yn llifeirio fel yr afon.

2 Ffàrwel bellach, hên bleserau,
Dwyllodd f'ysbryd fil o weithiau ;
'N awr 'r wyf wedi ffeindio hawddfyd
Nad oes ynddo radd o ofid.

3 Cefais berl gwell nag o'r India,
Nef a daear fyth nis prisia ;
Iesu a'i drysor—dyna'i sylwedd ;
Nef y nefoedd yn y diwedd.

4 Fe ddaw'r dydd y câf fi ganu
Concwest bai oedd yn fy maeddu ;
Haleluwia nefol hyfryd,
Diwedd pechu, diwedd gofid.

5 Blwyddau hirion o ryfela
'N oruchafiaeth a derfyna ;
Fe dry galar am bob beiau
Yn Hosanna, ond eu maddeu. W.

## 871 (580, 587) RHAN II.

8au. 4ll.—Llantrisant. Antwerp.

1 FF'ENAID, crêd, anghofia'th ofid,
Edrych i'r ardaloedd hyfryd;
Hêd o'r byd sy 'mron a'th orfod,
Y mae gwleddoedd iti'n barod.

2 Dacw'r gwledydd hyfryd, helaeth,
Roddwyd imi'n etifeddiaeth;
Lle mae cariad pur yn llifo
Dros ardaloedd grâs heb flino.

3 Dacw'r wlad câf fi deyrnasu
Gyda'm hanwyl Brynwr Iesu,
Gwledda o'i gariad, gwel'd Ei wyneb,
Draw i derfyn tragwyddoldeb.

4 O! na fedrwn yno ddringad
Hanner gynted a'm dymuniad;
Mi awn gyda'r awel hyfryd
'Maes o'r byd i dir y bywyd. W.

## 872 (581, 588) RHAN III.

8au. 4ll.—Llantrisant. Osnaburg.

1 'RWYF yn clywed myrdd o seintiau
'N awr yn canu eu telynau,
Ac yn taro un Hosanna,
Dechreu anthem pen Calfaria.

2 Dengmil o delynau'n canlyn,
Cân heb ddechreu, cân heb derfyn,
Y cerubiaid gyda'r seintiau
Yr un sylwedd eu caniadau.

3 Minnau gâf fod yn eu cwmni,
Cyn pen gronyn yno'n canu,
Edrych gyda hwy yn wyneb
Disglaer Brenin tragwyddoldeb. W.

## 873 (951) *Y Nefoedd.*

8. 7. 8. 8. 7.—Y Nefoedd.

1 AR ol gofidiau dyrys daith,
A gorthrymderau filoedd,

Hyfrydol falm o nefol ryw
I'r wàn, flinedig, fynwes yw
Cawn orphwys yn y nefoedd.

2 Mor felus meddwl ambell awr,
Yn nghanol blîn dymhestloedd,
Os gwyntoedd geirwon geir o hyd
Tra'n hwylio tònog fôr y byd
Mae'n dawel yn y nefoedd.

3 Er loesau chwerwon anial fyd,
A llîd gelynion luoedd,
O fewn y byd tu draw i'r bedd,
Mewn annherfynol fôr o hedd,
Cawn nofio yn y nefoedd.

4 Cyfeillion ini heddyw sydd
O fewn y fro yn lluoedd,
Heb deimlo yno unrhyw loes
Na gofid blîn, na chur, na chroes,
Yn canu yn y nefoedd.

5 Er rhodio dyffryn galar prudd,
Ac wylo maith flynyddoedd,
Ein Duw a sŷch ein dagrau'n lân,
Ein galarnadau droir yn gân
Heb ddarfod, yn y nefoedd.

6 Hiraethu mae fy nghalon drist
Am wel'd y teg ardaloedd ;
Fy Nuw, fy Iesu, O fy Nhad !
A gâf fi dd'od i'r hyfryd wlad,
I'th foli yn y nefoedd ! I. G.

## 874 (590) *Galar ar ol cyfeillion.*

8. 7.—Lausanne. Expectation.

1 MAE 'nghyfeillion adre'n myned,
O fy mlaen, o un i un,
Gan fy ngadael yn amddifad,
Fel pererin wrtho'i hun.

2 Wedi bod yn hir gyd-deithio
Yn yr anial dyrys, maith,
Gormod iddynt oedd fy ngado
Bron ar derfyn eitha'r daith.

3 Wedi dianc uwch gelynion,
Croesau, a gofidiau fyrdd,
Maent hwy'n awr yn gwisgo'r goron,
Ac yn cario'r palmwydd gwyrdd.

4 Byddaf yn dych'mygu, weithiau,
Fry eu gwel'd yn Salem lân,
Ac y clywaf, ar rai prydiau,
Adsain odlau pêr eu cân.

5 Ond mae'r amser bron a dyfod
Y câf uno gyda hwy,
Yn un peraidd gôr diddarfod,
Uwch law ofn ymadael mwy. E. E.

## 875 (591) *Croesi yr Iorddonen.*

8. 7.—Lausanne. Expectation.

1 ENAID cu, mae dyfroedd oerion
Yr Iorddonen ddofn ger llaw;
Eto, gwêl, mae'r ddinas sanctaidd
Ar y làn yr ochr draw.

2 Yno mae dy hên gyfeillion,
Wedi dianc uwch pob clwy',
Yn dy aros, er cael cyfran
O'u dedwyddyd hyfryd hwy.

3 Paid âg ofni, bèr yw'r fordaith,
Ac mae'r Archoffeiriad cu
Yn dy aros yn y dyfroedd,
Er dy ddwyn i'r ddinas fry.

4 Clyw seraphaidd seiniau'n hedfan
Draw o frodir Seion fryn;
Gwêl ei heuraidd byrth yn agor
Drwy y niwl sy'n toi y glŷn.

5 Ffàrwel fyd, a ffàrwel deithio
Yn yr anial dyrys mwy;
Ffàrwel gnawd, a ffàrwel lygredd,
Ffàrwel boen, a phob rhyw glwy'.

6 Mae'r tywyllwch yn gwasgaru,
A'r goleuni yn cryfhau;
'N awr 'r wy'n gwel'd y pur drigfanau;
Hêd, fy enaid, i'w mwynhau. EDMESTON, *c.* E. E.

## 876 (592) *Digonolrwydd llawenydd yn y nef.*

8. 7. D.—Sanctus. Edinburgh.

1 Y MAE tragwyddoldeb ëang
'N awr yn ddisglaer o fy mlaen,
Ac 'r wyf finnau fel yn darfod
Â'r greadigaeth fawr yn lân.
Aeth fy nghartref hwn yn angof,
Oer a diflas yw e' i gyd,
Mae fy lle o heddyw allan
Mewn tragwyddol, nefol, fyd.

2 Nid oes terfyn ar flynyddau
Yn y wlad a welaf draw ;
Nid yw myrdd o oesoedd hirion
Yno'n unig ond llêd llaw ;
Sylwedd ydyw'r oll sy'n dyfod—
Oll sy'n dyfod sy'n parhau ;
Pethau gwych heb eu cymmysgu
Gâf ar fyrder eu mwynhau.

3 Yno erys fy nedwyddwch,
Heb gymmysgu, fyth yn un ;
Digyfnewid gwrthrych cariad,
Felly cariad pur ei hun ;
'R un fydd Duw i dragwyddoldeb—
Môr o gariad heb ddim trai ;
Fel Efe bydd fy hapusrwydd—
Ffrŵd lifeiriol yn parhau. W.

## 877 (593) Rhan II.

8. 7. D.—Edinburgh. Sanctus.

1 O! MOR hyfryd yw'r meddyliau
Fod yr amser hyny ar dd'od ;
Y mae'r hiraeth sy'n fy nghalon
Heb un terfyn iddo'n bod ;
'D all yr holl greadigaeth ëang,
Na'i gogoniant o un rhyw,
Lanw 'nghri, na llanw f' enaid,
Na dim arall ond fy Nuw.

2 Yno llenwir fy nymuniad,
Er ei faint, ac er ei gri,

Fy holl wagder wneir i fyny
  Gyda'r Duwdod—Un yn Dri ;
Mi gâf yfed o ffynhonau
  Gwir deddwyddwch, a'm dyfrhau
Â dadguddiad pur o fywyd,
  A llawenydd i barhau.

3 Mi gâf glywed cydsain hyfryd
  Digrëedig Dri yn Un,
Yn cyhoeddi heddwch nefol,
  Perffaith, wrthyf fi fy hun :
Saint, seraphiaid, ac angylion,
  Mewn rhyw gydsain bena' erioed,
Gyda mi yn seinio'r anthem
  Am anfeidrol, ddwyfol glôd. W.

## 878 (629) *Tragwyddol orphwysfa y saint.*

8. 7. D.—Dolwar.

1 O! DDEDWYDD ddydd ! tragwyddol orphwys
  Oddi wrth fy llafur, yn fy rhan,
Yn nghanol môr o ryfeddodau,
  Heb waelod, terfyn byth, na glàn :
Mynediad helaeth mwy i bara
  O fewn trigfanau Tri yn Un ;
Dwfr i nofio heb fyn'd trwyddo,
  Dyn yn Dduw, a Duw yn ddyn.

2 Byw heb wrês, na haul yn taro,
  Byw heb ofni marw mwy ;
Pob rhyw alar wedi darfod,
  Dim ond canu am farwol glwy' ;
Nofio yn afon bur y bywyd,
  Bythol heddwch sanctaidd Dri,
Dàn dywyniadau digymylau
  Gwerthfawr angeu Calfari. A. G.

## 879 (625) *Y porthladd dymunol.*

8. 7. D.—Dolwar.

1 MAE'r dydd yn d'od i'r hâd brenhinol
  I gael mordwyo tua'u gwlad,
O gaethiwed y priddfeini,
  I deyrnasu gyda'u Tad ;

Eu ffydd yno drŷ yn olwg,
  A'u gobaith eiddil yn fwynhâd;
Annherfynol fydd yr anthem,
  Dyrchafu'r Oen a'i werthfawr waed.

2 Bererin llesg gan rym ystormydd,
  Cyfod d' olwg, gwêl y wawr;
Yr Oen yn gweini'r swydd gyfryngol,
  Mewn gwisgoedd llaesion hyd y llawr:
Gwregys euraidd o ffyddlondeb;
  Wrth Ei odreu clychau'n llawn;
Llwyr faddeuant i bechadur
  Ar gyfrif Ei anfeidrol Iawn. A. G.

## 880 (623) *Gobaith gwynfydedig.*

8. 7. D.—Dolwar.

1 OS rhaid wynebu'r afon dònog,
  Mae un i dòri grym y lli',
Iesu, f' Archoffeiriad ffyddlawn—
  Dyna ddigon byth i mi;
Yn Ei waed câf waeddi, Concwest
  Ar angeu, uffern, byd, ar bedd!
Tragwyddoldeb byth heb bechu,
  Yn ogoneddus ar Ei wedd.

2 Yn lle cario corph o lygredd,
  Câf gyd-dreiddio â'r côr sydd fry
I ddiderfyn ryfeddodau
  Iachawdwriaeth Calfari;
Byw i wel'd yr Anweledig,
  Fu farw, ac sydd eto'n fyw;
Bythol, anwahanol undeb,
  A chymdeithas â fy Nuw.

3 Yno câf ddyrchafu'r Person
  A osododd Duw yn Iawn,
Heb ddychymyg, llèn, na gorchudd,
  F' enaid ar Ei ddelw'n llawn;
Yn nghymdeithas y dirgelwch
  Dadguddiedig yn Ei glwy',
Addoli'r Mab i dragwyddoldeb,
  Heb golli 'ngolwg arno mwy. A. G.

## 881 (742) *Trysor tu draw i'r Iorddonen.*

8. 7. 4.—Tamworth. Caio.

1 NID o'r ddaear mae fy mhleser,
Nid o'r ddaear mae fy ngrym,
Nid o'r ddaear mae'm llawenydd,
Tlawd wyf yma—'feddaf ddim :
'Draw'r Iorddonen,
Mae fy nghyfoeth a fy ngwlad.

2 Nef yw meddiant yr angylion,
Daear ydyw meddiant dyn ;
Ond fe ddarfu 'm ffydd i wneuthur
Nef a daear fawr yn un ;
'R wyf yn hòni
Hawl i'r oll sydd gan fy Nuw.

3 Mae fy enaid yn ehedeg,
Ac yn dringo i fyny fry ;
Mae fy esgyrn yn ymdrwsio
I lechu yn y ddaear ddu ;
Mi ddo'n gryno
Eto 'nghyd ryw ddydd a ddaw. W.

## 882 (726) *Undeb y nefoedd.*

8. 7. 4.—Peniel. Frankfort.

1 OS yw tegwch D'wyneb yma
Yn rho'i myrdd i'th garu'n awr,
'Beth a wna Dy degwch hyfryd
Yna yn nhragwyddoldeb mawr?
Nef y nefoedd
Dy ryfedda fyth heb drai.

2 Pa fath uchder rhêd fy nghariad?
Pa fath syndod fydd pryd hyn,
Pan y gwelwyf Dy ogoniant
Perffaith llawn ar Seion fryn?
Anfeidroldeb
O bob tegwch maith yn un.

3 Pa feddyliau uwch eu deall
Gâf fi yno ynwy' f'hun,
Wrth ystyried bod y Duwdod
Perffaith pur a minnau'n un?

Dyma gwlwm
Nad oes iaith a'i dôd i maes.

4 Cwlwm wnaed yn nhragwyddoldeb,
Sicr, cadarn, mawr ei rym,
Nas gall myrddiwn o flynyddau
'I dòri, neu ei ddattod ddim :
Gwna, fe bery
Tra parhao'm Duw mewn bôd.

5 C'lymau natur oll a friwir,
A'i chyfreithiau ânt yn ddim ;
Ond fy undeb i â'r nefoedd
Sydd yn llawer mwy ei rym :
Digyfnewid
Yw yn hollol fel fy Nuw. W.

## 883 (755) *Gwaredwr yn angeu a'r farn.*

8. 7. 4.—Bridport. Abbeycombe.

1 NID oes draw gyferbyn imi
Ddim ond tragwyddoldeb mawr,
Minnau'n morio tuag yno,
Nes-nes ato bob yr awr :
Ffàrwel bellach,
Bob gwrthrychau îs y rhôd.

2 Yno mae fy holl drysorau,
A fy nhlysau gwych eu rhyw ;
Yno mae f' addfwynaf Iesu,
Yno 'n unig mae fy Nuw :
O ardaloedd !
Yno mi gâf finnau dd'od.

3 Mae llawenydd yn fy nghalon,
Er bcd ofnau yn fy nghnawd,
Cwrdd â Barnwr byw a meirw,
Iesu 'Mhrynwr, Iesu 'Mrawd :
Mae'n ardderchog ;
Eto anwyl yw i mi.

4 Mae y cariad sy'n fy nghalon,
Mae y fflam sydd dàn fy mron,
Yn concwerio mil o ofnau,
Ofnau'r farn y funyd hon :

Trwy bob dychryn,
Iesu, Iesu yw fy rhan. W.

## 884 (727) Rhan II.

8. 7. 4.—Peniel. Frankfort.

1 FE ro'ed imi ddymuniadau
Nad oes dim o fewn y byd,
Yn y dwyrain a'r gorllewin,
A all hanner lanw 'mryd:
Tragwyddoldeb,
Yno llenwir fi yn llawn.

2 Mi gâf yno garu a fynwyf,
Cariad perffaith, pur, di-drai,
Cariad trwy ryw oesoedd mawrion
Nad ä fymryn bach yn llai:
Môr diderfyn,
Byth yn berffaith, byth yn llawn.

3 Mi gâf yno wel'd a garwyf,
Gwel'd fy Iesu, gwel'd fy Nuw,
Gynt fu farw ar y croesbren,
Heddyw'n ddisglaer, heddyw'n fyw:
Nef y nefoedd
Sydd yn suddo yn Ei hedd.

4 Mi gâf yn y wlad 'r wy'n myned
Waredigaeth lwyr o'm poen;
Gorphwys draw i derfyn gofid
Gyda'r addfwyn, anwyl Oen:
Ni ddaw tristwch,
Fyth i mewn dros furiau'r nef. W.

## 885 (774) *Y wlad nefol.*

8. 7. 4.—Hapus Dyrfa. St. Hildebert.

1 GWÊL uwch law cymylau amser,
O fy enaid! gwêl y tir,
Lle mae 'r awel fyth yn dyner,
Lle mae'r wybren fyth yn glir;
Hapus dyrfa!
Sydd yn nofio yn Ei hedd.

2 Ynddi tardd ffynhonau bywyd,
Trwyddi llîf afonydd hedd,

I ddyfrhau ei bröydd hyfryd,
Ac i anfarwoli ei gwedd :
Iachawdwriaeth
Ar ei glàn anedlir mwy.

3 Saethau 'r bedd ni allant esgyn
I'w hagosaf dalaeth hi,
Ac ni faidd y marwol elyn
Sangu ar ei rhandir, fry :
Cartref bywyd !
Cartref anfarwoldeb yw !

4 Troir awelon glỳn marwolaeth
Oll yn hedd tu yma i'r fàn,
Trŷ holl ocheneidiau hiraeth
Yn anthemau ar y làn ;
Syrth y deigryn
Olaf i'r Iorddonen ddu !

5 Nid oes yno neb yn wylo,
Yno nid oes neb yn brudd,
Troir yn fêl y wermod yno,
Yno rho'ir y caeth yn rhydd !
Hapus dyrfa
Sydd â'u trigfa yno mwy !

6 Mae fy nghalon brudd yn llàmu
O orfoledd dàn fy mron,
Yn y gobaith am feddiannu
Yr etifeddiaeth ddwyfol hon :
Hapus dyrfa
Sydd a'u gwyneb tua 'r wlad ! W. T.

## 886 (827) *Yr ardal nefol.*

8. 7. 3.—Asaph. Even Me.

1 DACW 'r ardal nefol, hyfryd,
Pwrcas poen a gwaed fy Nuw,
Gwlad mae hiraeth ar fy nghalon
Am fod heddyw yno'n byw,
Lle nad oes poen na loes,
Nac un cystudd chwerw, croes.

2 Mae myfyrio ar fy nghartref,
Mae myfyrio ar dŷ fy Nhad

Wedi'm gwneuthur i ddiflasu
Ar bleserau cig a gwaed :
'D oes i gyd yn y byd
Unrhyw beth a leinw 'mryd.

3 Nid yw'r ddaear a'i thrysorau,
Eilw 'i phlant yn werthfawr iawn,
Ddim yn abl llanw 'nghalon,
Na'm digoni byth yn llawn :
'Draw i'r bedd mae fy hedd,
Gyda 'Mhrynwr hardd Ei wedd. W.

## 887 (824) *Rhyfeddodau trefn grâs.*

8. 7. 3.—Stepney. James Street.

1 PAN b'o glaswellt gwyrdd y ddaear
Wedi methu d'od i'r làn,
Pan b'o tegwch dae'r lïosog
Wedi darfod yn mhob màn ;
Mi gâf wlad, hyfryd, râd,
Faith dragwyddol ei pharhâd.

2 Fe agorir imi yno
Ryw ëangder maith heb ri'
O ddirgelion na ddeallir
Heddyw ar ein daear ni :
Cariad rhâd, yn y Tad,
A ddadguddiwyd yn y gwaed.

3 Fe amlygir rhyw ogoniant
Na ddeallodd calon dyn
Yn yr iachawdwriaeth ëang—
Dyfais Duwdod mawr Ei Hun :
Ar y llawr, neb yn awr
Ni all ddàl fath bethau mawr.

4 Pa mor ddwyfol, pa mor hyfryd,
Pa mor orfoleddus fydd,
Pan dywyno gyntaf allan
Fore 'r tragwyddoldeb ddydd,
'Gael mwynhau, heb ddim trai,
Bethau bellach f'o'n parhau. W.

## 888 (826) *Hyfrydwch y nefoedd.*

8. 7. 3.—Gounod. Even Me.

1 DACW 'r hyfryd fàn câf drigo,
Gwn câf drigo cyn b'o hir,
'Draw i'r bryniau oer, tymhestlog,
Yn y sanctaidd, hyfryd, dir :
Gwela'n awr foreu wawr
Glir, o dragwyddoldeb mawr.

2 Ni gawn yno wel'd a garwn,
Mewn gogoniant llawer mwy
Nag y'i gwelsom ar y croesbren
Dàn Ei farwol, ddwyfol, glwy' ;
Lluoedd mawr sydd yn awr
Yn Ei garu bob yr awr.

3 Ni gawn wel'd a'i carodd yma
Yn y màn yr ochr draw,
Oll yn gwledda ar Ei gariad,
A'u telynau yn eu llaw :
Oll yn un, a chyttûn,
Molant Dduwdod yn y dyn. W.

## 889 (867) *Concwest ar elynion.*

7. 4.—Dychweliad.

1 TEITHIO 'r wyf fynyddau maith,
Dyrys, anial ;
A gelynion ar fy nhaith,
Sy'n fy attal :
Ond mi wela'm hyfryd wlad
Trwy'r ëangder ;
Ac i mewn i dŷ fy Nhad
Dôf ar fyrder.

2 Mi gâf goncwest yno'n lân
Ar elynion—
Nwydau oedd yn curo o'r blaen
Arna'i 'n gysson :
Ni ddaw pechod o un rhyw
Fyth i'm blino,
Na'r demtasiwn oreu 'i lliw
I mewn yno.

3 Ond llawenydd fel y môr
Sy wrth Ei orsedd,
A thangnefedd ddwyfol stôr
Fyth heb ddiwedd :
Mi gâf ddrachtio'r hyfryd hedd—
Ffynnon bywyd,
Sydd yn tarddu o waelod bedd
Fy Anwylyd. W.

## 890 (868) *Canu am y gwaed.*

7. 4.—Dychweliad.

1 CENIR yno am y gwaed
Gliriodd feiau ;
Am y goncwest fawr a gaed
Ar Galfaria :
Gan Ei fyn'd i lawr i'r bedd,
A chyfodi,
Gwelir miloedd ar Ei wedd
Yn Ei foli. H. AB I.

## 891 (883) *Gogoneddiad y saint.*

7. 6. 5.—Trefdraeth. Trefforest.

1 HENFFYCH i'r boreu hyfryd
'Ddaw gelyn byth nac adfyd,
I dir y bywyd fry :
Y seintiau ddaw 'nghyd
Bob wyneb i'r byd,
Yn unfryd yno i ganu.

2 Fry yn Nghaersalem dawel,
Yn mhell o sŵn y rhyfel,
Câf uchel ganu clôd :
Fy nefoedd ddi-boen
Fydd gweled yr Oen ;
Fe dderfydd sôn am bechod.

3 Gwneir diwedd ar bob blinfyd,
Fy nghystudd mawr a'm hadfyd,
Yn nhir y bywyd fry ;
Tragwyddol fwynhâd,
Yn nheyrnas fy Nhad,
Heb unrhyw frâd i'm drygu.

4 Mi gysgaf hûn yn dawel,
Dros ennyd yn y grafel,
Nes dattod trefn y rhôd ;
Ac yna mewn hedd
Cyfodaf o'm bedd,
Ar ddisglaer wedd fy Mhrïod. M. R.

## 892 (901, 910) *Ffrydiau gorfoledd y gwaredigion.*

9. 8.—Bethel. Capel Newydd.

1 MAE ffrydiau 'ngorfoledd yn tarddu
O ddisglaer orseddfainc y ne' ;
Ac yno esgynodd fy Iesu,
Ac yno yr eiriol Efe :
Y gwaed a foddlonodd gyfiawnder
Daenellwyd ar orsedd ein Duw,
Sydd yno yn beraidd yn erfyn
I ni, y troseddwyr, gael byw.

2 Cawn esgyn o'r dyrys anialwch,
I'r beraidd Baradwys i fyw ;
Ein henaid lluddedig gaiff orphwys
Yn dawel ar fynwes ein Duw :
Dihangfa dragwyddol geir yno
Ar bechod, cystuddiau, a phoen,
A gwledda i oesoedd diderfyn
Ar gariad annhraethol yr Oen.

3 O fryniau Caersalem ceir gweled
Holl daith yr anialwch i gyd ;
Pryd hyn y daw troion yr yrfa
Yn felus i lanw ein bryd ;
Cawn edrych ar stormydd, ac ofnau,
Ac angeu dychrynllyd, a'r bedd,
A ninnau'n ddïangol o'u cyrhaedd,
Yn nofio mewn cariad a hedd. D. C.

## 893 (904, 905) *Hiraeth am Salem.*

9. 8.—Eirinwg. Elliot.

1 O! SALEM, fy anwyl gartrefle,
Mae'th enw'r pereiddiaf erioed :
'Bryd derfydd fy llafur a'm lludded
O'th fewn mewn llawenydd a chlôd ?

Pa bryd caiff fy llygaid i weled
  Dy byrth sydd o berlau mor ddrud,
A'th eurwych heolydd glân, disglaer,
  A'th furiau sy'n sefyll o hyd ?

2 Caersalem, ti ddinas fy Arglwydd,
  Pa bryd i'th gynteddau ca'i dd'od,
Lle na fydd cyn'lleidfa yn ysgar,
  Na diwedd i'r Sabbath yn bôd ?
Dedwyddwch digymmysg sydd yno,
  Ni phrofwyd yn Eden mo'i ryw,
A llewyrch mwy tanbaid na'r haulwen,
  Sef llewyrch o orsedd fy Nuw.

3 O ! drigfan deg, dawel, a dedwydd,
  'R wy'n cyrchu yn ddyfal i'th gôl ;
Yn fuan fe'm gwelir i drosodd,
  A'r gwyntoedd ystormus ar ôl ;
Pa ham y mae cystudd neu adfyd,
  Neu angeu, yn peri'r fath fraw ?
Mae'r tir addawedig mewn golwg,
  Mae'r Ganaan dragwyddol ger llaw.

4 Mae yno gantorion ardderchog,
  A'u Ceidwad yw sylwedd eu sain ;
A'm brodyr sydd yma gânt esgyn
  Yn fuan i ganol y rhai'n :
O ! Salem, fy nghartref anwylaf,
  I'th fewn mae fy enaid am dd'od ;
Ac yno fy llafur a dderfydd
  Mewn cân orfoleddus a chlôd. *c.* D. CS.

## 894 (917) *Gogoniant yr Iesu yn y nefoedd.*

8au. 8ll.—Salome.

1 MAE 'r lle sancteiddiolaf yn rhydd,
  Fe rwygodd f' Anwylyd y llèn,
'Fe yw Haul y Cyfiawnder y sydd
  Yn goleuo'r holl nefoedd uwch ben :
Mae'r dyrfa'n anfeidrol o faint,
  Ac eto ni welaf mo'r un,
Angylion, seraphiaid, na saint,
  Neb fel fy Anwylyd Ei Hun.

2 Mae'n eistedd yn nghanol y llu
Sy â'u nifer fel glaswellt y maes,
Yn helaeth yn rhoddi i bob un
Ogoniant, a harddwch, a grâs ;
Fel haul yn yr wybren a f'ai
Yn t'wŷnu ar fyrddiwn o sêr,
A'i wrês, a'i oleuni ddim llai—
Fel hyn mae gogoniant ein Nêr.

3 Tuag ato mae wyneb Ei saint,
Oddi amgylch yn rhês ar ôl rhês ;
Cwmpeini aneirif o faint,
Rhai 'mhellach oddi wrtho, rhai'n nês :
Disgleirdeb ein Harglwydd ä 'mhell—
Mil pellach na'r haul yn ei rôd :
Y pellaf mwynhâ Ef yn well
Nag allwyd amgyffred erioed.

4 'D oes angel, na seraph, na sant,
Byth yno'n disgleirio ei hun ;
Pe ciliai f' Anwylyd i bant,
Fe d'w'llai, fe dduai pob un ;
Ef yw Afon y Bywyd sydd fry,
A'r Manna cuddiedig a drud ;
Efe yw hyfrydwch y llu—
Fy Iesu yw'r nefoedd i gyd. W.

## 895 (923) *Gogoniant yr Iesu yn y nefoedd.*

8au. 8ll.—Cleveland. Arabia.

1 Y GOLEUNI sy'n ninas ein Duw,
Sy tu hwnt i amgyffred un dyn,
'D oes neb all ei weled, a byw,
Ond y dorf ogoneddus ei hun :
'D yw grisial yn ngolwg yr haul,
Neu wydr f'ai lawer mwy pur,
I lewyrch y nefoedd ddim ail :
Fy Iesu yw'r ffynnon yn wir.

2 Mae yno Dri Pherson yn bôd,
Ac eto mewn sylwedd ond Un,
Gogyfuwch mewn gallu a chlôd,
I wared plant Adda'n gyttûn ;

Yn hyn rhyw ddyfnderoedd y sy
  Rhy fawrion i'w chwilio hwy 'mlaen,
Yn drech na hwynt-hwythau sy fry
  I'w gwybod hwy allan yn lân.

3 'D oes mesur amseroedd byth fry,
  Dim oriau cyffelyb i'r byd ;
Myn'd heibio ryw oesoedd y sy
  Wrth ganu i'r Drindod ynghyd ;
'R holl nefoedd, wrth weled Ei râs,
  Sy'n sỳnu, yn canu'n fwy hy'
Ganiadau newyddion eu blâs :
  Wel, dyna'r digrifwch sydd fry. W.

**896** (925) *Gogoniant yr Iesu yn y nefoedd.*

8au. 8ll.—Salome. Cleveland.

1 ANGYLION, seraphiaid, a saint,
  Wrth ganu'n soniarus ynghyd,
Eu hadsain sydd cyfuwch ei faint,
  Mae'n crỳnu'r holl nefoedd i gyd :
Neb yno yn glaiar ei gân,
  Neb yno'n addoli mewn rhith ;
A'u c'lonau sy'n llosgi fel tân,
  A gwỳn fyd na ba'wn yn eu plith.

2 Caniadau newyddion sydd fry,
  Tybygwn i glywed eu llef :
Fy enaid blinedig i sy
  Am ddysgu cerddoriaeth y nef :—
"'R anrhydedd, a'r gallu, a'r clôd,
  A'r parch, a'r gogoniant, a'r bri,
Yr awr hon fel ag y bu erioed,
  I'n Harglwydd yn Un ac yn Dri."

3 Pan gofiont eu dyddiau'n y byd,
  A'r amryw dymhestloedd o'r blaen,
Ennyna'u hysbrydoedd i gyd
  Yn fflamau angerddol o dân :
Gwel'd i Iesu, er cymmaint eu bai,
  Eu c'odi o bydew mor ddu ;
P'odd gall eu calonau hwy lai
  Na seinio Jerusalem fry ?

4 Pan gofiont drachefn y dydd
Y'u galwyd o'r t'w'llwch i maes,
Dadgloed eu gefynau yn rhydd,
A'r carchar yn seinio, "Rhâd râs!"
Pwy allai byth beidio rho'i clôd,
Dàn olwg o ryddid mor fawr?
Wel, dyna'r caniadau sy'n bôd—
Gogoniant trwy'r nefoedd a'r llawr! W.

## 897 (926) *Gogoniant yr Iesu yn y nefoedd.*

8au. 8ll.—Salome. Cleveland.

1 WRTH gofio dichellion y ddraig,
A'i maglau mor aml a'r dail,
A'u taenu yn erbyn y wraig,
A'u tòri gan Adda yr Ail,
A'i weled E'n awr yn y nef,
A'r bradwr hên obry yn y llyn;
Hwy ganant nes dawnsio'r holl le:
P'le arall mae canu fel hyn?

2 Wrth gofio drachefn am hyn,
Ei glwyfau, a chwerwder Ei loes,
A'i guro ar Galfari fryn,
Ei eiriau diwedda' ar y groes;
Y ddaear, ac uffern, a'r bedd,
Ac angeu a'r gyfraith ynghyd,
Yn cwympo gan archoll Ei gledd,
Gwych folir Iachawdwr y byd!

3 Os ydyw rhai seintiau'n rho'i tro
I waered i'r bydoedd îs nen,
'D oes byth fyn'd o'u golwg a'u co'
Ogoniant eu Harglwydd uwch ben!
Mae Ef yn bresennol bob awr,
Iddynt yma fel canol y ne',
Fe'i gwelant mewn nefoedd a llawr:
Mae'm Iesu yn llanw pob lle. W.

## 898 (927) *Gogoniant yr Iesu yn y nefoedd.*

8au. 8ll.—Salome. Cleveland.

1 Y RHAI a'i canlynodd Efe
Trwy'r ffauau a'r fflamau'n ddi-grỳn,

Y rhai gynt a nofiasant i'r nef
  Mewn afonydd o'u twymn waed eu hun,
Sy'n awr yn cael myned yn mlaen
  Yn ëofn at orsedd yr Iôn ;
A chanu bob amser y maent
  Ganiadau newyddion i'r Oen.

2 'Ddaw syched, na newyn, na phoen,
  Na gofid, na galar, na chlwy',
Nac anwyd, yn nheml yr Iôn,
  Na gwrês idd eu blino byth mwy :
Mae yno adenydd fy Iôn
  Yn taenu fel nefoedd ar lêd,
Yn cuddio prïodferch yr Oen :
  O ! f'enaid, i fyny ehêd.

3 'R wy'n teimlo rhyw hiraeth a chwant
  Gwel'd dattod fy mhabell o'i lle,
A hedeg yn union i bant,
  Fel 'deryn, i ganol y ne' ;
A neidio i mewn yno i blith
  Y dyrfa sy â'u gwisgoedd yn wỳn,
A chanu i'm Harglwydd i byth
  Fu farw ar Galfari fryn. W.

---

## ACHLYSURON NEILLDUOL.

### 1.—*DIRWEST.*

**899** (63) *O! plygwch oll!*

M. H.—Melcombe. Eisenach.

1 O ! PLYGWCH oll y gliniau 'nghyd,
  Mae Duw yn d'od i barthau'r byd ;
Disgleirdeb Ei ddyfodiad mawr
A dafla Babel gref i lawr. J. P.

**900** (60) *Par'towch y ffordd.*

M. H.—Melcombe. Eisenach.

1 PAR'TOWCH y ffordd mae Duw yn d'od,
  I'w enw glân rho'wch uniawn glôd ;
Mae sŵn cerbydau aur y nef
Yn rhwygo bryniau daear gref.

2 Pwy sydd ar du yr Arglwydd Iôr?
Nesewch! nesewch! i'r grymmus gôr,
Sy'n myn'd i daflu Babel fawr
O'i huchel le i lwch y llawr. J. P.

## 901 (70) *Baner sobrwydd.*

M. H.—Rockingham. Carey.

1 YN mlaen ni awn dàn ganu 'nghyd
Er gwaethaf gŵg a gwawd y byd;
Mae'n fraint i ni gael dwyn y groes
Dàn faner sobrwydd hyd ein hoes.

2 Ceir golwg hyfryd, cyn b'o hir,
Ar holl derfynau maith ein tir;
Bydd peraidd ganu am y gwaed,
A'r gelyn medd'dod dàn ein traed. AN.

## 902 (71) *Cwymp Babel.*

M. H.—Rockingham. Carey.

1 MAE Babilon yn crŷnu 'n wir,
Mae 'n rhwym o gwympo cyn b'o hir;
O Arglwydd! brysia, rhwyga 'r llèn,
Boed Seion bur drwy 'r byd yn ben. *Cas.* J. H.

2 Mae'r seithfed dydd, a'r seithfed awr,
Yn agoshau ar Babel fawr;
Fe syrth ei muriau bob yr un
O flaen efengyl Mab y dyn. B. F.

## 903 (213) *Am yr Ysbryd Glân.*

M. S.—Morganwg. Persia.

1 YMDAENED sobrwydd dros ein bro,
A chrefydd lwyddo ynddi;
Fel hyn, bendithion Duw bob dydd
Ddônt yn gawodydd arni. *Cas.* T. LE.

2 Tywallt, O Dduw! ar fŷr o dro,
Dy Ysbryd o'r uchelder;
Fel b'o'r anialwch oll yn wir
Yn ddoldir mewn ffrwythlonder. *Cas.* DE.

## 904 (279) *Baner Dirwest.*

M. C.—Gloucester. St. Ann.

1 MAE baner Dirwest ar y maes
A phechod câs yn ffoi;

Ac o du sobrwydd wele'n awr
Mae'r frwydr fawr yn troi.

2 I lawr daw'r eilun yn ddi-barch
Fel Dagon wrth Arch Duw,
Ac fe ddilëir cyn b'o hir
Ei goffa o dir y byw. *Cas.* R. E.

3 Fe ymddangosodd grâs ein Duw,
Gan ddwyn newyddion da,
Am iachawdwriaeth fawr ei dawn
I fyd sy'n llawn o blâ. *Cas.* T. LE.

## 905 (525) *Dirwest.*

6. 8.—Waterstock. Wesley.

1 O! TYWALLT ar ein gwlad
Dy fendith, Arglwydd mawr!
Grym medd'dod, yn ddiwâd,
A gwympo 'n llwyr i lawr:
Boed iddo deimlo marwol glwy',
Fel na b'o sôn am dano mwy.

2 Ei amddiffynfa sydd
Yn siglo, er mor gref:
Ar ddarfod mae ei ddydd—
Mae 'r nef i'w erbyn ef:
Ymrestrwn oll yn fyddin wiw—
Awn yn y blaen—o'n tu mae Duw!

3 Fe gân telynau 'r nef,
Ar gwymp y gelyn mawr,
Bêr anthem hyfryd lef—
Cyduna lla y llawr:
Ceir miloedd yn moliannu 'nghyd,
Am ei alltudio ef o'r byd. "JONADAB."

## 906 (515) *Y wawr yn tòri.*

6. 8.—Beverley. Darwell.

1 MAE 'r wawr yn tòri draw,
A'r t'w'llwch yn ysgoi;
Mae Babel fawr mewn braw,
A'r llew rhuadwy'n ffoi!
Fe ddaw, fe ddaw y Jubil fwyn,
Pan chwery'r blaidd yn mhlith yr ŵyn. J. P.

## 907 (550) *Bendith Duw.*

6. 6. 4.—Malvern. Moscow.

1 DY fendith Di, O Dduw !
Ar ein llafurwaith, yw
Ein gobaith ni ;
Boed ini'n fuan iawn
Gael buddugoliaeth lawn,
Ac yna, rhoddi wnawn
Y clôd i Ti. R. JS.

## 908 (645) *Llwybrau Dirwest.*

8. 7. D.—Mendelssohn. Argoed.

1 HEDD a gwynfyd sydd yn llifo
Dros dy lwybrau, ddirwest lòn ;
Blodau gobaith sy'n adfywio,
'Rhai oedd wedi gwywo bron ;
Clyw'r hyfrydlais—clyw'r afradlon,
Tòr d' amheuon, tyred mwy ;
Daw â hedd i lòni 'th galon,
Daw â balm i wella' th glwy'. W. T.

## 909 (642) *Cwymp Babilon.*

8. 7. D.—Argoed. Mendelssohn.

1 BABEL gwympa, er ei chryfed,
Dagon syrth, er maint ei barch ;
Nid oes elyn ddichon sefyll
O flaen Iôr a'i gadarn arch :
Hollalluog yw Duw Israel,
Arglwydd lluoedd llawr a nen ;
Caerau Jericho a syrthiant
Pan ddaw'r seithfed tro i ben.

2 Clywir sŵn yn mrîg y morwydd,
Deulu Seion, ymgryfhewch ;
Wele'r wawr yn dechreu c'odi,
Haleluwia, llawenhewch :
Fe udgenir trwy'r holl ddaear
Udgorn mawr efengyl hedd,
" Syrthiodd Babel, syrthiodd Babel,
Mwy nis gwelir ond ei bedd." D. HUM.

## 2.—*Y CYNHAUAF.*

*Y mae y Pennodau canlynol yn gymmwys i'w darllen yn y Cyfarfodydd :—*

2 *Brenhinoedd* iv., vi., vii. *Salmau* xix., xlvi., xlvii., lxv., lxvii., ciii., civ., cv., cvii., cxviii., cxlv., cxlvi., cxlvii. *Esaiah* xxxii., xxxv. *Galarnad* i., ii., iii., iv., v. *Ioel* ii., iii. *Amos* iv. *Haggai* ii. 1 *Thessaloniaid* v.

### 910 (13) *Diolch i'r Drindod.*

10au.—Emyn Hwyrol. Berlin.

1 TYDI, O Dad ! deilyngi glôd di-lŷth,
Am roddi 'n hael fendithion rif y gwlith ;
Cynhauaf llawn a roddaist ini 'n rhâd—
Diolchwn am Dy ddoniau oll i'n gwlad.

2 I Ti, y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân !
Y Tri yn Un ! y rhoddwn fawl ar gân,
Am roddion rhâd Dy ddoeth ragluniaeth fawr,
A doniau 'th râs, i ni euogion llawr ! WM. WMS.

### 911 (35) SALM C.

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 I'R Arglwydd cenwch lafar glôd,
A gwnewch ufudd-dod llawen fryd ;
Dowch o flaen Duw â pheraidd dôn,
Trigolion daeár fawr i gyd.

2 Gwybyddwch mai Efe sydd Dduw,
A'n gwnaeth ni'n fyw fel hyn i fôd ;
Nid ni ein hun ; Ei bobl ŷ'm ni,
A defaid rhi' Ei borfa a'i nôd.

3 O ! ewch i'w byrth â diolch brau,
Yn Ei gynteddau molwch Ef ;
Bendithiwch Dduw, 'r Hwn sydd erio'd,
Rho'wch iddo glôd drwy lafar lef.

4 Can's da yw'r Arglwydd, Awdwr hedd,
Da Ei drugaredd a di-lŷth ;
A'i lân wirionedd ini ro'es,
O oes i oes a bery byth. E. P.

### 912 (80) *Tymmor sŷch.*

M. H.—Boston. Ernan.

1 YMDDAROSTYNGWN dàn law Duw,
Fe ddichon eto'n cadw'n fyw ;

Er ini haeddu gŵg y nef,
Mae aml ymwared gydag Ef.

2 Cyfranwr mawr y gwlith a'r gwlaw,
A phob rhyw fendith ini ddaw,
O! cofia'n daear, clyw ein llef,
I'w mwydo â chawodydd nef.

3 Yr y'm yn beiddio gofyn hyn—
Ein holl gamweddau ymaith tŷn;
Bydd foddlawn ini byth er mwyn
Dy unig Fab, a gwrando'n cŵyn.

4 O! gwlawia ar y crindir crâs,
Iacha ein llesgedd trwy Dy râs;
Adfywia ein heneidiau gwyw,
Fel y moliannom Di, ein Duw. M. D.

## 913 (136) Salm cxiii. 1—9.

8. 8. 8.—Nashville. St. Paul's.

1 CHWI, weision Duw, rho'wch fawl i'r Iôn,
Rho'wch fawl i'w enw â llafar dôn,
Bendigaid fyddo Ei enw Ef;
O g'odiad haul hyd fachlud dydd
Mawr enw'r Iôn moliannus fydd,
Yn y byd hwn ac yn y nef.

2 Dyrchafodd Duw uwch yr holl fyd,
A'i foliant aeth uwch nef i gyd:
Pwy sydd gyffelyb i'n Duw ni?
Yr hwn a breswyl yn y nef,
I'r ddaear hon ymostwng Ef;
Gwel Ef ein cam, clyw Ef ein cri.

3 Yr Hwn sy'n codi'r tlawd o'r llwch,
A'r rheidus o'i drueni trwch,
I'w gosod uwch penaethiaid byd;
I'r ammhlantadwy mae'n rhoi hâd,
Dedwyddwch, cyfoeth, a mawrhâd;
Am hyn moliennwch Dduw i gyd. E. P.

## 914 (166) *Duw Trugarog.*

8. 8. 6.—Llanelli. Howden.

1 O ARGLWYDD Iôr! mor aml yw
Dy ddoniau rhâd i ddynol-ryw,
Er ein gwrthryfel ni;

Gan frasder wele 'th lwybrau'n llawn,
A'th ffyrdd sydd yn fendithiol iawn,
Trugarog ydwyt Ti.

2 Â choron o'th ddaioni 'n llon,
Coronaist Ti y flwyddyn hon,
Âg addfed ffrwyth di-ri' ;
Y maes, y llwyn, a'r anial dir,
A wisgaist â hyfrydwch clir,
Trugarog ydwyt Ti.

3 O! arwain ni â'th Ysbryd Glân,
I'th foli â soniarus gân,
Can's gweddus yw i ni ;
A boed ein llais o hyd, a'n llef,
Am gael o fara pur y nef ;
Trugarog ydwyt Ti. J. P.

## 915 (223) *Tymmor gwlyb.*

M. S.—Dyfroedd Siloah. Cemmaes.

1 DAIONUS a thosturiol iawn,
A graslawn, ydwyt, Arglwydd ;
Dy râd drugaredd, yn ddïau,
Sydd yn parhau'n dragywydd.

2 Wrth rai annheilwng o gael byw,
O Arglwydd Dduw ! tosturia,
Ac arbed eto y flwyddyn hon,
Na thòr mo ffon ein bara.

3 O'th râs tosturia wrth rai ffôl,
Haeddiannol o Dy gerydd ;
Dy fendith ar y wialen dôd,
Dysg ini fod yn ufudd.

4 Duw, dôd orchymyn oddi fry
I chwalu y cymylau ;
Can's os gorchymyn genyt gânt,
Attaliant eu costrelau. J. H.

## 916 (220) *Mawl am ddoniau tymhorol.*

M. S.—Dyfroedd Siloah. Cemmaes.

1 I TI, O Dduw ! y gweddai parch,
Gwna pob peth arch Dy orsedd ;

Ti bïau'r haul, y gwlaw, a'r gwlith,
A'r fendith fawr ei rhinwedd.

2 Ti sy'n addfedu cnwd y maes,
Tydi o'th râs sy'n trefnu
Pob dydd o'r tymmor oll, a'i rîn,
A hyfryd hîn i gasglu.

3 Am haul a lleuad, gwynt a gwrês,
Am wlaw, yn gynnes canwn ;
Am borthi pob creadur byw,
Ti, Arglwydd Dduw, addolwn. R. J.

## 917 (230) *Cynhauaf tymherus.*

M. S.—Dominus regit me. Glanceri.

1 GOFALA Duw a Thad pob dawn
Yn dyner iawn am danom ;
Mae'n tai yn llawn o'i roddion rhâd
O! boed Ei gariad ynom.

2 Y cynnar wlaw a'r tyner wlith
Ddiferant fendith iraidd ;
Y ddaear rŷdd ei ffrwythau da,
A'r haul gyfrana 'i rinwedd.

3 Am ffrwythau hael y flwyddyn hon
A'i mawrion drugareddau,
Moliannwn enw Duw bob dydd
Gan iawn ddefnyddio 'i ddoniau. B. F.

## 918 (197) Salm xxxiv. 1, 5—8, 17.

M. S.—Oldenburg. Trallwm.

1 DIOLCHAF fi â chalon rwydd
I'r Arglwydd bob amserau ;
Ei foliant Ef, a'i wir fawrhâd,
Sy'n wastad yn fy ngenau.

2 Y sawl a edrych arno Ef
Â llewyrch nef eglurir :
O honynt ni w'radwyddir neb,
A'u hwyneb ni ch'wilyddir.

3 Y truan hwn a roddes lef,
A Duw o'r nef yn gwrando,
Ac a'i gwaredodd o'i holl ddrwg,
A'i waedd oedd amlwg iddo.

4 Mae Angel Duw yn troi yn gylch
O amgylch pawb a'i hofnant ;
Fe'u ceidw hwynt ; a llawer gwell
Na chastell fydd eu gwarant.

5 O ! profwch, gwelwch, mor dda yw
Yr Arglwydd Dduw i'w eiddo ;
A gwŷn ei fyd pob dyn a grêd
Ro'i ei ymddiried ynddo.

6 Ein Duw sydd agos iawn at gur
Y galon bur, ddrylliedig ;
A da y ceidw Ef bob pryd
Yr ysbryd cystuddiedig. E. P.

## 919 (190) SALM XXXVI. 5, 6, 10.

M. S.—Sabbath. Dyfrdwy.

1 DY fawr drugaredd, f' Arglwydd Iôn,
Sydd hyd eithafion nefoedd :
A'th bur wirionedd sydd yn gwau
Hyd y cymylau dyfroedd.

2 D' uniondeb sydd fel mynydd mawr,
Dy farn fel llawr yr eigion :
Dy nerth fyth felly a barhâ
I gadw da a dynion.

3 O ! estyn eto i barhau
Dy drugareddau tirion ;
Ni a'th adwaenom Di, a'th ddawn
I'r rhai sydd uniawn galon. E. P.

## 920 (198) SALM LXV. 6—13.

M. S.—Oldenburg. Trallwm.

1 DUW a sicrhâ bob uchel fryn
Â'i wregys yn gadernid ;
Hwn a ostega'r môr a'i dòn,
A rhuad eigion enbyd.

2 Dyfrhau y ddaear sêch yr wyt—
Dy afon lànwyd drosti ;
Darperaist lifddŵr 'r hyd ei llawr
I'w thra mawr gyfoethogi.

3 Pob rhŷch yr wyt yn ei ddyfrhau,
A'i chŵysau'r wyt i'w gostwng :

A'i mwydo â chawodau gwlith
I'w chnŵd rho'i fendith deilwng.

4 Coroni'r ydwyt Ti fel hyn
Y flwyddyn â'th ddaioni :
Ac yn Dy gariad, Duw fy Nêr !
Diferaist frasder arni.

5 Drwy'th fendith Di, y gwastad-dir
A guddir oll â defaid ;
Crechwenant, canant bawb ynghyd,
A'r wlad âg ŷd ei llonaid. E. P.

## 921 (189) Salm xcv. 1, 2, 3.

M. S.—Sabbath. Dyfrdwy.

1 DOWCH, canwn fawl i'r Iôn yn rhwydd
Efe yw llwydd ein bywyd ;
Ymlawenychwn yn Ei nerth,
Ef yw ein prydferth iechyd.

2 O ! down yn unfryd ger Ei fron,
Â chalon bur ddiolchgar ;
Ar frŷs at Dduw, dàn lawenhau,
Awn, canwn salmau'n llafar.

3 O herwydd Arglwydd nef a llawr
Y sy Dduw mawr yn ddïau ;
Tywysog mawr yw Ef mewn trîn,
A Brenin yr holl dduwiau. E. P.

## 922 (227) Salm civ. 28, 30, 31, 33.

M. S.—Dominus regit me. Glanceri.

1 DUW, pan agorech Di Dy law,
Oddi yno daw daioni ;
Pob rhyw anifail, a phob peth,
A ddaw yn ddifeth ini.

2 A phan ollyngech Di Dy râd,
Fel rhoddi crëad newydd :
Y modd hyn wyneb yr holl dir,
A adnewyddir beunydd.

3 Yr Arglwydd gogoneddus fydd,
Trwy fawr lawenydd bythoedd ;
Yr Arglwydd yn ddïau a fedd
Orfoledd yn y nefoedd.

4 I'r Arglwydd canaf yn fy myw,
Rho'f fawl i'm Duw tra fyddwyf,
Ymlawenychaf yn fy Iôn,
Bydd ffyddlon hyn a wnelwyf. E. P.

## 923 (178) SALM CVII. 1, 2, 22.

M. S.—Llangranog. Langdale.

1 YR Arglwydd molwch can's da yw,
Moliennwch Dduw ein llywydd;
O blegid Ei drugaredd fry
A bery yn dragywydd.

2 Y gwaredigion canent fawl,
I Dduw gerdd nodawl gysson:
Y sawl achubwyd, caned hyn,
O law y gelyn creulon.

3 Aberthant hefyd aberth mawl
I'w ogoneddawl fawredd;
Mynegu wnant Ei waith a'i wyrth
Yn Ei byrth mewn gorfoledd. E. P.

## 924 (195) SALM CXI. 1, 4, 5.

M. S.—Trallwm. Oldenburg.

1 CLODFORAF fi fy Arglwydd Iôn,
O 'wyllys calon hollol,
Mewn cynnulleidfa ger eu bron
Mewn tyrfa gyfion rasol.

2 Yr Arglwydd barodd Ei goffau
Am ryfeddodau nerthol;
Can's Arglwydd noddfawr yw i ni,
Llawn o dosturi grasol.

3 Ef i bob rhai a'i hofnant Ef,
Rŷdd gyfran gref at fywyd;
Ac yn dragywydd y mỳn fod
Côf o'i gyfammod hefyd. E. P.

## 925 (181) SALM CXVII. 1, 2.

M. S.—Llangranog. Langdale.

1 O! CENWCH fawl i'r Arglwydd nef,
Moliennwch Ef, genhedloedd;
Ei enw molwch trwy y byd,
A chwithau i gyd, y bobloedd.

2 Am Ei fod ini yn dda iawn,
Yr Arglwydd llawn trugaredd ;
A'i air Ef sydd yn para byth,
Sef Ei ddi-lŷth wirionedd. E. P.

## 926 (188) Salm cxlv. 1, 8—10, 15, 16, 21.

M. S.—Sabbath. Dyfrdwy.

1 MI a'th fawrygaf Di, fy Nuw,
Am mai Tydi yw 'm llywydd ;
Bendithio D'enw byth a wnaf,
A molaf E'n dragywydd.

2 Sef graslawn yw ein Harglwydd ni,
Ac o dosturi rhyfedd ;
Hwyr ac anniben yw i ddîg,
Llawnfrydig i drugaredd.

3 Da yw yr Arglwydd i bob dyn,
A'i nodded sy'n dyciannol ;
Ac ar Ei holl weithredoedd Ef
Daw nawdd o'r nef yn rasol.

4 Dy holl weithredoedd Di i'th lwydd
O Arglwydd ! a'th glodforant ;
Dy wyrth, pan welo Dy saint Di,
Y rhei'ni a'th fendithiant.

5 Mae llygaid pawb trwy'r ëang fyd
Yn disgwyl wrthyt, Arglwydd ;
A phorthi Dithau hwynt i gyd,
Bawb yn ei bryd yn ebrwydd.

6 A phan agorech Di Dy law,
O honi daw diwallfaeth ;
D'ewyllys da yw ymborth byw,
A hyny yw eu lluniaeth.

7 Fy enaid traethed fendith rwydd,
A mawl yr Arglwydd nefol ;
A rho'ed pob cnawd i enw 'r Sant,
Ogoniant yn dragwyddol. E. P.

## 927 (182) Salm cxlvi. 1, 2, 6, 10.

M. S.—Langdale. Llangranog.

1 FY enaid, mola'r Arglwydd nef,
Moliannaf Ef trwy'm bywyd ;

Dangosaf glôd i'm Harglwydd Dduw
Tra gallwyf fyw na symmud.

2 Y Duw Hwn wnaeth nef, daear, môr,
A'r holl ystôr sydd ynddynt;
Yr Hwn a sai 'n Ei wir Ei Hun,
Pryd na b'o un o honynt.

3 Yr Arglwydd yn teyrnasu a fydd,
Dy Dduw tragywydd, Seion ;
O oes i oes y pery 'th lwydd ;
Molwch yr Arglwydd tirion. E. P.

## 928 (319) *Doniau rhagluniaeth a grâs.*

M. C.—Abergele. Engedi.

1 TYDI wyt deilwng o fy nghân,
Fy Nghrëwr a fy Nuw ;
Dy ddoniau o fy amgylch maent
Bob munyd 'r wyf yn byw.

2 Mi glywa'r haul, a'r lloer, a'r sêr,
Yn dadgan dwyfol glôd ;
Tywynu'n ddisglaer 'r wyt o hyd
Trwy bob peth sydd yn bôd.

3 O ! na foed tafod dàn y rhôd
Yn ddistaw am Dy waith ;
Minnau fynegaf hyd fy medd
Dy holl ddaioni maith.

4 Diolchaf am Dy gariad cu
Yn estyn hyd fy oes ;
Diolchaf fwy am Un a fu
Yn gwaedu ar y groes.

5 Diolchaf am gysuron gwiw
Wyf beunydd yn fwynhau :
Diolchaf fwy am Brynwr trist
I mi gael llawenhau. D. CS.

## 929 (370) *Mawl am ddoniau rhagluniaeth.*

2. 8.—Braint. Glan'rafon.

1 CLÔD, clôd
I'th enw Di, 'r anfeidrol Fôd !
Yr Hwn breswyli uwch y rhôd :

O'th law mae'n d'od ein hymborth ni ;
Ar Dy ddaioni 'r y'm yn byw—
O Arglwydd Dduw! boed mawl i Ti.

2 Gwawr, gwawr
Dy ddoeth ragluniaeth sydd bob awr
I'n llòni ni, drigolion llawr ;
O Arglwydd mawr! a thirion Dad!
Y mawl, a'r clôd, f'o yn ddi-nam,
I'th enw am Dy roddion rhâd. WM. WMS.

## 930 (376) *Duw rhagluniaeth.*

7. 8.—Triumphant. Hosanna.

1 ANFEIDROL Dduw rhagluniaeth,
A Thad yr holl greadigaeth!
Coronaist eto'r flwyddyn hon
Â'th dirion ddoniau'n helaeth ;
Ti, Arglwydd pob daioni!
'Beth mwy a dalwn i Ti
Na chydymostwng, lwch y llawr,
Yn awr i'th lwyr addoli.

2 Cyfoethog yw Dy ddoniau,
A rhâd yw 'th drugareddau ;
I ni a'n plant rhag newyn du,
Mor gu yw'th dadol wênau ;
Mae gwên Dy wyneb grasol,
O fwriad cariad dwyfol,
I'w wel'd yn amlwg ar bob llaw,
Mewn haul a gwlaw amserol.

3 Na foed i'th drugareddau
Ddiferu ar ein llwybrau,
A ninnau 'n fyddar ac yn fud
O hyd i'th nef rasusau ;
Ein telyn, Iôr, cyweiria,
I seinio Haleluwia,
Tragwyddol foli, byth heb boen,
Yr Oen fu ar Galfaria. J. DS.

## 931 (390) *Duw rhagluniaeth.*

7. 6. D.—Missionary. St. Marc.

1 O! ARGLWYDD Dduw rhagluniaeth,
Ac iachawdwriaeth dyn,
Tydi sy'n llywodraethu
Y byd a'r nef Dy Hun;
Yn wyneb pob caledi
Y sydd, neu eto ddaw,
Dôd gadarn gymmorth imi
I lechu yn Dy law.

2 Er cryfed ydyw'r gwyntoedd,
A chedyrn dònau'r môr,
Doethineb ydyw'r Llywydd,
A'i enw'n gadarn Iôr;
Er gwaethaf diluw pechod,
A llygredd o bob rhyw,
Dïangol byth heb soddi,
Am fod yr arch yn Dduw. A. G.

## 932 (417) *Gofal rhagluniaeth am ddyn.*

7. 6. D.—Talyllyn. Pearsall.

1 PA le dechreuaf rifo
Dy drugareddau maith?
'R wy'n soddi wrth fyfyrio
Ar Dy ryfeddol waith;
Mor hawdd yw rhifo 'r tywod,
Neu 'r gwallt sydd ar fy mhen,
A rhifo holl fendithion
Tywysog Mawr y Nen!

2 Achosion wyf bob boreu
O newydd yn eu cael
I ganu i'th ffyddlondeb,
A'th drugareddau hael;
Can's beunydd 'r wyt yn selio
Dy addewidion rhâd—
A chwblhau'r gwirionedd
A roddwyd yn Dy waed.

3 Byth D' enw gaffo 'i foli,
Byth bythoedd byddo 'th glôd—
Gàn mil o weithiau 'n lletach
Na'r nefoedd faith ei rhôd;
Boed holl blant Adda ar unwaith,
Mewn cydsain hyfryd lân,
I'th enw gogoneddus
Yn gwneyd soniarus gân! W.—G. D. C.

## 933 (458) SALM CXLVII. 1, 9, 12.

M. B.—Sarah. Silchester.

1 O! CENWCH fawl i Dduw,
Tra gweddus yw y gwaith,
Am Ei drugaredd ryfedd, râd,
Pob cenedl, llwyth, ac iaith.

2 Cydfolwch Dduw y nef,
Darpara Ef bob pryd;
O ffrwythau'r ddaear rhŷdd eu rhaid
I holl drigolion byd.

3 O! Seion, canmol di
Y Duw sy'n rhoddi hedd,
A phob cysuron it' yn nghyd,
Nes myn'd trwy'r byd i'r bedd. T. WS.

## 934 (562) *Ffyrdd rhagluniaeth.*

6. 4. 6.—Builth. St. Nicholas.

1 RHAGLUNIAETH fawr y nef,
Mor rhyfedd yw
Esboniad helaeth hon
O arfaeth Duw:
Mae'n gwylied llwch y llawr,
Yn trefnu llu y nef,
Cyflawna'r cwbl oll
O'i gyngor Ef.

2 Llywodraeth faith y byd
Sydd yn ei llaw;
Mae'n tŷnu yma i lawr,
Yn c'odi draw:

Trwy bob helyntoedd blin,
Terfysgoedd o bob rhyw,
Dyrchafu'n gysson mae
Deyrnas ein Duw.

3 Ei th'w'llwch dudew sydd
Yn oleu gwir;
Ei d'ryswch mwyaf, mae
Yn drefn glir:
Hi ddaw â'i throion maith
Yn fuan oll i ben,
Bydd sŷnu wrth olrhain rhai'n
Tu draw i'r llèn.

D. C.

## 935 (756) *Gofal rhagluniaeth.*

8. 7. 4.—Bridport. Abbeycombe.

1 BOED fy mywyd oll yn ddiolch,
Dim ond diolch yw fy lle;
Ni wna gwaredigaeth ragor
I greadur îs y ne':
Gallu'r nefoedd
Oedd a'm daliodd i i'r làn.

2 Ar y dibyn bûm yn chwareu,
'Lawr fe aethai'm henaid gwàn,
Nid oedd bossibl imi g'odi
Byth o'r dyfnder hwnw i'r làn:
Iesu, Iesu,
Ti sy'n trefnu'r oll Dy Hun.

3 Rhaid oedd bod rhagluniaeth ddistaw,
Rhaid oedd bod rhyw arfaeth gref,
Yn fy rhwymo, heb im' wybod,
Wrth golofnau pur y nef:
O Ragluniaeth!
Ti sy'n trefnu'r ddaear faith.

4 Rhyfedd, Arglwydd, yw'th ddoethineb,
Rhyfedd, Arglwydd, yw Dy rym;
Nid oes îs y nef lïosog
All Dy wrthwynebu ddim:
Try'r greadigaeth,
Ôl a gwrthôl, wrth Dy air.

5 Dy air sy'n gwneyd y byw yn farw,
Eilwaith gwneyd y marw'n fyw;
Dy air a grëodd, ac sy'n cynnal,
Y greadigaeth o bob rhyw;
Ti Dy Hunan
Ydyw bywyd maith y byd. W.

## 936 (891) *Daioni Duw.*

11au.—Montgomery. Hanover.

1 GOGONIANT tragwyddol i'th enw, fy Nuw,
Mae'r byd yn Dy gysgod yn bôd ac yn byw;
Ni flinaist ddylàmu dros feiau di-ri';
I gofio pechadur na chofia Dydi.

2 Tydi sydd yn deilwng o'r bri a'r mawrhâd,
Tydi roddodd fywyd a chynnydd i'r hâd;
Tydi o Dy nefoedd addfedodd y grawn,
Tydi roddodd ddyddiau'r cynhauaf yn llawn.

3 Er maint y daioni a roddi mor hael,
Tu cefn i'th drugaredd mae digon i'w gael;
Llawenydd yw cofio er cymmaint a ro'ed,
Fod golud y nefoedd mor fawr ag erioed. E. R.

---

# MAWL-EIRIAU.

## 937 (29)

M. H.—Winchester. Mamre.

1 MOLIENNWCH Dduw sy'n rho'i pob dawn,
Chwi holl breswylwyr daear lawn:
Y nefol gôr, dyrchefwch gân
I'r Tad, i'r Mab, a'r Ysbryd Glân. KEN, *c.* D. CS.

## 938 (42)

M. H.—Yr Hen 100fed. Emyn Luther.

1 I DAD y trugareddau i gyd
Rho'wn foliant, holl drigolion byd;
Llu'r nef, moliennwch Ef ar gân,
Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. KEN, *c.* R. DA.

**939** (167) 8. 8. 6.—Llanelli. Howden.

1 I'R Tad, i'r Mab, a'r Ysbryd Pur,
Boed mawl trwy gỳrau'r nefol dir,
A'r eglwys ar y llawr;
Am garu a phrynu ar y bryn,
Sancteiddio'r brwnt, a'i gànu'n wỳn,
Trwy râs anfeidrol fawr. JOS. HAR.

**940** (454) M. B.—Tytherton. Colchester.

1 BOED clôd trwy entrych nef,
A'r ddaear yn gyttûn,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Anfeidrol Dri yn Un. AN.

---

# ANTHEMAU.

**1** *"Addolwch yr Arglwydd."*

ADDOLWCH yr Arglwydd mewn prydferthwch sancteiddrwydd; ofnwch ger Ei fron Ef yr holl ddaear. Harddwch a gogoniant sydd o'i flaen Ef; nerth a hyfrydwch sydd yn Ei gyssegr.—SALM xcvi. 9, 6.

**2** *Sanctaidd yw ein Harglwydd Dduw.*

SANCTAIDD yw ein Harglwydd Dduw,
Uchder nef Ei drigfan yw;
Engyl folant Frenin nef,
Daear chwydda'r anthem grêf. C. C.

**3** *"Ai gwir yw!"*

AI gwir yw y preswylia Duw ar y ddaear? Wele! nefoedd y nefoedd ni allant Dy gynnwys Di!—1 BREN. viii. 27.

**4** *"Eiddot Ti, O Arglwydd! ydyw'r mawredd."*

EIDDOT Ti, O Arglwydd! ydyw'r mawredd, a'r gallu, a'r gogoniant, a'r oruchafiaeth, a'r deyrnas, can's y cwbl yn y nefoedd a'r ddaear sydd eiddot Ti; eiddot Ti yw y deyrnas, O Arglwydd! Tydi a ymddyrchefaist yn ben a'r bob peth.—1 CHRON. xxix. 11.

5 *"Molwch yr Arglwydd."*

MOLWCH yr Arglwydd, yr holl genhedloedd: clodforwch Ef, yr holl bobloedd. O herwydd Ei drugaredd Ef tuag attom ni sydd fawr: a gwirionedd yr Arglwydd a bery yn dragywydd. Molwch yr Arglwydd.—SALM cxvii.

6 *"Deuwch, canwn i'r Arglwydd."*

DEUWCH, canwn i'r Arglwydd, ymlawenhâwn yn nerth ein hiechyd. Deuwn ger Ei fron Ef â diolch: canwn yn llafar iddo â psalmau. Canys yr Arglwydd sydd Dduw mawr, a Brenhin mawr goruwch yr holl dduwiau.—SALM xcv. 1-3.

7 *"Ti Arglwydd yw ein Duw ni."*

TI Arglwydd yw ein Duw ni, ein Gwaredydd; Dy enw sydd erioed.—ESA. lxiii. 16.

8 *Duw, fy nerth.*

DUW, fy nerth, atat Ti 'r edrychaf fi. Clyw, O! clyw fy llef. Atat Ti 'r edrychaf fi, Duw, fy nerth. Clyw, O Dduw! fy llef, bydd yn blaid mewn trallod, Duw, fy nerth. Clyw fy llef a bydd yn blaid mewn trallod, yn nydd fy ing, O Dduw! fy nerth. Trugarha, O Dduw! bydd yn blaid mewn trallod, O fy Nuw! O Dduw! fy nerth. *c.* C.

9 *"Bendith, gogoniant, doethineb, etc."*

BENDITH, gogoniant, doethineb a diolch, gallu a nerth, f'o i'n Harglwydd Dduw, o dragwyddoldeb hyd dragwyddoldeb. Amen.—DAT. vii. 12.

10 *"Gwrando fy ngeiriau, Arglwydd."*

GWRANDO fy ngeiriau, Arglwydd; deall fy myfyrdod. Erglyw ar lêf fy ngwaedd, fy Mrenin a'm Duw; canys arnat y gweddïaf. Yn fore, Arglwydd, y clywi fy llef; yn foreu y cyfeiriaf fy ngweddi attat, ac yr edrychaf i fyny. A minnau a ddeuaf i'th dŷ Di yn amlder Dy drugaredd; ac a addolaf tu a'th deml sanctaidd yn Dy ofn Di.—SALM v. 1-3, 7.

## 11 *"O, prawf a gwêl, mor dda yw yr Arglwydd."*

O, PRAWF a gwêl, mor dda yw yr Arglwydd; gwỳn ei fyd y gwr a ymddiriedo ynddo Ef. Ofnwch yr Arglwydd, chwi Ei saint Ef; y rhai a'i hofnant Ef nid oes arnynt eisieu. Mae eisieu a newyn ar y llewod ieuainc, ond y rhai a geisiant Dduw, ni bydd arnynt eisieu dim daioni.—SALM xxxiv. 8-10.

## 12 *"Fel y brefa yr hŷdd."*

FEL y brefa yr hŷdd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy enaid am danat Ti, O Dduw. Sychedig yw fy enaid am Dduw, am y Duw byw; pa bryd y deuaf ac yr ymddangosaf ger bron Duw? Fy nagrau oedd fwyd i mi ddydd a nôs, tra y dywedent wrthyf bob dydd, Pa le y mae dy Dduw? Tywalltwn fy enaid ynof pan gofiwn hyny; canys aethwn gyda'r gynnulleidfa, cerddwn gyda hwynt i dŷ Dduw mewn sain cân a moliant fel tyrfa yn cadw gwyl, Paham, fy enaid, y'th ddarostyngir ac yr ymderfysgi ynof? Gobeithia yn Nuw: oblegid moliannaf Ef etto am iachawdwriaeth Ei wynebpryd.—SALM xlii. 1-5.

## 13 *"Llona, O! Arglwydd, enaid dy was."*

LLÒNA, O! Arglwydd, enaid Dy was; canys attat Ti y dyrchafaf Fy enaid.—SALM lxxxvi. 4.

## 14 *"Pan lesmeirio fy nghalon."*

PAN lesmeirio fy nghalon; arwain fi i graig fyddo uwch na mi. Paham y'th ddarostyngir, O! fy enaid? a phaham yr ymderfysgi ynof? Gobeithia yn Nuw; canys etto y moliannaf Ef; yr Hwn yw iachawdwriaeth fy wyneb a'm Duw.—SALM lxi. 2, *a* xliii. 5.

## 15 *"Deuwch ataf Fi."*

DEUWCH ataf Fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Cymmerwch Fy iau arnoch, a dysgwch genyf; canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon. Deuwch, deuwch.—MATTH. xi. 28, 29.

## 16 *Mi edrychaf ar i fyny.*

MI edrychaf ar i fyny,
Deued t'w'llwch, deued nôs;
Os daw heddwch i'm o unlle,
Daw o haeddiant gwaed y groes;
Dyna'r màn y gwnaf fy nhrigfan,
Dyna'r màn gobeithiaf mwy;
Nid oes iechyd fyth i'm henaid
Ond mewn dwyfol farwol glwy'. w.

O Iesu! clyw ni; arbed ni,
Iesu! cyfaill pechaduriaid;
O! maddeu, Arglwydd, maddeu!
O! dyro i ni, O Arglwydd! faddeuant rhâd. Amen. c.

## 17 "*Dyddiau dyn sydd fel glaswelltyn.*"

DYDDIAU dyn sydd fel glaswelltyn; megis blodeuyn y maes, felly y blodeua efe. Canys y gwynt a ä drosto, ac ni bydd mwy o hono; a'i le nid edwyn ddim o hono ef mwy. Ond trugaredd yr Arglwydd a bery yn dragywydd.—SALM. ciii. 15-17, cvi. 1.

## 18 "*Hwnw fydd cadwedig.*"

'R HWN i'r diwedd fyddo 'n parhau, hwnw fydd cadwedig.—MATTH. xxiv. 13.

## 19 "*Awn hyd Bethlehem.*"

AWN yn mlaen yn awr hyd Bethlehem, a gwelwn y peth hwn a wnaethpwyd, yr hwn a hysbysodd yr Arglwydd i ni. A'r angel a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch; canys wele yr wyf fi yn mynegu i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl; canys ganwyd i chwi heddyw, yn ninas Dafydd, Waredwr, yr Hwn yw Crist yr Arglwydd.—LUC ii. 15, 10, 11.

## 20 "*Cerwch yr Arglwydd.*"

CERWCH yr Arglwydd, Ei holl saint Ef: Yr Arglwydd a geidw y ffyddloniaid, ac a dâl yn ehelaeth i'r neb a wna falchder. Ymwrolwch, ac Efe

a gryfhâ eich calon, chwychwi oll y rhai ydych yn gobeithio yn yr Arglwydd.—SALM xxxi. 23, 24.

## 21 *Y dwfn ddistawrwydd.*

AR dòri mae y dwfn ddistawrwydd,
  Ac eto pob peth sydd yn fud ;
Ymgryma 'r coedydd mewn parchusrwydd,
  Fel pe b'ai 'r Iôr yn tramwy 'r byd.

Wyf fel pe wedi 'm newydd lunio,
  Heb boen nac eisieu o un rhyw,
A'm natur wedi ymddadflino
  I foli 'm Nâf, fy nyled yw.

Y byd sydd drigfan poen a blinder,
  Nid cartref i'r pererin yw,
Nid yw ond ffordd dros afon amser,
  I groesi draw i wlad fy Nuw. I. G.

## 22 *O Dduw, yn ôl Dy gariad rhâd.*

O DDUW, yn ôl Dy gariad rhâd, na chofia ein drygau mwy. Maddeu holl feiau'n bywyd, a rho râs i ni rodio 'n ôl Dy air ; i ochelyd drwg, ac i droi at rinwedd, fel gallom iawn gyfarwyddo 'n traed i gadw'th ddeddfau ddyddiau 'n hoes.

O deffro 'n foreu, f'enaid gwàn,
  Ar dòriad cynta'r dydd,
Llwyr gyssegra ddyddiau 'th oes
  I'r gwrthrych goreu sydd.

Dymunwn dreulio 'm hoes,
  Yma o foreu hyd brydnawn ;
Lle cawn i wylo cariad pur
  Yn ddagrau melus iawn.

## 23 *"Pwy yw y rhai hyn!"*

PWY yw y rhai hyn sydd wedi eu gwisgo mewn gŷnau gwŷnion? ac o ba le y daethant? Y rhai hyn yw y rhai a ddaethant allan o'r cystudd mawr, ac a olchasant eu gŷnau ac a'u cannasant yng ngwaed yr Oen.

O herwydd hynny y maent ger bron gorsedd-faingc Duw, ac yn Ei wasanaethu Ef ddydd a nôs yn Ei deml: a'r Hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-faingc a drîg yn eu plith hwynt. Ni fydd arnynt newyn mwyach, ni fydd arnynt syched mwyach; ac ni ddisgyn arnynt na'r haul na dim gwres. Oblegid yr Oen, yr Hwn sydd yn nghanol yr orsedd-faingc, a'u bugeilia hwynt, ac a'u harwain hwynt at ffynhonnau bywiol o ddyfroedd:

Duw a sych ymaith bob deigryn oddi wrth eu llygaid hwynt.—DAT. vii. 13-17.

## 24 *Marwolaeth y Cristion.*

BUR wreichionen oddi fry,
Gâd O! gâd dy farwol dŷ;
Dychryn, gobaith, ing, a hiraeth,
Mawr yw poen a budd marwolaeth;
Paid, hoff natur, gâd, o'th gûr,
I'm gael llesmeirio i fywyd pur.

Clyw! mewn sibrwd, engyl dd'wêd,
"Tyr'd, chwaer ysbryd, ymaith hêd,"
'Beth yw hyn a'm llynca i gyd,
Gau fy ngolwg ar y byd;
Fodda'm hysbryd, dỳna'm ffûn,
F'enaid, ai hwn yw angeu 'i hun?

Mae'r byd yn ffoi, diflana'r llawr,
Mae'r nef yn agor imi 'n awr,
A sain seraphaidd lu.
Rho'wch edyn, rho'wch, ehedaf draw;
O uffern! p'le mae'th ofn a'th fraw
A'th rym, O angeu du? A. POPE, *c.* P. J. *ar.* I. G.

## 25 *Y cyfiawn drîg yn y nef.*

Y CYFIAWN drîg yn y nef, gyda Duw a'r Oen; yn rhoddi'r clôd i Dduw am Ei râs a'i fawr gariad rhâd. Maent wedi cyrhaedd pen eu taith; gyda'r seintiau canant geinciau, nefol odlau o fawl i Dduw, am eu cadw'n fyw.

## 26 (955) *Mae'r dydd yn araf gilio.*

10au. 6ll.—Glynderwen.

1 MAE'r dydd yn araf gilio, mae'n hwyrhau,
Pelydrau ola'r haul sydd yn gwanhau;
Trig gyda ni, Oleuni'r byd a'r nêf,
Ti wyt ddisgleirdeb Ei ogoniant Ef;
Lle byddost Ti, tywyllwch byth ni bydd,
A chanol nôs a droir yn ganol dŷdd.

2 At ddiwedd oes dirwyna'n bywyd brau,
I d'w'llwch ac i'r bedd 'r y'm yn nesau;
Orchfygwr angeu! bydd Arweinydd cu,
Goleua in' pan ddêl nôs angeu du;
O flaen Dy wyneb cilia 'r t'w'llwch draw,
Cŷll angeu 'i golyn, cŷll y bedd ei fraw.

3 Ti rodiaist gynt ar y gynhyrfus dòn,
Yn nyfnder nôs, i wneyd Dy eiddo 'n llòn;
Tyr'd eto, Iesu, i'r unigrwydd blîn,
A'r storom fawr, pan ballo cymmorth dyn;
Adseinied, O fy Nuw! o'r t'w'llwch dû
Dy hyfryd lais, "Nac ofnwch, wele Fi."

4 Malurio 'n wir gan flinder mae y byd,
Diflana 'i rwysg a'i fawredd oll yn nghyd;
Ar olaf fachlud haul, pan syrth y sêr,
O! am gael deffro ar Dy alwad, Nêr,
I dreulio dydd y tragwyddolfyd mawr
Mewn gwlad nad ä ei haul fyth, fyth i lawr.

C. WORDSWORTH, *C. J. T. J.*

# ENGLISH HYMNS.

## 1 *Love towards God.*

10. 10. 10. 10.—Holly, 7. Latchford, 466.

1 SPIRIT of God! descend upon my heart;
Wean it from earth; through all its pulses move:
Stoop to my weakness, mighty as Thou art,
And make me love Thee as I ought to love.

2 Teach me to feel that Thou art always nigh;
Teach me the struggles of the soul to bear:
To check the rising doubt, the rebel sigh;
Teach me the patience of unanswered prayer.

3 Teach me to love Thee as Thine angels love,
One holy passion filling all my frame;
The baptism of the heaven-descended Dove,
My heart an altar, and Thy love the flame.

DR. CROLY.

## 2 *Lead, kindly Light.*

10. 4.—Sandon, 18. Lux Benigna, 16. Gwynfryn, 17.

1 LEAD, kindly Light, amid the encircling gloom,
Lead Thou me on!
The night is dark, and I am far from home—
Lead Thou me on!
Keep Thou my feet; I do not ask to see
The distant scene,—one step enough for me.

2 I was not ever thus, nor prayed that Thou
Should'st lead me on:
I loved to choose and see my path; but now,
Lead Thou me on;
I loved the garish day, and, spite of fears,
Pride ruled my will; remember not past years.

3 So long Thy power hath blest me, sure it still
Will lead me on,
O'er moor and fen, o'er crag and torrent, till
The night is gone;
And with the morn those angel faces smile
Which I have loved long since, and lost awhile.

J. H. NEWMAN.

## 3 *The love of God.*

8. 7. ; last verse, L. M.—St. Sylvester, 467. Alice, 468.

1 SOULS of men, why will ye scatter,
Like a crowd of frightened sheep?
Foolish hearts, why will ye wander
From a love so true and deep?

2 For the love of God is broader
Than the measures of man's mind;
And the heart of the Eternal
Is most wonderfully kind.

3 But we make His love too narrow
By false limits of our own;
And we magnify His strictness
With a zeal He will not own.

4 There is plentiful redemption
In the blood that has been shed;
There is joy for all the members
In the sorrows of the Head.

5 O love of God! O sin of man!
In this dread act your strength is tried:
And victory remains with Love;
Jesus, our Lord, is crucified! FABER.

## 4 "*Death draweth near.*"

8. 7. and L. M.—St. Sylvester, 467. Alice, 468.

1 JESUS, merciful Redeemer,
Rouse dead souls to hear Thy voice,
Wake, oh wake each idle dreamer
Now to make the eternal choice.

2 As a shadow life is fleeting;
As a vapour so it flies;
For the bygone years retreating
Pardon grant, and make us wise—

3 Wise that we our days may number,
Strive and wrestle with our sin,
Stay not in our work nor slumber
Till Thy holy rest we win.

4 Soon before the Judge all glorious
We with all the dead shall stand;
Saviour, over death victorious,
Place us then on Thy right hand.

5 Life passeth soon: death draweth near:
Keep us, good Lord, till Thou appear:
With Thee to live, with Thee to die,
With Thee to reign through eternity.

E. CASWALL *and* E. H. BICKERSTETH.

## 5 *House of Prayer.*

L. M.—Whitburn, 45. Carey, 37.

1 SWEET is the solemn voice that calls
The Christian to the house of prayer;
I love to stand within its walls,
For Thou, O Lord, art present there.

2 I love to tread the hallowed courts,
Where two or three for worship meet;
For thither Christ Himself resorts,
And makes the little band complete.

3 'Tis sweet to raise the common song,
To join in holy praise and love;
And imitate the blessed throng
That mingle hearts and songs above.

4 Within these walls may peace abound!
May all our hearts in one agree!
Where brethren meet, where Christ is found,
May peace and concord ever be. LYTE.

## 6 *Dedicating a Place of Worship.*

L. M.—Ombersley, 40. Ernan, 43.

1 WITHIN these walls let holy peace,
Let Love and truth be always found;
May burdened hearts find sweet release,
And souls with richest grace be crowned.

2 Here, when the Gospel sound is heard,
And here proclaimed the saving Name,
May hearts be quickened, moved, and stirred,
And souls be kindled into flame.

3 Make this, O Lord, Thine own abode;
Thy presence in these courts be given;
Be this, indeed, "the house of God,"
And this in truth the "gate of heaven." C. D. BELL.

## 7 *The fixed choice.*

L. M.—Ombersley, 40. Gibraltar, 49.

1 O HAPPY day that fixed my choice
On Thee, my Saviour and my God!
Well may this glowing heart rejoice,
And tell its raptures all abroad.

2 O happy bond that seals my vows
To Him Who merits all my love!
Let cheerful anthems fill His house,
While to that sacred shrine I move.

3 'Tis done! the great transaction's done;
I am my Lord's, and He is mine;
He drew me, and I followed on,
Charm'd to confess the voice Divine.

4 Now rest, my long-divided heart!
Fixed on this blissful centre, rest!
O who with earth would grudge to part,
When called with angels to be blest?

5 High heaven that heard the solemn vow,
That vow renewed shall daily hear;
Till in life's latest hour I bow,
And bless in death a bond so dear. DODDRIDGE.

## 8 *The Wondrous Cross.*

L. M.—Rockingham, 36. Golgotha, 56.

1 WHEN I survey the wondrous cross
On which the Prince of Glory died,
My richest gain I count but loss,
And pour contempt on all my pride.

2 Forbid it, Lord, that I should boast,
Save in the death of Christ my God:
All the vain things that charm me most,
I sacrifice them to His blood.

3 See from His head, His hands, His feet,
Sorrow and love flow mingled down!
Did e'er such love and sorrow meet,
Or thorns compose so rich a crown?

4 Were the whole realm of nature mine,
That were a present far too small;
Love so amazing, so Divine,
Demands my soul, my life, my all. WATTS.

## 9

*Doxology.*

L. M.—Old 100th, 26.

PRAISE God from whom all blessings flow,
  Praise Him all creatures here below;
Praise Him above ye heavenly host,
Praise Father, Son, and Holy Ghost. KEN.

## 10

*Just as I am.*

8. 8. 8. 6.—Misericordia, 72. Elmhurst, 73.

1 JUST as I am, without one plea,
  But that Thy blood was shed for me,
And that Thou bid'st me come to Thee,
  O Lamb of God, I come!

2 Just as I am, though tossed about
With many a conflict, many a doubt,
Fightings and fears within, without,
  O Lamb of God, I come!

3 Just as I am, Thou wilt receive,
Wilt welcome, pardon, cleanse, relieve,
Because Thy promise I believe,
  O Lamb of God, I come!

4 Just as I am, Thy love unknown
Has broken every barrier down;
Now, to be Thine, yea, Thine alone,
  O Lamb of God, I come!

5 Just as I am, of that free love
"The breadth, length, depth, and height" to prove,
Here for a season, then above,
  O Lamb of God, I come! C. ELLIOTT.

## 11

*Salvation.*

C. M.—Farrant, 134. Engedi, 138.

1 SALVATION! O the joyful sound!
  'Tis pleasure to our ears!
A sovereign balm for every wound;
  A cordial for our fears!

2 Buried in sorrow and in sin,
  At hell's dark door we lay;
But we arise by grace divine
  To see a heavenly day.

3 Salvation! let the echo fly
The spacious earth around,
While all the armies of the sky
Conspire to raise the sound. WATTS.

## 12

*The blood of Christ.*

C. M.—Ballerma, 133. Brooklyn, 136.

1 THERE is a fountain filled with blood,
Drawn from Immanuel's veins;
And sinners plunged beneath that flood
Lose all their guilty stains.

2 The dying thief rejoiced to see
That fountain in his day;
And there have I, as vile as he,
Wash'd all my sins away.

3 E'er since, by faith, I saw the stream
Thy flowing wounds supply,
Redeeming love has been my theme
And shall be till I die.

4 Then in a nobler, sweeter song,
I'll sing Thy power to save;
When this poor lisping, stammering tongue
Lies silent in the grave. COWPER.

## 13

*View of Canaan.*

C. M.—St. Bernard, 124. Martyrdom, 131.

1 THERE is a land of pure delight
Where saints immortal reign;
Infinite day excludes the night,
And pleasures banish pain.

2 There everlasting spring abides,
And never-withering flowers;
Death, like a narrow stream, divides
That heavenly land from ours.

3 Could we but climb where Moses stood,
And view the landscape o'er,
Not Jordan's stream,—death's cold dark flood,
Should fright us from the shore. WATTS.

## 14

*Marriage.*

7. 6. D.—Ewing, 187. Angels' Story, 188.

1 O LOVE! divine and tender!
That through our homes doth move,

Veiled in the softened splendour
Of holy household love.
A throne without Thy blessing
Were labour without rest,
And cottages, possessing
Thy blessedness, are blest.

2 God bless these hands united!
God bless these hearts made one!
Unsevered and unblighted
May they through life go on:
Here in earth's home preparing
For the bright home above;
And there for ever sharing
Its joy where "God is love." J. S. B. MONSELL.

## 15 *Harvest.*

7. 6. D.—Adela. 172. Bremen, 173.

1 SING to the Lord of harvest,
Sing songs of love and praise;
With joyful hearts and voices
Your hallelujahs raise:
By Him the rolling seasons
In fruitful order move,
Sing to the Lord of harvest
A song of happy love.

2 By Him the clouds drop fatness,
The deserts bloom and spring,
The hills leap up in gladness,
The valleys laugh and sing:
He filleth with His fulness
All things with large increase,
He crowns the year with goodness
With plenty and with peace.

3 Heap on His sacred altar
The gifts His goodness gave,
The golden sheaves of harvest,
The souls He died to save:
Your hearts lay down before Him,
When at His feet ye fall,
And with your lives adore Him,
Who gave His life for all. J. S. B. MONSELL.

## 16 *The Holy Spirit.*

S. M.—St. Michael, 206. Shawmut, 209.

1 COME, Holy Spirit, come;
Let Thy bright beams arise;
Dispel the darkness from our minds,
And open all our eyes.

2 Revive our drooping faith,
Our doubts and fears remove;
And kindle in our breasts the flame
Of never-dying love.

3 'Tis Thine to cleanse the heart,
To sanctify the soul,
To pour fresh life on every part,
And new create the whole.

4 Dwell, therefore, in our hearts;
Our minds from bondage free;
Then shall we know and praise and love
The Father, Son, and Thee.

HART.

## 17 *Jordan's banks.*

6. 5. Moab, 251.

1 DEEP Jordan's banks I tread,
And, trembling, waver;
I long to cross—but dread,
The stormy river.
O would 'twere given that I
Might shun these swellings high,
And o'er the flood might fly,
To rest for ever!

2 The stream in might along
Its waters urges,
And many are the strong
The wave submerges.
I fear the land of light,
Will never greet my sight,
And I shall sink to-night,
Beneath these surges.

3 But who are these I see
In crowds appearing?

Old friends, from peril free,
My spirit cheering.
I'll linger here no more,
But trust to God that bore
Them safe to yonder shore,
No danger fearing. E. E., *tr.* W. HOWELLS.

## 18 *Fount of every blessing.*

87. 87. D.—Dismission, 288. Dismissal, 289.

1 COME, Thou fount of every blessing,
Tune my heart to sing Thy grace :
Streams of mercy, never ceasing,
Call for songs of loudest praise.
Teach me some melodious sonnet
Sung by flaming tongues above,
Praise the mount ; I'm fixed upon it !
Mount of God's unchanging love.

2 O ! to grace how great a debtor
Daily I'm constrained to be !
Let that grace now, like a fetter,
Bind my wandering heart to Thee.
Prone to wander ; Lord, I feel it ;
Prone to leave the God I love ;
Here's my heart—O take and seal it !
Seal it for Thy courts above. ROBINSON.

## 19 *Divine guidance.*

8. 7. 4.—Verona, 341. Caio, 344.

1 GUIDE me, O Thou great Jehovah !
Pilgrim through this barren land ;
I am weak, but Thou art mighty,
Hold me with Thy powerful hand ;
Bread of heaven !
Feed me now and evermore.

2 Open now the crystal fountain
Whence the healing streams do flow ;
Let the fiery cloudy pillar
Lead me all my journey through :
Strong Deliverer !
Be Thou still my strength and shield..

3 When I tread the verge of Jordan,
Bid my anxious fears subside;
Death of deaths, and hell's destruction,
Land me safe on Canaan's side.
Songs of praises
I will ever give to Thee. WILLIAMS.

## 20

*Missions.*

8. 7. 4.—Russia, 342. Sicily, 354.

1 O'ER those gloomy hills of darkness
Look, my soul, be still and gaze;
All the promises do travail
On a glorious day of grace;
Blessed Jubilee,
Let Thy glorious morning dawn.

2 Let the Indian, let the Negro,
Let the rude barbarian see
That divine and glorious conquest,
Once obtained on Calvary:
Let the Gospel
Loud resound from pole to pole.

3 Kingdoms wide, that sit in darkness,
Let them have the glorious light;
And, from eastern coast to western,
May the morning chase the night;
And redemption,
Freely purchased, win the day.

4 Lord, I long to see that morning,
When Thy Gospel shall abound,
And Thy grace get full possession
Of the happy promised ground;
All the borders
Of the great Immanuel's land.

5 Fly abroad, eternal Gospel,
Win and conquer, never cease:
May Thy eternal wide dominions
Multiply and still increase:
May Thy sceptre
Sway th' enlightened world around. WILLIAMS.

## 21 *Thy will be done.*

8. 8. 8. 4.—Troyte's Chant, 1.

1 MY God and Father, while I stray
Far from my home, on life's rough way,
O teach me from my heart to say,
"Thy will be done."

2 Though dark my path and sad my lot,
Let me be still and murmur not,
Or breathe the prayer divinely taught,
"Thy will be done."

3 What though in lonely grief I sigh
For friends beloved, no longer nigh,
Submissive still would I reply,
"Thy will be done."

4 Though Thou hast called me to resign
What most I prized,—it ne'er was mine
I have but yielded what was Thine;
"Thy will be done."

5 Should grief or sickness waste away
My life in permature decay,
My Father! still I strive to say,
"Thy will be done."

6 Let but my fainting heart be blest,
With Thy sweet Spirit for its guest,
My God, to Thee I leave the rest:
"Thy will be done."

7 Renew my will from day to day:
Blend it with Thine; and take away
All that now makes it hard to say,
"Thy will be done."

8 Then, when on earth I breathe no more,
The prayer, oft mixed with tears before,
I'll sing upon a happier shore,
"Thy will be done." C. ELLIOTT.

## 22 *Marriage.*

7s., 6 lines.—Dix, 397.

1 SAVIOUR, let Thy sanction rest
On the union witnessed now;

Be it with Thy presence blest,
  Ratify the nuptial vow,
Hallowed let this union be,
With each other, and with Thee.

2 Let the path our friends pursue
  From this hour together trod,
Many though its days, or few,
  Be a pilgrimage to God;
To the land where rest is given—
To our Father's house in heaven. T. RAFFLES.

## 23

*Rock of Ages.*

7s., 6 lines.—Wells, 400.

1 ROCK of ages, cleft for me,
  Let me hide myself in Thee!
Let the water and the blood,
From Thy riven side which flowed,
Be of sin the double cure,
Cleanse me from its guilt and power.

2 Not the labours of my hands,
Can fulfil Thy law's demands,
Could my zeal no respite know,
Could my tears for ever flow,
All for sin could not atone:
Thou must save, and Thou alone.

3 Nothing in my hand I bring;
Simply to Thy cross I cling;
Naked, come to Thee for dress;
Helpless, look to Thee for grace;
Foul, I to the Fountain fly:
Wash me, Saviour, or I die.

4 While I draw this fleeting breath,
When my eyelids close in death,
When I soar through tracts unknown,
See Thee on Thy judgment-throne,
Rock of Ages, cleft for me,
Let me hide myself in Thee. TOPLADY.

Printed by Hazell, Watson & Viney, Ld., London and Aylesbury.